LLAWLYFRAU
…EB YSGOLION SABBOTHOL
Y
…ETHODISTIAID CALFINAIDD.

---

# EFENGYL IOAN

## PEN. I.-VIII.

*GAN Y*

*PARCH. J. CYNDDYLAN JONES, D.D.*



2/6

*Cyhoeddedig gan*

Y GYMANFA GYFFREDINOL.

# LLAWLYFRAU

## UNDEB YSGOLION SABBOTHOL

Y

## METHODISTIAID CALFINAIDD,

DAN AROLYGIAETH

PWYLLGOR Y GYMANFA GYFFREDINOL.

---

# YR EFENGYL YN OL ST. IOAN.




[ENTERED AT STATIONERS' HALL.]


CYHOEDDEDIG GAN Y GYMANFA GYFFREDINOL

YN SWYDDFA Y CYFUNDEB,

CAERNARFON.

---

1900.

# YR EFENGYL YN OL IOAN.

## ESBONIAD: PEN. I.—VIII.

GAN Y PARCH.

J. CYNDDYLAN JONES, D.D.

CYHOEDDEDIG GAN Y GYMANFA GYFFREDINOL.

1900.



# Y Rhagymadrodd. . .



N nghanol dyledswyddau trymion, lluosog, a dibaid y cyfansoddwyd yr Esboniad hwn. Diau y gwêl y cyfarwydd olion brys ar y cyfansoddiad, ond hyderaf na chenfydd neb fyrbwylldra mewn barn ar byngciau sylfaenol ein crefydd.

Cynygiai dau gynllun eu hunain i'm meddwl. Y cyntaf oedd mynegu mewn brawddegau byrion yr eglurhad a farnwn i yn gywir—dangos y dodrefnyn yn y ffenestr i bwy bynag a ddewisai ei gymeryd. Y llall oedd dodi i lawr y gwahanol farnau, gan nodi y rhesymau o'u plaid ac yn eu herbyn, a dangos y tir ar ba un y sylfaenwn fy ngolygiad fy hun—cymeryd y darllenydd i'r gweithdy i weled esboniadaeth yn ei gwneuthuriad. Dewisais y diweddaf fel y tebycaf i greu dyddordeb a meddylgarwch yn aelodau mwyaf addawol yr Ysgol Sul.

Yn mhen uchaf y ddalen argrephir y Cyfieithiad arferol—nid oes gan y Cymry Gyfieithiad Awdurdodedig; ond yn nghorph yr Esboniad cymerais fy rhyddid i roddi cyfieithiad mwy llythyrenol pryd y barnwn hyny yn fanteisiol i'r egluriadau. Flynyddau yn ol, arfer awduron yn ein Cyfundeb ni oedd dyweyd ystyr y "gair gwreiddiol," ond gofalu peidio ei roddi mewn argraph. Trafferth fawr i ddynion ieuaingc efrydgar oedd codi i chwilio am y "gwreiddiol," a thrafferth y gellid yn hawdd ei hebgor trwy i'r awdwr roddi o flaen llygaid y darllenydd y gair ag oedd o flaen ei lygaid ei hun. Erbyn heddyw y mae addysg y wlad wedi mawr gyfnewid. Oherwydd paham ni phetrusais roddi y gwreiddiol i lawr lle y tybiwn y buasai hyny yn hwylusdod i'r darllenwyr ac yn gymhorth iddynt i ddeall y meddwl. Gadewais i'r argraphwyr drosglwyddo y llythyrenau Groeg i lythyrenau Cymraeg, ac er nad ydynt wedi dilyn rheol hollol unffurf ni chyfyd un anhawsder o'r cyfeiriad hwn.

Yr wyf yn coledd syniadau uchel iawn am Ysgolion Sabbothol Cymru; ac ni allwn ddangos yn well fy mharch iddynt na thrwy roddi yn eu dwylaw yr Esboniad goreu, ac eto eglur, a fedrwn ei gynyrchu dan amgylchiadau digon anffafriol.

*Ionawr 1af, 1900.* J. CYNDDYLAN JONES.



# Rhagarweiniad i Efengyl Ioan.

## I.—IOAN—EI FYWYD.

"IAGO mab Zebedeus, a Ioan ei frawd" (Matt. iv. 21). Trigai y teulu hwn, wrth bob tebyg, yn Bethsaida, a dilynent eu galwedigaeth ar Fôr Galilea, nid yn unig fel pysgodwyr gweithiol, ond hefyd fel marchnatawyr pysgod—trafnidiaeth a ddygid yn mlaen ar raddfa ehang, nid yn unig â dinasoedd Palestina, ond hefyd â gwledydd tramor. Ymddengys fod partneriaeth yn y fasnach rhwng Zebedeus a Simon Petr (Luc v. 10), yr hyn i raddau a gyfrif am y cyfeillgarwch dwfn a fodolai rhwng y teuluoedd. Bernir fod Salome, gwraig Zebedeus, yn chwaer i "Mair, mam yr Iesu," er nad oes profion diymwad o hyny (Ioan xix. 25), ac felly fod y ddau fab yn gefnderwyr i'r Arglwydd Iesu. O ran amgylchiadau bydol, ymddengys y perthynent i'r dosbarth canol, oblegid cadwent "gyflog-ddynion" (Marc i. 20). Cadarnheir hynyna gan y ffaith y cysylltir Salome â'r gwragedd a "weiniasant i'r Iesu o'r pethau oedd gandynt" (Matt. xxvii. 55; Luc viii. 3; Marc xv. 40), a bod Ioan yn adnabyddus i'r archoffeiriad ac yn meddu hawl i fyned i mewn i'w lys (Ioan xviii. 15), ac y cadwai "dŷ" yn Jerusalem yn ychwanegol at ei gartref yn Bethsaida (Ioan xix. 26).

Derbyniodd yr addysg arferol a gyfrenid i fechgyn y dosbarth canol yn y trefi talaethol. Medrai ddarllen ac ysgrifenu; ond ni fu mewn coleg, ac o ganlyniad ystyrid ef gan y swyddogion eglwysig, o ran acen a gwrteithiad, yn "anllythyrenog ac annysgedig" (Act. iv. 13). Ond er nad ydoedd yn ddysgedig, yn yr ystyr o ysgolheigdod, yr oedd yn wr o gynheddfau cryfion, yn feddyliwr treiddgar, ac mewn cydymdeimlad dwfn â gwirionedd. Maethwyd ef mewn awyrgylch grefyddol. Methodd Iuddewiaeth a gwneuthur y genedl fel cyfangorph yn "bobl barod i'r Arglwydd"; ond yr oedd "gweddill," megis Zecharias, Elizabeth, a Mair (Luc i.), Simeon ac Anna (Luc ii.), y rhai oeddynt wedi cyrhaedd y fath helaethrwydd gwybodaeth ac addfedrwydd profiad fel ag i'n llanw â syndod. Perthyn i'r cylch hwn yr oedd teulu Zebedeus trwy waedoliaeth naturiol a chydymdeimlad crefyddol—"yn disgwyl am Ddiddanwch yr Israel."

Gan hyny, pan yr ymddangosodd y Diwygiwr, Ioan Fedyddiwr, gan greu cynhwrf trwy holl wlad Palestina, yr oedd teulu Zebedeus a'r cylch y troent ynddo yn eu talaeth enedigol yn ateb i'w alwadau mewn cydymdeimlad dwfn a serchog. Diau eu bod yn teimlo diffrwythder Iuddewiaeth yr oes, ac yn canfod, megis y medr pobl o reddfau syml, ffurfioldeb difudd seremoniau yr offeiriadaeth, ac y dyheuent am

"ysbryd y peth byw." Derchafodd y Bedyddiwr ei lef yn yr anialwch, gan ddywedyd, "Edifarhewch, canys neshaodd Teyrnas Nefoedd." Clywodd y cylch bychan yn Bethsaida a'r ardaloedd amgylchynol y llef; deffrodd adsain yn eu calonau, ac wele Simon ac Andreas, Iago ac Ioan, Phylip a Nathanael, yn gadael eu gorchwylion bydol i ofal y "cyflog-ddynion," ac yn brysio i ddiffaethwch Judea i weled a theimlo dylanwadau y Diwygiad. Bedyddiwyd hwy gan Ioan, ymrestrasant yn ddysgyblion iddo, a llosgai gobeithion uchel o'u mewn. Yn mhen ychydig fisoedd, ar anogaeth y Bedyddiwr, gadawsant ef, a dilynasant yr Iesu. Edrychai Ioan ar yr amgylchiad fel trobwynt ei fywyd, a gesyd ar gof a chadw yr awr y cymerodd ef a'i gyfeillion y cam penderfynol ag oedd i newid holl gwrs eu hanes: "a'r ddegfed awr oedd hi." Dewiswyd ef a hwythau i blith y Deuddeg; a chawn fod "Petr, Iago, ac Ioan" yn ffurfio y cylch nesaf i mewn; ac o'r tri hyn Ioan oedd agosaf mewn serch a chydymdeimlad at yr Iesu. Efe oedd y dysgybl a "bwysai ei ben ar ei fynwes," pan y lled-orweddent, yn null y dwyrain, i gymeryd eu lluniaeth. Pan yn crogi ar y croesbren garw, gorchymynodd yr Iesu ei fam i ofal Ioan; "ac o'r awr hono allan y cymerodd y dysgybl hi i'w gartref," neu "i'w dŷ," sef ei dŷ yn Jerusalem. Ar ol hyn nid oes genym ond hanes bylchog am dano. Darllenwn am dano yn Jerusalem yn Act. iii. 1, ac yn dychwelyd o Samaria yn Act. viii. 25. Nid ymddengys ei fod yno ar ymweliad cyntaf Paul a Jerusalem ar ol ei droedigaeth (Gal. i. 18, 19); ond yr oedd yno ac mewn sefyllfa o ddylanwad mawr ar ei ail-ymweliad rhyw ddeuddeg neu bymtheg mlynedd yn ddiweddarach, gan ei cyfrifid yn mhlith y "Colofnau." Pa hyd yr arhosodd yn Jerusalem ar ol hyn nid yw yr hanes yn ein hysbysu; ond diau iddo ei gadael cyn ei gwarchae gan luoedd Titus yn 70. Gwyddom ar dystiolaeth Llyfr y Datguddiad iddo symud i Ephesus yn rhan olaf ei oes, wedi marw yr Apostol Paul, ac iddo gael ei alltudio i Ynys Patmos "am air Duw ac am dystiolaeth Iesu Grist." Wedi i storom yr erledigaeth hono dawelu, ar esgyniad Nerva i'r orsedd Rufeinig, dywed traddodiad iddo ddychwelyd i Ephesus, lle y llafuriodd yn galed fel goruchwyliwr y Saith Eglwys yn Asia Leiaf, ac y bu farw mewn oedran mawr, tua'r flwyddyn 100 neu 103, yn nheyrnasiad Trajan. A chan yr ystyrir ei fod tua'r un oed a'r Gwaredwr, neu feallai flwyddyn neu ddwy yn iau, gwelir ei fod felly tua'r cant oed pan y bu farw.

## II.—EI GYMERIAD.

Nid yw Ioan yn ei efengyl yn ei enwi ei hun; ond y mae yn ddiamheuol mai ato ei hun y cyfeiria yn y frawddeg, "y dysgybl yr hwn yr oedd yr Iesu yn ei garu." Ar sail yr ymadrodd hwn cyhuddir ef gan y beirniaid anghrediniol o hunanoldeb, ac o or-awydd i dderchafu ei hunan ar draul y dysgyblion eraill, ac yn enwedig ar draul Petr, ond cyfyd y cyhuddiad oddiar gamddealldwriaeth o'i eiriau, a'r camddealldwriaeth o ddiffyg cydymdeimlad. Nid y "dysgybl oedd yn caru" a ddywed, ond y "dysgbl oedd yn cael ei garu." Pan y sonia am serch personol yr Iesu, seiliedig ar nodweddion hawddgar yn ngwrthrychau y serch, defnyddia air gwahanol, a chysyllta Petr ag ef ei hun: "Yna y rhedodd Mair, ac a ddaeth at Simon Petr a'r dysgybl arall, y rhai yr oedd yr Iesu yn eu caru" (Ioan xx. 2)—*philein*, gair sydd yn golygu fod rhyw hawddgarwch yn y gwrthrychau i atdynu y cariad a bod yr hoffder yn

amlwg i eraill. Ond y gair a gymhwysa ato ei hun yn ddieithriad yw *agapān*, cariad sydd a'i ffynhonell yn y *subject*, ac nid yn y gwrthrych, ac yn anadnabyddus ond i'r hwn sydd yn ei dderbyn. Pe galwasai yr Apostol ei hun yn "ddysgybl oedd yn caru," hònasai ryw haeddiant neu deilyngdod iddo ei hun, canys gweithredydd a fuasai; eithr nid gweithredydd mohono, ond derbynydd, ac nid oes lle i haeddiant na balchder mewn derbyn. Eithafion gostyngeiddrwydd sydd yn yr enw, o'i iawnddehongl, ac nid eithafion hunanoldeb,—gwrthrych annheilwng cariad rhâd yr Iesu yr ystyriai Ioan ei hunan. Nodweddid Petr gan ddiffuantrwydd mawr, zêl danbaid, a brwdfrydedd tanllyd; ond ni allodd Petr lwyr golli ei hunan yn ei ymwybyddiaeth o'r Iesu—parhâi Petr yn y golwg o hyd. Ond am Ioan, llwyr anghofiai efe ei hunan yn ngwrthrych ei serch; yr oedd ei ymwybyddiaeth bersonol wedi ei chwbl lyngcu yn ei ymwybyddiaeth o gariad a gogoniant Crist. Nid yw efe ei hun byth yn y golwg yn ei Efengyl, ac nis gall feddwl am dano ei hun ond fel un ag oedd yn ddyledus am yr oll ag ydoedd, nid i ddim rhagoriaeth ynddo ei hun, ond yn gyfangwbl i gariad yr Athraw. "Y dysgybl yr hwn yr oedd yr Iesu yn ei garu!"

Y mae hyn yn hollol gydweddol â'r enw Aramaeg a roddodd yr Arglwydd Iesu ar Iago ac Ioan, Boanerges—Meibion y Daran (Marc. iii. 17). Paham y rhoddodd yr enw hwn arnynt? Ofer yw tybiaeth Morison mai oblegid dyfnder eu llais pan yn cyfarch cynulleidfaoedd, llais cryf yn ymdreiglo fel taranau uwchben y tyrfaoedd. Diamheu y cyfeiria yr Iesu, yn ol ei arfer, nid at yr anianyddol, ond at y moesol ynddynt,—eu natur ysbrydol yn drwm-lwythog o daranau, trydan byw yn eu calonau yn barod i làmu allan mewn mellt. Crybwyllir deirgwaith yn yr efengylau Synoptaidd am daranau eu natur. Y tro cyntaf yn Marc ix. 38 a Luc ix. 49; yr ail dro yn Luc ix. 54; a'r trydydd tro yn Matt. xx. 20 a Marc x. 35. Ymdeimlent, megis y gwna dynion gwir fawr bob amser, fod rhyw nerthoedd cryfion o'u mewn, eu natur ddeallol yn llawn egnion, a'u natur foesol yn llawn nerthoedd na wyddent hwy yn iawn eu cyfeiriad. Nid anwybodaeth o allu yw gostyngeiddrwydd; ond ymostyngiad ewyllys a chalon er gwybod. Yn awr ac eilwaith ffrwydrai y llosg-fynydd, torai eu teimladau cyffröus allan yn rhyferthwy—Meibion y Daran! Rhyw zêl fawr danbaid a phenderfynolrwydd di-ildio, yn ddiamheu, a nododd allan Iago, fel y cyntaf o'r Apostolion i ddyoddef merthyrdod (Act. xii. 2). Nid priodol, o ganlyniad, yw desgrifio Ioan fel dyn llonydd, tawel, llyfn, yn gwênu ar bawb, a gair canmoliaethol ganddo i bob peth. Nid yw dynion o'r cymeriad yna erioed wedi meddwl yn ddwfn, na charu yn gryf, na chyflawni gwrhydri mewn byd nac eglwys. Nid cariad yw hynyna, cariad moesol a nerth calon y tu cefn iddo; ond llyfnder natur, ac i'w briodoli i raddau mawr i absenoldeb cariad. Dyn oedd Ioan o deimladau angherddol; oherwydd paham medrai gashâu yn nerthol yn gystal a charu yn wresog. Y gallu i garu yw mesur y gallu i gashâu. Cariad anfeidrol Duw at sancteiddrwydd yw mesur ei gasineb anfeidrol at bechod. Felly yn myd dynion. Y gwr sydd yn teimlo ei holl natur yn ferw yn mhresenoldeb drygioni, ac yn datgan ei deimlad fel twrf taran, dyna y gwr sydd yn medru caru yn ngwir ystyr y gair—caru Duw, caru'r Iesu, caru'r saint, a charu'r byd. Yr awyrgylch lle y mae mwyaf o heulwen yw yr awyrgylch lle y mae y tymhestloedd gynddeiriocaf. Y mae mwy o fellt yn yr hâf nac yn y gauaf,

am fod mwy o dês; y mae mwy o derfysg taranau yn Affrica nac yn Mhrydain, oblegid fod yno fwy o heulwen. Y galon sydd ar dân gan gariad at y da, hi darana yn ofnadwy yn erbyn y drwg. Apostol Cariad oedd Ioan; oherwydd paham efe hefyd oedd Mab y Daran. Y mae bodolaeth y naill yn amod bodolaeth y llall. Yn nechreu ei oes yr oedd y pwerau hyn i raddau yn aflywodraethus; ni ddarfu i râs eu difodi, yn unig dygodd hwynt dan ddysgyblaeth briodol.

Nid anhawdd darganfod y trydan yn gystal a'r heulwen yn ei ysgrifeniadau. Ar un llaw, gorlifant gan dynerwch. Oherwydd paham arfera duwinyddion edrych ar Ioan fel cynrychiolydd Cariad, megis yr edrychant ar Paul fel cynrychiolydd Ffydd, ac ar Petr fel cynrychiolydd Gobaith. Ar y llaw arall, pa lyfrau yn holl gylch llenyddiaeth sydd yn cynwys bygythion cryfach yn erbyn drwg, bygythion sydd fel ergydion taranau? Yn ei Efengyl dengys ei hun yn Apostol Cariad; ond hawdd i'r efrydydd craff weled mellt yn gwibio ar draws y tudalenau. Yn Llyfr y Datguddiad profa ei hun yn Fab y Daran: taranau a mellt, barnau a gwasgfeuon, sydd yno o'r dechreu i'r diwedd, er y gall y darllenydd astud ganfod aml i belydryn gwyn yn saethu rhwng y cymylau duon. Llais y Daran yw cyweirnod y llyfr. Dadleua llawer o'r beirniaid goreu mai wrth "Ddydd yr Arglwydd" yn Dat. i. 10 yr ydym i ddeall, nid y Sabbath, oblegid "y dydd cyntaf o'r wythnos" y gelwir hwnw yn y Test. Newydd bob amser, ond dydd datguddiad yr Arglwydd Iesu fel brenhin, dydd tywalltiad ei farnau ar elynion ei Eglwys. "Yr oeddwn i yn yr ysbryd ar ddydd yr Arglwydd," meddai Ioan, dydd tywalltiad ei farnau, "a mi a glywais o'r tu ol i mi lef fel llais udgorn"—llef taran, a Ioan yn yr ysbryd, yn ei elfen, yn nghanol y storom a'r rhyferthwy. Desgrifia dywalltiad y phiolau a thoriad y seliau gyda rhyw rwysgfawredd aruthrol, megis bardd yn ei elfen. Pa fodd y gellir cysoni Llyfr y Datguddiad â'r Efengyl? gofyna y beirniaid. Nid ellir; ond os na ellir eu cysoni â'u gilydd, gellir eu cysoni â'r awdwr. Y mae yn ei galon gyfoethog ef y galluoedd angenrheidiol i ddadblygu i'r naill gyfeiriad a'r llall—Apostol Cariad, Mab y Daran.

Gwelwn yr un elfenau yn gorwedd ochr yn ochr yn ei Epistolau. Ar un llaw, y maent yn parhau yn gynhes gan gariad—nid yw treigliad y canrifoedd yn oeri dim ar eu dail; ar y llaw arall, clywn ru taranau a gwelwn fflachiad mellt. Gŵyr pawb am ei ddywediad mawr, "Duw cariad yw," gwirionedd ag sydd yn graddol drawsnewid holl hanes y byd; ac y mae ar gof y saint ei anogaethau taerion iddynt, bron bob yn ail adnod, i garu eu gilydd. Ond a ydym wedi sylwi ar angherddoldeb ei zel yn erbyn pechod a chyfeiliornad? "Os dywedwn fod i ni gymdeithas ag Ef, a rhodio yn y tywyllwch, celwyddog ydym"—*we are liars!* "Pwy yw y celwyddog"—*who is a liar?*—"ond yr hwn sydd yn gwadu nad Iesu yw y Crist?" Nid *advanced thinkers* y geilw efe y bobl yna, ond *liars*—ergyd taran, gwibiad mellten. "Yr hwn sydd yn gwneuthur pechod, o ddiafol y mae." "Pob un a'r sydd yn cashau ei frawd, lleiddiad dyn yw"—*he is a murderer!* "Os dywed neb, Yr wyf yn caru Duw, ac efe yn cashau ei frawd, celwyddog yw"—*he is a liar!* "Oblegid y mae twyllwyr lawer wedi dyfod i mewn i'r byd"—athronwyr yn chwilio am wirionedd, Ioan? Nage, "Twyllwyr, y rhai nid ydynt yn cyffesu ddyfod Iesu Grist yn y cnawd. *Hwn yw y Twyllwr a'r Anghrist*"! "Od oes neb yn dyfod atoch, ac heb dderbyn y ddysgeid-

iaeth hon, na dderbyniwch ef i dy"—gwrthodwch lety noswaith iddo —"ac na ddywedwch, Duw yn rhwydd, wrtho." Culni, Ioan? Nage, crefydd bur a dihalogedig, "canys yr hwn sydd yn dywedyd wrtho, Duw yn rhwydd, sydd gyfranog o'i weithredoedd drwg ef." Mewn hollol gysondeb â hyn yw traddodiad yr Eglwys iddo, pan ar ymweliad â'r bâddon cyhoeddus yn Ephesus, a chlywed fod yr heretic Cerinthus yn yr ymdrochle, ruthro allan mewn gwylltineb rhag i'r adeilad syrthio ar eu penau. Mab y Daran hyd y diwedd.

### III.—DILYSRWYDD EI EFENGYL—PROFION TUFEWNOL.

Barn yr Eglwys uniongred o'r dechreu yw mai Ioan, pan yn hen wr, rhwng yr 80 a 90 mlwydd oed, yn Ephesus a ysgrifenodd y Bedwaredd Efengyl. Gwyddom y dadleua dosbarth o ysgrifenwyr anghrediniol nad oes un prawf o gwbl o drigiad yr Apostol yn Ephesus; ond yn ngwyneb tystiolaethau y Tadau Apostolaidd a thraddodiad unfrydol yr Eglwys, gallwn yn bresenol fforddio anwybyddu eu gwrthddadl. Pan yr oedd ei nerth corphorol yn pallu, barnodd yn ddoeth, ar gais y saint yn Asia Leiaf, roddi mewn ysgrifen ei adgofion o'r Arglwydd Iesu, er cadarnhâd eu ffydd. Anhawdd credu iddo dreulio oes mor faith, mewn llafur gweinidogaethol parhaus, heb ddodi mewn ysgrifen yn flaenorol ei adgofion o ymddiddanion a phregethau yr Arglwydd Iesu, y rhai a ffurfient faich ei bregethau ei hun. Yr oll oedd yn angenrheidiol yn ei henaint, ni dybiwn, oedd trefnu y defnyddiau ag oedd eisoes yn ei feddiant, gwneyd detholiadau doeth i'r pwrpas oedd ganddo mewn golwg, mewn gair, golygu (*edit*) ei ysgrifeniadau ei hun a'u rhoddi i'r byd. Gan nad oedd argraphu yn mhlith celfau yr oes hono, y mae yn amlwg y cymerai flynyddoedd lawer i luosogi mewn llaw-ysgrifen gopiau o'r Efengyl; a chan y buasai pob copiwr yn ychwanegu at wallau ei ragflaenydd, nid yw yn achos i ryfeddu ato fod yn ffynu "amrywiol ddarlleniadau" yn niwedd yr ail ganrif. Yn awr ac eilwaith cyfodai gwrthwynebydd i ddysgeidiaeth yr Efengyl yn y canrifoedd cyntaf, fel y gellid yn naturiol ddisgwyl; ond nid oedd neb yn ddigon beiddgar i wadu ei bodolaeth. Ond yn y ganrif hon gwnaeth Baur a'i edmygwyr, y rhai a adwaenir fel Ysgol Tübingen, ymosodiad cryf a phenderfynol arni, gan wadu ei bodolaeth cyn y flwyddyn 160—170. Yn ol eu damcaniaeth hwy rhyw Gristion Groegaidd, mewn cydymdeimlad a Christionogaeth mewn ffurf Gnosticaidd, ond yn llawn gwrthwynebiad i Gristionogaeth yn ei ffurf Iuddewaidd, yn haner olaf yr ail ganrif, a gyfansoddodd yr Efengyl er mwyn gwrthweithio y lefain Iuddewig a dodi i mewn yn ei le y lefain Gnosticaidd. Y mae aelodau presenol yr ysgol hanesyddol hon, er yn gwadu ei dilysrwydd, wedi gorfod symud amser ei chyfansoddiad yn ol o haner olaf y ganrif i'r haner cyntaf. Yn ol Hilgenfeld, prif gynrychiolydd yr ysgol yn ein hoes ni, cyfansoddwyd hi tua 130 gan rhyw Gristion o syniadau Gnosticaidd. Nid hanes mo'r Efengyl, ond rhamant—yr awdwr yn gwneuthur Iesu Grist yn arwr, ac yn priodoli iddo ymddiddanion a phregethau na lefarodd erioed, y rhai a gynwysent, nid y gwirioneddau a ddysgai yr Athraw, ond y damcaniaethau athronyddol ag y dymunai yr awdwr eu gwasgar. Ai dysgeidiaeth yr Eglwys, ynte dysgeidiaeth Tübingen, sydd wir?

Y peth cyntaf i'w wneyd ydyw holi y llyfr ei hun. Beth a dywed am dano ei hun? Ei ateb cyntaf yw mai Iuddew, ac nid Groegwr, yw ei awdwr. Gwir y siarada am "ŵyl yr Iuddewon" ac "arfer yr Iuddewon" fel pe na pherthynai efe i'r genedl; gwir hefyd y dangosa atgasrwydd at yr "Iuddewon" oedd yn erlid yr Iesu, sef yr Iuddewon swyddogol, gan y gofala eu gwahaniaethu bob amser oddiwrth y dyrfa. Ond rhaid cofio mai i ddarllenwyr Groegaidd yr ysgrifenai, fod y genedl Iuddewig wedi peidio a bod, a'i fod, o ran teimlad a barn, yn herwydd ei gysylltiadau crefyddol newydd, wedi hollol ddadgysylltu ei hun â'r hen wladwriaeth Iuddewig. Nid Iuddew mohono yn awr, ond Cristion, a'r ddau air yn meddu ystyr grefyddol ac nid cenedlaethol. Wrth edrych ar y mater o safle yr Apostol, cyll yr wrthddadl hon ei holl nerth.

Yr Aramaeg oedd iaith frodorol Ioan, a hon oedd yr iaith a lefarai am drigain mlynedd o'i oes. Diau y deallai Roeg megis y dealla Cymro darllengar o un o siroedd Cymreig y Dywysogaeth Saesonaeg. Yn ei hen ddyddiau symudodd i fyw a gweinidogaethu mewn gwlad Roegaidd o ran tafodiaith, ac angenrhaid oedd iddo lefaru ac ysgrifenu yn iaith y wlad. Ai rhyfedd os nad oedd ei Roeg yn berffaith gaboledig? Dywedir am Roeg Llyfr y Datguddiad ei fod yn llawn o anmhuredd ieithyddol, ac y mae llawer yn cyfrif am hyny ar y tir iddo gael ei ysgrifenu yn weddol gynar ar ol ymfudiad Ioan o'i wlad enedigol, ac felly cyn iddo feistroli yn briodol yr iaith newydd. Ar y llaw arall, er mwyn profi nad awdwr y Datguddiad yw awdwr yr Efengyl, rhêd y beirniaid anghrediniol i eithafion yn eu gorganmoliaeth o arddull lenyddol yr Efengyl, haerant ei bod wedi "ei hysgrifenu mewn Groeg pur iawn." Ond dywed Westcott gydag awdurdod fod yr haeriad "yn hollol gamarweiniol." Y mae yn rhydd oddiwrth gam-droëllau (*solecisms*), am y rheswm syml ei fod yn gochel holl briod-ddulliau arbening (*idioms*) yr iaith, a gwyddis mai priod-ddulliau sydd yn profi meistrolaeth. Dilyn yr awdwr reolau cyffredinol Gramadeg, y rhai sydd gymhwysiadol at unrhyw iaith ac at bob iaith, ond nid rheolau neillduol Gramadeg o'r iaith Roeg.

O herwydd paham y mae ei ddefnydd o gysyllt-eiriau a mân-eiriau (*particles*) yn gyfyngedig i ychydig o enghreiphtiau eglur. Nid oes dim yn profi meistrolaeth ar iaith yn well na defnydd amrywiol ond priodol o'r mân-eiriau. Nid y geiriau mawr, ond y geiriau bach, sydd yn dyrysu newyddian, fel y gŵyr llawer o'n darllenwyr trwy brofiad. Y mae yn yr iaith Saesoneg naw neu ddeg o gysyllteiriau a ddygwyddant yn reddfol i Sais; ond nid yw awduron Cymreig, er iddynt fod yn raddedigion, pan yn cyfansoddi yn y Saesonaeg, yn defnyddio mwy na thri neu bedwar—y maent yn feistriaid ar yr iaith, eithr nid ar y priod-ddulliau. Iaith eithriadol o gyfoethog yw y Groeg yn y mân-eiriau hyn, a dengys awdwr clasurol feistrolaeth ardderchog arnynt. "Dywed wrth un, Cerdda, ac efe a ä; ac wrth arall, Tyred, ac efe a ddaw; ac wrth y trydydd, Gwna hyn, ac efe a'i gwna." Ond ychydig yw cysyllteiriau Ioan: ac (*kai*), ond (*dè*), yna (*oun*), a rhyw un neu ddau arall. Mor anaml y defnyddia hyd yn nod "*ond*." Edrycher i'r benod gyntaf—51 o adnodau; ni ddygwydd y gair "ond" yn fwy na dwywaith, yn adn. 12 a 26—nid yw "ond" adn. 17 yn perthyn i'r gwreiddiol. Lle y defnyddiai Groegwr "ond," defnyddia awdwr yr Efengyl hon "ac." Er enghraipht, ysgrifenai Groegwr: "Y goleuni sydd yn llewyrchu yn y

tywyllwch, *ond* y tywyllwch nid oedd yn ei amgyffred"; ysgrifenai Ioan, "*a'r* tywyllwch nid oedd yn ei amgyffred" (i. 5). Ysgrifenai Groegwr: "Yr hyn a welsom yr ydym yn ei dystiolaethu, *ond* ein tystiolaeth ni nid ydych yn ei derbyn"; ysgrifenai Ioan, "*a'n* tystiolaeth ni nid ydych yn ei derbyn" (iii. 11). Brithir yr efengyl trwyddi gan enghreipht iau cyffelyb.

Yn gysylltiedig â hyn, ac i ryw raddau yn ganlyniad, yw cyd-raddoldeb *(co-ordination)* y brawddegau. Arfer ysgrifenwyr yw cael un prif frawddeg, gan adael i'r brawddegau eraill ddibynu arni. Ond y mae yn amlwg fod yr arddull yna bron yn anmhosibl i awdwr sydd heb fawr o gysyllteiriau ac yn anwybyddu i raddau mawr y *participial mood*. Ac o'r un achos y tardd ei ddefnydd prin o ragenwau; gwell ganddo, a mwy cydnaws a'i arddull, yw mynychu y sylweddair. "Yn y dechreuad yr oedd y *Gair;* a'r *Gair* oedd gyda Duw; a Duw oedd y *Gair.*" "Myfi yw y *Bugail* da: y *Bugail* da sydd yn rhoddi ei einioes dros y defaid." "Y *byd* a'u cashaodd hwynt, oblegid nad ydynt o'r *byd*, megis nad wyf finau o'r *byd*. O'r *byd* nid ydynt, megis nad wyf finau o'r *byd*." Mor rwydd fuasai defnyddio rhagenwau yn yr enghreiphtiau uchod, a diau mai dyna a wnai awdwr Groegaidd; ond i ddyn oedd yn drigain oed cyn cynefino â'r iaith, y mae arddull mwy unionsyth, trwy fynychu y sylweddeiriau, yn fwy esmwyth a naturiol.

Nodwedd arall arbenigol iawn o'r Hebraeg yw y meddyliau a'r brawddegau cyfochrog *(parallelisms)* lle y mae y naill megis yn adgyfnerthu ac egluro y llall; ac ychydig o baragraphau sydd yn y llyfr lle y mae yr arddull hon yn hollol absenol. Cymerer v. 37 yn engraipht:—

"A'r Tad, yr hwn a'm hanfonodd i,
Efe a dystiolaethodd am danaf fi;
Ni chlywsoch chwi ei lais Ef un amser,
Ac ni welsoch ei wedd ef."

Nodwedd arall hollol Hebreig yw yr ail adroddiad. Cymerer iii. 14—16 yn enghreiphtiau:—

"Megis y derchafodd Moses y sarph yn y diffaethwch,
Felly y mae yn rhaid derchafu Mab y Dyn;
Fel y caffo pwy bynag a gredo
Fywyd tragwyddol ynddo Ef.

"Canys felly y carodd Duw y byd,
Fel y rhoddodd Efe ei Unig-anedig Fab,
Fel na choller pwy bynag a gredo ynddo Ef,
Ond caffael o hono fywyd tragwyddol."

Eto, vi. 39, 40, 44:—

"A hyn yw ewyllys y Tad a'm hanfonodd;
O'r cwbl a roddes Efe i mi na chollwn ddim o hono;
*Eithr bod i mi ei adgyfodi ef yn y dydd diweddaf.*

"A hyn yw ewyllys yr hwn a'm hanfonodd i;
Cael o bob un sydd yn gweled y Mab,
Ac yn credu ynddo Ef, fywyd tragwyddol:
*A myfi a'i hadgyfodaf ef yn y dydd diweddaf.*"

"Ni ddichon neb ddyfod ataf fi, oddieithr i'r Tad,
Yr hwn a'm hanfonodd ei dynu ef;
*A myfi a'i hadgyfodaf ef y dydd diweddaf.*"

Eithr nid yn unig y mae yn gochel y cysylltciriau, ond dengys darllen-iad astud o'r Efengyl ei fod yn hynod brin mewn geiriaduraeth. Pamphledyn bŷr mewn cydmariaeth yw yr efengyl; ac eto cyfarfyddwn â'r un geiriau bron ar bob tudalen. Defnyddir *goleuni* 23 o weithiau; *gogoniant* a *gogoneddu*, 42 o weithiau; *byw* a *bywyd*, 52 o weithiau; *tystiolaeth* a *thystiolaethu*, 47 o weithiau; *gwybod (ginōskein)*, 55 o weithiau; *byd*, 78 o weithiau; *gwaith* neu *weithred*, 23 o weithiau; *credu*, 98 o weithiau; *enw*, 25 o weithiau; *gwirionedd*, 25 o weithiau; ac *arwydd*, 17 o weithiau. Ni ystyrir geiriaduraeth dlawd yn rhagoriaeth llenyddol; ac eto gedy y mynychiad hyn o'r un geiriau argraph annileadwy ar y meddwl. Deffroant ynom syniad o arucheledd, cyffelyb i res o golofnau marmor, nid oherwydd eu haddurniadau, ond oblegid eu moelni a'u mynychiad. Ond cryfach, feallai, na dim nodweddion llenyddol yw y ffugyrau Hebreig sydd yn treiddio trwy yr holl gyfansoddiad. Tra mai tuedd y Groegwr oedd edrych ar wirioneddau yn eu noethder —o safle athroniaeth, tuedd yr Hebrewr oedd meddwl mewn ffugyrau— o safle barddoniaeth. Cawn yr efengyl hon yn llawn ffugyrau, ond pob ffugr mewn undeb bywydol â hanes y genedl; y Deml, y Sarph Bres, y Manna, y Dwfr o'r Graig, y Golofn Dân, y Winwydden, &c.

Prawf arall mai Iuddew yw yr awdwr yw ei gyfieithiadau o'r Aramaeg, iaith Iuddewon Palestina yn y ganrif gyntaf, i'r Groeg, â'r rhwyddineb naturiol gyda pha un y gwna hyny. "Rabbi, yr hwn o'i gyfieithu yw, Athraw." "Y Messiah, yr hyn o'i ddehongl yw, y Crist." "Cephas, yr hwn a gyfieithir, Careg." "Siloam, yr hwn a gyfieithir, Anfonedig." "Y lle a elwir y Palmant, ac yn Aramaeg,* Gabbatha." "Lle a elwid Lle y Benglog, ac a elwir yn Aramaeg, Golgotha." "Rabboni, yr hyn yw dywedyd, Athraw." (i. 38, 41, 42; ix. 7; xix. 13; xix. 17; xx. 16). Ond dengys yr awdwr, yn mhellach, ei fod yn gyfarwydd â Hebraeg yr H.D., yn gymaint mai yn yr iaith wreiddiol, wrth bob tebyg, y darllenid y llithiau yn synagogau Palestina. Nid yw yn debyg y buasai awdwr Groegaidd yn dysgu Hebraeg yn yr ail ganrif o bwrpas i gyfansoddi yr Efengyl hon, yn enwedig gan fod yr H. D. wedi ei gyfieithu eisoes i'r Groeg gan y Deg a Thrigain, a bod hyd yn nod Iuddewon y Gwasgariad yn dewis y cyfieithiad o flaen y gwreiddiol, yn gymaint ag y deallent y naill tra na ddeallent y llall. Yn y Bedwaredd Efengyl, ceir 14 o ddyfyniadau o'r H. D., a lle y mae y Deg a Thrigain yn gwahaniaethu oddiwrth yr Hebraeg, cawn fod yr Efengyl yn ddieithriad yn dilyn yr Hebraeg. Ein casgliad, gan hyny, yw, fod yr awdwr yn Iuddew.

Gellir myned yn mhellach, a phrofi nid yn unig fod yr awdwr yn Iuddew, ond hefyd ei fod wedi ei ddwyn i fynu yn Mhalestina, ac nid, megis Philo a Cerinthus, yn mysg Iuddewon y Gwasgariad. Cyfeiria at Fedydd (i. 25; iii. 22, 23; iv. 2); at Buredigaeth (ii. 6; iii. 25; xi. 55; xviii. 28; xix. 31); at y Gwyliau (ii. 13, 23; v. 1; vi. 4; vii. 2, 37; x. 22; xiii. 1; xviii. 28; xix. 31, 42); at yr Enwaediad a'r Sabbath (vii. 22, 23). Gwna hyn oll gyda y fath rwyddineb a chywirdeb fel ag i gario argyhoeddiad i'r meddwl mai nid ffrwyth ymchwiliadau henafiaethol

* Wrth Hebraeg yn y Test. Newydd y golygir yr Aramaeg.

sydd yma, ond canlyniad sylwadaeth naturiol. Y mae ei wybodaeth o ddaearyddiaeth Palestina yn drylwyr a manwl. Dyga Baur yn mlaen bedair neu bump o enghreiphtiau i brofi anwybodaeth yr awdwr o drefi a phentrefi y wlad; ond profa yr ymchwiliadau diweddar, hyd yn nod yn marn ei ddysgyblion proffesedig, fod yr anwybodaeth, nid o du yr awdwr, ond o du y beirniad. Gwahaniaetha yn gywir rhwng trefi o gyffelyb enwau, megis Cana a Bethsaida a Bethania (ii. 1; xii. 21). Gŵyr fod Bethania "ynghylch pymtheg ystad" o Jerusalem (xi. 18); fod y "ddinas Ephraim yn agos i'r anialwch" (xi. 54); fod "Ainon yn agos i Salim" (iii. 23); fod o'r traeth i ganol Môr Galilea bump ar hugain neu ddeg ar hugain o ystadiau (vi. 19; cydm. a Matt. xiv. 24); fod yn rhaid croesi afon Cedron ar hyd y bont i gyrhaedd o Jerusalem i Gethsemane (xviii. 1); fod llyn Siloam ar bwys y brifddinas (ix. 7); a bod ffynhonau mwnawl ar fynydd Moriah (v. 7). Gŵyr am drysordy y deml, lle y cedwid y coffrau i dderbyn rhoddion ewyllysgar yr addolwyr (viii. 20), ac am "borth Solomon," lle y rhodianai yr Iesu gyda'i ddysgyblion, y tu dwyrain i'r deml, er mwyn y cysgod, oherwydd fod y tywydd yn arw (x. 23). Y mae yn gwybod am fynydd Gerizim ac Ebal, ac am y gwastadedd—tir gwenith ardderchog—wrth eu traed (iv. 35). "Nid oes un rheswm," ebe Keim, "dros gredu yn y camsyniadau tybiedig (*alleged errors*"). "Ymddengys i mi," ebai Renan, "fod yr opiniwn sydd wedi ei aml adrodd, nad oedd yr awdwr yn adnabod Jerusalem nac yn deall materion Iuddewig, yn hollol ddisail." Ac y mae Keim yn rhestr dysgyblion Baur, a Renan yn anghredadyn trwyadl.

Gŵyr am y "dadleudy" (*Prætorium*), i'r hwn nid elai yr Iuddewon rhag eu halogi (xviii. 28—33); a gŵyr am y "lle a elwid y Palmant, ac yn Hebraeg Gabbatha" (xix. 13). Gŵyr am Golgotha, ei fod "yn agos i'r ddinas," ac i "lawer o'r Iuddewon," mewn canlyniad, ddarllen y teitl ar y groes yn Hebraeg, Groeg, a Lladin, "**Iesu o Nazareth, brenhin yr Iuddewon,**" "ac yn y fangre lle y croeshoeliasid Ef yr oedd gardd" (xix. 19, 20; xix. 41).

Gwelwn hefyd fod yr awdwr yn llygad-dyst o'r ffeithiau a gronicla. Enwa yn aml yr awr y cymerodd y dygwyddiadau le. "Ac yr oedd hi yn nghylch y *ddegfed* awr" (i. 39); "ac yn nghylch y *chweched* awr ydoedd hi" (iv. 6); ac efe a arhosodd yno *ddeuddydd*" (iv. 40); "Doe, y *seithfed* awr" (iv. 52); "a'r gauaf oedd hi" (x. 22); "ac yr oedd hi yn *nos* (xiii. 30); "claf namyn *dwy flynedd deugain*" (v. 5); "a'r *boreu* ydoedd hi" (xviii. 28); "y *boreu*, a hi eto yn dywyll" (xx. 1); "a phan ddaeth y *boreu* weithian" (xxi. 4); "*lliw nos*" (iii. 2). Yr un modd, lle y mae yn angenrheidiol, noda y nifer o wrthrychau y cyfeiria atynt. "*Dau* o'i ddisgyblion" (i. 35); "*chwech* o ddyfr-lestri meini" (ii. 6); "*pum* torth a *dau* bysgodyn" (vi. 9); "*pump ystad a'r hugain*" (vi. 19); "*pedwar* milwr," yn ol arfer y Rhufeiniaid (xix. 23 a Act. xii. 4); "myr ac aloes yn nghymysg, tua *chan* pwys" (xix. 39); "*dau can cufydd* oddiwrth dir" (xxi. 8); "*cant a thri ar ddeg a deugain* o bysgod mawrion" (xxi. 11). Desgrifia pob amgylchiad megis un oedd yn berffaith sicr o'i ffeithiau. "A'r gweision a'r swyddogion oeddynt wedi gwneuthur tân glo, oherwydd ei bod hi yn oer" (xviii. 18). "Ac enw y gwas oedd Malchus" (xviii. 10). "A'i bais Ef oedd ddiwnïad, wedi ei gwau o'r cwr uchaf trwyddi oll" (xix. 23). "A hwy a lanwasant yr yspwng o finegr, ac a'i rhwymasant o gylch yr isop" (xix. 29).

Hawdd canfod yn mhellach ei fod yn un o'r deuddeg, oblegid pwy ond un o honynt eu hunain a fedrai groniclo eu hymddiddanion anghyhoedd a'u teimladau yn mhresenoldeb gwahanol amgylchiadau? Coffha ymddiddanion Crist â'r chwe dysgybl cyntaf (i. 38—51); cronicla gwestiynau Petr, Thomas, Judas (nid yr Iscariot), a Phylip; noda hollol anallu y dysgyblion i ddeall rhai o brif ddatganiadau yr Athraw (ii. 22; iv. 33; xi. 7, 8, 9, 16; xvi. 17). Gŵyr am deimladau Petr pan y golchai yr Iesu draed ei ddysgyblion (xiii. 6—12). Coffha ddygn anwybodaeth y dysgyblion o ystyr yr Ysgrythyrau (xx. 9); a'r ymddiddan rhwng yr Iesu a Thomas, yn yr ystafell a'r "drysau yn nghauad," ar ol yr adgyfodiad (xx. 24—29). Ie, mwy: rhydd i ni gipolwg ar y teimladau cudd yn mynwes yr Iesu ei hun (ii. 24, 25; iv. 1—3; v. 6; vii. 1; xiii. 1, &c.). Pwy a fedrai ddesgrifio teimladau Mab y Dyn, ond yr hwn a bwysasai ei ben ar ei fynwes?

## IV.—DILYSRWYDD YR EFENGYL—PROFION ALLANOL.

Seiliai ysgol Tübingen ei hymresymiad yn erbyn awduriaeth a dilysrywdd y Bedwaredd Efengyl i raddau mawr ar ddistawrwydd llenyddiaeth yr ail ganrif am dani. Ond wrth drafod y mater hwn, dylesid cadw dwy ystyriaeth mewn cof. Yn gyntaf, nid oedd Cristionogion yr ail ganrif yn ysgrifenwyr mawr. Nid oedd uchelgais awdurol yn un o'u gwendidau nac yn un o'u rhagoriaethau chwaith. Ac yn ail, o'r llyfrau a ysgrifenasant, y mae y cyfartaledd mawr wedi myned ar ddifangcoll; ac o'r rhai y gwyddom ychydig am danynt, yr ydym yn ddyledus am ein gwybodaeth bron yn gyfangwbl i Eusebius, yr hwn a welodd yn dda roddi dyfyniadau o honynt yn ei *Hanesiaeth Eglwysig*. A gofala ddyweyd wrthym yn ei ragymadrodd y dyfyna o'r gwahanol awduron, nid ar faterion yr oedd yr Eglwys yn ei oes ef yn un a chytun yn eu cylch, ond ar faterion oedd yn achos dadl ac ymrafael. Os nad yw y dyfyniadau a wna yn ymhelaethu llawer ar y Bedwaredd Efengyl, prawf yw hyny, nid nad ydoedd yn bod er yn foreu, ond fod crêd yr Eglwys yn ei hawduriaeth apostolaidd mor sicr a chyffredinol nes ei chyfodi uwchlaw dadl. Pe y gallem adfer rhai o'r llyfrau cyfrgolledig, megis yr ydym eisioes wedi llwyddo y tuhwnt i ddisgwyliad neb, diamheu y caem sicrwydd perffaith ar lawer mater ag sydd yn awr yn amdoedig yn niwl amheuaeth. Er hyny, nid yw ein hanwybodaeth am y cyfnod mor ddygn ag i'n rhwystro i dynu casgliadau sicr a dyogel.

Dywedasom nad oedd neb yn y ddwy ganrif gyntaf yn amheu dilysrwydd y Bedwaredd Efengyl, neb o'r duwinyddion uniongred na neb o'r duwinyddion hereticaidd. Yn wir, yr ydym yn fwy dyledus i'r dosbarth diweddaf nag i'r rhai blaenaf am ddefnyddiau i ateb gelynion yr Efengyl hon, fel y cawn weled wrth fyned yn mlaen. Cyfeirir, fodd bynag, gan dri neu bedwar o'r Tadau at sect a elwid yr Alogoi, yr hyn o'i ddehongl yw, yr Afresymolwyr, perthynasau agos i Resymolwyr y bedwaredd ganrif ar bymtheg. Amheua Hilgenfeld a Salmon—y ddau awdurdod uchaf ar lenyddiaeth yr ail ganrif—a fu y fath sect erioed, a thueddant i feddwl mai enw ydyw, nid ar sect, ond ar bersonau unigol a ddalient syniadau neillduol. Blagurai y bobl hyn tua 150, a gwrthwynebent athrawiaeth y Bedwaredd Efengyl o barth i'r Logos; oblegid hyn, hwyrach, y galwyd hwy yn Alogoi. Ni wadent ei bodolaeth, ond maentumient mai Cerinthus, Cristion hereticaidd a chydoesydd â Ioan yn Ephesus, a'i hysgrifenodd er lledaenu ei ddamcaniaethau Gnosticaidd. Ac nid heb ryw gymaint o

gywrain syndod y darllenwn fod y llyfr olaf a gyhoeddwyd yn y flwyddyn olaf o'r bedwaredd ganrif ar bymtheg ar y Bedwaredd Efengyl yn dadleu mai Cerinthus yr heretic, ac nid Ioan yr Apostol, yw ei hawdwr. Ond y pwngc o ddyddordeb i ni yn awr ydyw, y priodolai y bobl hyn yr Efengyl i gydoeswr a chyd-ddinesydd â Ioan; ac felly cyfaddefent ei bodolaeth yn niwedd y ganrif gyntaf, ac y mae cyfaddef hyny yn ildio yr holl bwngc sydd mewn dadl yn yr oes hon.

Y dull goreu, feallai, i adolygu y mater yw y dull daearyddol,—yn sicr y mae hyny yn fwy manteisiol i'r cof. Cymerwn yn gyntaf dystiolaethau eglwysi Ewrob o blaid dilysrwydd ac awduriaeth y Bedwaredd Efengyl. Dechreuwn gydag Irenæus, esgob yr eglwysi Cristionogol yn neheubarth Ffraingc o 177 hyd ei ferthyrdod yn 202. Bernir iddo gael ei eni yn Asia Leiaf oddeutu 130, a gwyddom ar ei dystiolaeth ef ei hun iddo gael ei ddwyn i fynu yn eglwys Smyrna. Yr oedd yn awdwr toreithiog, ond ychydig mewn cydmariaeth o'i weithiau sydd ar gael; ac eto y mae digon i lanw dros chwe chant o dudalenau yr "*Ante-Nicene Library.*" Ysgrifenodd lyfr llafurfawr yn yr iaith Roeg yn erbyn heresiau yr ail ganrif, ac, er fod y gwaith gwreiddiol wedi ei golli, oddigerth ychydig o baragraphau, y mae cyfieithiad cyflawn o hono yn yr iaith Ladinaidd. Yn y gwaith hwn dywed: "Cymaint yw y sicrwydd o barth i'r efengylau, nes y mae yr hereticiaid eu hunain yn dwyn tystiolaeth iddynt, ac y mae pob un o honynt, gan gychwyn gyda yr efengylau, yn ymdrechu sylfaenu ei ddysgeidiaeth arnynt." Tystiolaeth gref oddiwrth wr galluog a chrefyddol ag y bu ei oes yn cydredeg â'r ganrif am 70 mlynedd. Yn unol â'i ffydd ynddynt, gwna 400 o ddyfyniadau o honynt, 80 o'r Bedwaredd Efengyl yn unig. Gellir crybwyll dwy ystyriaeth sydd yn chwyddo pwysigrwydd ei dystiolaeth. Un yw ei fod am flynyddoedd yn gynorthwywr, ac ar ol hyny yn olynydd, i'r esgob duwiol Pothinus, yr hwn a fu farw yn ferthyr i gynddaredd y *mob* yn Lyons yn 177, yn yr oedran teg o 90. Brodor oedd yntau hefyd o Asia Leiaf. Gallasai fod wedi gweled Ioan; ac yn gymaint ag iddo gael ei ddwyn i fynu yn yr eglwysi oedd o dan ei arolygiaeth fugeiliol, nid oes dadl na chymdeithasodd lawer â chydnabod yr Apostol. Tybed na wyddai oddiwrth dystiolaethau cyfeillion Ioan yn y Saith Eglwys pa un a oedd wedi ysgrifenu Efengyl ai peidio, yn enwedig pan y cofiwn y darllenid hi yn rheolaidd yn eglwysi ei ofal? Buasai tybied yn wahanol yn ei wneuthur yn ffol-ddyn. Ac os gwyddai efe, sicr genym i Irenæus, ei gynorthwywr am flynyddau yn y fugeiliaeth, glywed oddiar ei wefusau sanctaidd yr holl hanes.

Yr ystyriaeth arall yw cysylltiad uniongyrchol Irenæus â Polycarp, esgob Smyrna, a chyfaill personol i'r Apostol Ioan. Ysgrifenodd Irenæus lythyr at Florinus yn Rhufain, ei gyd-efrydydd gynt yn Smyrna, yr hwn oedd wedi syrthio oddiwrth burdeb y ffydd i rai o'r cyfeiliornadau Gnosticaidd, a rhoddwn yma rydd-gyfieithiad o ddarn o hono: "Gwelais di yn fy ieuengctyd yn Asia Leiaf gyda Polycarp, canys yr ydwyf yn cofio dygwyddiadau yr amseroedd hyny yn llawer gwell na dygwyddiadau diweddarach. Yr hyn a ddysgwn yn ein hieuengctyd, mewn gwirionedd, a dyfa gyda ein henaid, ac a dyfa mewn undeb mor agos ag ef, fel y gallaf hyd yn nod yn awr weled y fan lle yr eisteddai Polycarp pan y llefarai. Gallaf alw i gof ei ddyfodiad i mewn a'i fynediad allan, nodweddion ei fywyd, ei ymddangosiad corphorol, a'r pregethau a

draddodai i'r bobl; y modd yr adroddai ei ymddiddanion cyfeillgar ag Ioan, ac â'r lleill oeddynt wedi gweled yr Arglwydd; y modd yr adroddai eu hymddiddanion, a'r hyn a glywodd ganddynt am yr Arglwydd, am ei wyrthiau a'i ddysgeidiaeth,—hyn oll, megis y derbyniodd Polycarp oddiwrth y rhai oeddynt lygaid-dystion o Air y Bywyd, *a adroddai mewn cysondeb â'r Ysgrythyrau Sanctaidd.* Y pethau hyny, y rhai a ganiatawyd i mi trwy drugaredd Duw, a wrandewais yn astud ac a wnaethum nodiadau o honynt, nid ar bapyr, ond ar fy nghalon, a thrwy ras Duw yr wyf yn parhau i'w hailadrodd yn ffyddlon." Gwelwn, gan hyny, fod gan Irenæus bob mantais i wybod am awduriaeth yr Efengyl. Gwyddai a gydnabyddid hi yn eglwys Smyrna, yn amser gweinidogaeth Polycarp; ac y mae y ffaith fod dyn mor oleuedig a chydwybodol yn credu yn ddiysgog yn ei dilysrwydd yn gymhelliad cryf i ninau i orphwys ein ffydd arni.

Symudwn yn nesaf i Rufain. Dechreuwn gyda Clement, yr hwn a drigai yn Rhufain pan y preswyliai Ioan yn Ephesus, a'r hwn oedd yn henuriad llywodraethol yno. Terfynodd ei oes o gylch y flwyddyn 100. Y mae un llyfr o'i waith ar gael, yr *Epistol Cyntaf at y Corinthiaid*, epistol helaethach nag epistol cyntaf Paul at yr un eglwys. Ystyrir ef yn epistol galluog, ond nid cydradd ag epistolau Paul. Darllenid ef yn yr eglwysi yn yr ail ganrif, er nad ystyrid ef yn ysbrydoledig; a cheir ef yn weddol gyflawn yn yr *Alexandrian Codex* yn yr Amgueddfa Brydeinig. Ond nid oes ynddo gyfeiriad o gwbl at Efengyl Ioan. A rheswm da paham—yr oedd wedi ei ysgrifenu yn flaenorol iddi neu yn gyfamserol â hi. Mŷn rhai ei fod wedi ysgrifenu tuag amser dinystr Jerusalem; ond mwyafrif y beirniaid a gytunant ar 95—98.

Dyma y lle goreu, o bosibl, i gyfeirio at *Homiliau* Clement; nid am y credwn mai cynyrch meddwl y gwr da a enwyd ydynt, ond am eu cysylltir â Clement ac â Rhufain. Tybir mai amser eu cyfansoddiad oedd 160. Gwnaeth ysgol Tübingen ddefnydd helaeth o honynt i brofi ei damcaniaeth. Pan y dechreuodd Baur ysgrifenu, yr oedd unarddeg o benodau o Homili xix., a holl Homili xx., ar goll. Ond ceid yn Homili iii., yr hon oedd ar gael, eiriau fel hyn: "Gan hyny, ac Efe yn brophwyd, Efe a ddywedodd, Myfi yw drws y bywyd; yr hwn a ä i mewn trwof fi a ä i mewn i fywyd." Ac yn yr un Homili darllenir, "Am hyny, Efe a lefodd ac a ddywedodd, . . Fy nefaid i sydd yn clywed fy llais i." Gallasem feddwl na fedrai neb amheu fod y dyfyniadau yna yn cyfeirio at Ioan x. 9 a 27. Ond ni fynai Baur a'i ganlynwyr dderbyn eu tystiolaeth—gallasent fod yn frawddegau poblogaidd yn Gnosticiaeth yr oes. Yn Homili xi., ceir y geiriau: "Canys felly y prophwyd a dyngodd i ni, Yn wir meddaf i chwi, oni ail-aner chwi trwy ddwfr bywiol yn enw y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân, ni chewch fyned i mewn i deyrnas nefoedd." Gallem dybied fod y cyfeiriad yn ddiamheuol at Ioan iii. 5. Ond ni fynai ysgol Tübingen, nac ychwaith awdwr y *Supernatural Religion*, gydnabod y cynwysent unrhyw brawf "gwyddonol" o fodolaeth y Bedwaredd Efengyl.

Ond cyn hir darganfyddwyd copi cyflawn o'r Homiliau yn yr iaith Roeg—yr iaith yn yr hon eu hysgrifenwyd—yn llyfrgell y Vatican, a chyhoeddwyd ef gan Dressel yn 1853. Y mae yr adran ag oedd ar goll o'r pwys mwyaf, gan y dyfyna o Efengyl Marc, bodolaeth flaenorol yr hon hefyd a wedid gan Baur a'i ddisgyblion. Profa hefyd yn ddiddadl

fodolaeth Efengyl Ioan; canys yn Homili xix. darllenwn: "Oblegid ein Hathraw, pan yr ymofynasom ag Ef, yn nghylch y dyn oedd yn ddall o'i enedigaeth, ac a gafodd ei olwg, pa un ai y dyn hwn a bechodd, ynte ei rieni, fel y ganesid ef yn ddall, a atebodd, Ni phechodd hwn o gwbl, na'i rieni chwaith, ond fel yr amlygid gallu Duw trwyddo ef mewn iachau pechodau o anwybodaeth." Cyfeiria y geiriau yn amlwg at Ioan ix. 1—3. Mor argyhoeddiadol yw y dyfyniad fel y cyfaddefa Hilgenfeld a Volkmar, prif gynrychiolwyr yr ysgol anghrediniol yn yr oes hon, fod y mater wedi ei benderfynu—Efengyl Ioan yn adnabyddus yn Rhufain cyn 160. Awdwr Saesonaeg y *Supernatural Religion* yw yr unig un, hyd y gwyddom ni, a barhäodd yn ei gyndynrwydd.

Awn yn mlaen at enw arall, yr hwn sydd wedi cynyddu mewn dyddordeb a phwysigrwydd y blynyddau diweddaf, sef Hippolytus, un o ddysgyblion Clement o Alexandria, ac esgob Portus, porth Rhufain. Y mae o bosibl lawer o gwestiynau mewn cysylltiad â'i hanes na ellir rhoddi iddynt atebion hollol foddhaol; ond gan ei fod yn ddysgybl i Clement, rhaid ei fod yn byw yn niwedd yr ail ganrif ac yn nechreu y drydedd. Cydsaif hyn â'r hanes arall, sef ei fod yn gyfaill i Origen, ac iddo roddi cynorthwy gwerthfawr iddo yn ysgrifeniad ei esboniadau. Tystiai amryw o'r Tadau ei fod wedi ysgrifenu llyfr o'r enw, *Kata Pasōn Haireseōn Elengchos,* "Atebiad i'r Holl Heresiau." Yr oedd y llyfr yn meddiant Eusebius pan yn cyfansoddi ei Hanesyddiaeth. Eithr, fel ugeiniau eraill, diflanodd pob copi o hono, ac nid oedd ond traddodiad am ei fodolaeth. Ond yn y flwyddyn 1842 dygodd M. Mynoide Minas, ar ei ddychweliad o wlad Groeg, lle yr aeth ar neges dros lywodraeth Ffrainge, lawysgrif henafol yn yr iaith Roeg gydag ef, yr hon a ddarganfyddodd mewn mynachlog ar Fynydd Athos. Dododd hi yn nghadw yn y Llyfrgell Ymherodrol yn Paris. Yn mhen blynyddoedd darganfyddwyd hi yno gan Emmanuel Miller, yr hwn a'i cyhoeddodd ar gost prif-ysgol Rhydychain. A pha beth ydoedd? Llyfr hirgolledig Hippolytus yn erbyn yr "Holl Heresiau"! Creodd y darganfyddiad y dyddordeb mwyaf yn mhlith dysgedigion Prydain a'r Cyfandir, gan y tafla oleuni lawer ar syniadau a bucheddau Cristionogion yr ail ganrif. Ond yr hyn sydd o ddyddordeb presenol i ni yw a ganlyn. Taerai ysgol Tübingen mai yn 160—170 y cyfansoddwyd y Bedwaredd Efengyl; ond beth a ddatguddir i ni yn llyfr Hippolytus? Traetha yn helaeth ar heresi Basilides, yr hwn a flagurai tua 125, dim ond 25 mlynedd ar ol marwolaeth Ioan; hysbysa ni fod y cyfeiliornwr hwn yn ymdrechu sylfaenu ei ddysgeidiaeth ar y Pedair Efengyl, ac yn enwedig ar y Bedwaredd. Geiriau Hippolytus ydynt, "A hyn, meddai ef," sef Basilides, "yw yr hyn a ysgrifenwyd yn yr Efengylau, 'Efe oedd y gwir Oleuni, yr hwn sydd yn goleuo pob dyn a'r sydd yn dyfod i'r byd.'" Dyfyniad yw y geiriau o'r Bedwaredd Efengyl, ac y mae gramadeg yn dangos y gesyd yr awdwr yr adnod yn ngenau Basilides, ac felly ei fod yn dyfynu o lyfr Basilides. A sylwer mai nid adnod o bregethau yr Arglwydd Iesu ydyw, onite haerai ysgol Tübingen mai brawddeg ar dafod-leferydd yr Eglwys ydoedd, ond adnod o gyfansoddiad yr Apostol ei hun. Gan yr ysgrifenai Basilides tua 125, ac yr apeliai at y Pedair Efengyl fel yn bleidiol i'w ddameaniaethau, pa brawf cryfach a allem gael o'u bodolaeth yn nechreu cyntaf yr ail ganrif, ac nid yn unig o'u bodolaeth ond hefyd o'u hawdurdod safonol?

Nid dyna yr oll sydd gan Rufain foreuol i'w dystiolaethu yn mhlaid y Pedair Efengyl. Pan oedd Muratori, offeiriad Pabaidd dysgedig, yn gweithio yn Llyfrgell Milan, daeth ar draws hen lawysgrif lwydaidd, neu yn hytrach ddarn o lawysgrif. O herwydd paham adnabyddir hi fel y *Muratorian Fragment*. Cyfieithiad Lladinaidd ydyw o waith gwreiddiol yn yr iaith Roeg. Y mae un brawddeg ynddi yn penderfynu amser ei chyfansoddiad: "Ysgrifenodd Hermas yn dra diweddar, yn ein dyddiau ni, ei '*Fugail*,' tra yr oedd Pius, ei frawd, yn esgob Rhufain." Pa bryd yr oedd Pius yn esgob Rhufain? Gellir ateb gyda graddau o sicrwydd mai o 142 i 147. O ganlyniad dyna yr amser y cyfansoddwyd y "Bugail" gan Hermas, copi Groeg o'r hwn a geir yn llawysgrif Sinai, yr hon a ddarganfyddwyd gan Tischendorf yn 1859 yn Mynachlog St. Catherine. Ond hawlia awdwr y darn Muratoraidd mai yn ei ddyddiau ef oedd hyny, ac yn dra diweddar; gan hyny, rhaid ei fod ef yn ysgrifenu yn fuan ar ol 147, dyweder tua 160. A beth ydyw y darn? Ymgais i benderfynu canon y Test. Newydd. Gan fod y rhan gyntaf ar goll, ni chawn ynddi yr un cyfeiriad at Matthew a Marc; ond dywed, "trydydd llyfr yr Efengyl yw yr un yn ol Luc." Ac os Luc yw y trydydd, rhaid mai Matthew a Marc oedd y ddau gyntaf. "O'r bedwaredd o'r Efengylau," meddai, "yr awdwr oedd Ioan, un o'r dysgyblion." Ac yna ä yn mlaen i adrodd hanesyn pur blentynaidd am y modd y daeth Ioan i'w chyfansoddi. Ond y pwynt o bwys i ni yn awr yw, yr ystyrid y Bedwaredd Efengyl yn rhan o'r canon, heb neb yn gwrthwynebu yn 150—160, pan yr haerai Baur nad oedd eto wedi ei chyfansoddi. Ac i gadarnhau tystiolaeth awdwr anadnabyddus y llawysgrif Furatoraidd, gallwn apelio at y cyfieithiad Lladinaidd o'r Test. Newydd yn haner diweddaf yr ail ganrif. Bernir mai yn Carthage y gwnaed y cyfieithiad at wasanaeth yr eglwysi Lladinaidd yn ngogledd Affrica; ond daeth yn ddefnyddiol i eglwysi Itali, a hyny yn foreu; ac y mae Efengyl Ioan yn meddu yr un safle anrhydeddus ynddo ag yn y Beibl Cymraeg.

## V.—DILYSRWYDD YR EFENGYL—PROFION ALLANOL (PARHAD).

Ni a groeswn yn awr o Ewrob i Affrica, i ymholi pa beth sydd gan Gristionogaeth y cyfandir hwnw i'w ddywedyd am awduriaeth y Bedwaredd Efengyl. Awn i Alexandria, canolbwynt gwybodaeth y Dwyrain a'r Gorllewin y tair canrif cyntaf o'r cyfnod Cristionogol. Yno y mae y Llyfrfa fyd-glodus—700,000 o lawysgrifau wedi eu casglu yn nghyd o bob parth o'r ddaear; ond yr hon, yn anffodus, a aeth yn aberth i'r fflamiau yn y bedwaredd ganrif, yn herwydd penboethni Cristionogion. Colled anadferadwy! Yno hefyd y mae y *Museum*, yr hyn o'i ddehongl yw, y Brifysgol. Tu fewn i'w muriau y mae prif ddysgedigion y byd yn darlithio ar bob pwngc a all fod o ddyddordeb i'r meddwl dynol. Mewn cysylltiad â'r Brifysgol sefydlwyd gan y Cristionogion Ysgol Dduwinyddol, lle y gall y dysgawdwyr Cristionogol draethu eu llithiau ac argymhell Cristionogaeth ar sylw y dysgedigion paganaidd. Cedwid yr ysgol yn agored o foreu hyd hwyr, a chroesawid y ddau ryw i'r darlithiau. Gan fod caniatâd i bawb i fyned i mewn, trown i'r *Lecture-Room* yn 218. Pwy sydd yn darlithio gyda y fath wresowgrwydd a hyawdledd? Gwr ieuangc o'r enw Origen. Beth yw pwngc ei ddarlithiau? Efengyl Ioan, a chyhoeddodd Esboniad galluog arni. Iddo ef athrawiaeth y

"Logos" oedd yr allwedd i ddatgloi dirgelion creadigaeth ac iachawdwriaeth. Ond y gwaith sydd yn dwyn y cysylltiad mwyaf uniongyrchol â'r mater sydd genym ni mewn llaw yn bresenol yw, ei gyfeiriadau at ddau o'r prif hereticiaid, y rhai oeddynt yn byw rhwng 100 a 150. Y cyntaf yw Celsus, athronydd Platonaidd, amddiffynydd crefydd y Groegiaid, a'r ymosodydd mwyaf trylwyr ar grefydd y Test. Newydd. Yn ei hen ddyddiau ysgrifenodd Origen atebiad galluog i'w lyfr ymosodol ar Gristionogaeth; ac oddiwrth atebiad Origen gallwn gasglu cynwys llyfr Celsus. Pa bryd yr oedd Celsus yn byw? Yn nhri chwarter cyntaf y ganrif, ac felly, yn ol ysgol Tübingen, cyn i'r Bedwaredd Efengyl gael ei hysgrifenu. Ond beth oedd natur ei ymosodiad ar Gristionogaeth? Cyfeiria yn barhaus at y Pedair Efengyl, dyfyna yn helaeth o honynt, nid i brofi eu hannilysrwydd, ond i ddangos eu hanghysonderau, ac mewn canlyniad nad oeddynt deilwng o ymddiried. Dyfyna amryw weithiau o'r Bedwaredd Efengyl. Cymer afael yn yr enw "Logos," a gwawdia y gosodiad i "ddwfr a gwaed" ddylifo allan o ystlys yr Iesu ar y groes, ffaith na chrybwyllir mohoni ond yn y Bedwaredd Efengyl. "Hyn oll," meddai, "a gawsom allan o'ch Ysgrythyrau chwi eich hunain; ni raid i ni wrth un tyst arall, yr ydych yn syrthio ar eich cleddyf eich hunain." Cyfeiriwn at Celsus, nid o herwydd ein parch i'w goffadwriaeth, er y rhaid cyfaddef ei fod yn ddyn galluog iawn, ond oblegid ei fod yn dyst gwirfoddol o'r bri yn yr hwn y safai Efengyl Ioan yn a chyn 150, ac o'r lle a berthynai iddi yn nghanon y Cristionogion.

Heretic arall y cyfeiria Origen ato yn ei ysgrifeniadau yw Heracleon, dysgybl a chydoesydd Valentine, sefydlydd y sect fechan a elwid yn Valentiniaid, a'r hwn a fu farw oddeutu 150. A beth oedd daliadau Valentine a'i ganlynwyr? Dysga Irenæus ni yn bendant yn ei lyfr yn erbyn Heresiau fod Valentine yn sylfaenu ei athroniaeth Gnosticaidd yn arbenig ar y rhaglith (*prologue*) i'r Bedwaredd Efengyl. Un o athrawiaethau sylfaenol yr athroniaeth Gnosticaidd yw, nad yw Duw yn ei *absoluteness* erioed wedi dyfod i gyffyrddiad â'r greadigaeth yn ei materoliaeth a'i llygredigaeth; ac eto y mae y greadigaeth yn bod a Duw yn bod. Beth yw y berthynas rhyngddynt? Bodau israddol i Dduw ac uwchraddol i'r byd y rhai a alwent hwy yn Eoniaid (*æons*) yw creawdwyr yr oll a welir. Canfyddai Valentine, yr hwn oedd Gristion, sylfaen i'r athrawiaeth hon yn haner cyntaf penod gyntaf y Bedwaredd Efengyl. Sonir yno am y Logos, yr Unig-anedig, Bywyd, Goleuni, Cyflawnder, Gwirionedd, a Gras. Enwau yw y saith yna ar saith o Eoniaid—y dolenau a ffurfient un gadwen i rwymo Duw a'r byd wrth eu gilydd, ac yn cyfateb i saith nodyn cerddoriaeth. Os ychwanegir Duw atynt, fel y ddolen gyntaf ac uwchaf, dyna wyth; ac felly cyfansoddant wythawd y bydysawd yn cyfateb i wythawd cerddoriaeth. Yn y fan hon y gwelent *harmony* bodolaeth. Gan mai nid athronwyr paganaidd oeddynt, ond athronwyr Cristionogol, ac yn ffurfio rhan o'r Eglwys, ymdrechent sylfaenu eu dysgeidiaeth ar yr Efengylau; a chan fod mwy o'r elfen gyfriniol yn y Bedwaredd Efengyl nag yn y lleill, gwelent gydgordiad cyflawnach rhwng eu hathroniaeth hwy a'i duwinyddiaeth hi. Gan hyny, ymgymerodd Heracleon ag ysgrifenu Esboniad arni, o'r safle Gnosticaidd. Nid yw yr Esboniad ei hunan ar gael, ond yn unig dyfyniadau o hono yn ngweithiau Origen; eithr

nid oes dadl am y ffaith. Yn awr, pa bryd y cyfansoddodd ei Esboniad ar Efengyl Ioan? Gan ei fod yn gyfaill personol yn gystal a dysgybl i Valentine, rhaid ei fod wedi ei gyfansoddi rhwng 125 a 160. Beth sydd yn dod yn awr o ddameaniaeth Baur, mai yn 170 yr ysgrifenwyd yr Efengyl? Ie, beth sydd yn dod o ddameaniaeth ei ddysgyblion, megis Hilgenfeld, sydd yn gosod ei hamseriad yn 130? Nid rhyfedd fod Volkmar, un arall o ddysgyblion dysgedig Tübingen, yn gorfod gwaeddi: "Ah, y Duw mawr! Os cyfansoddwyd Esboniad ar Efengyl Ioan rhwng 125 a 155, y fath ag y mae Origen wedi cadw rhanau o hono, pa beth mwy sydd i'w ddadleu? Y mae yn ddiamheuol fod yr oll drosodd o ran y ddadl feirniadol mai yn haner olaf y ganrif y cyfansoddwyd y Bedwaredd Efengyl."

Pwy oedd rhagflaenydd Origen yn mhrif gadair yr Ysgol Dduwinyddol yn Alexandria? Clement, gwr o fendigedig goffadwriaeth, a'r hwn a gyfenwir yn Clement o Alexandria, er mwyn ei wahaniaethu oddiwrth y Clement o Rufain, at yr hwn y cyfeiriasom eisioes. Ganwyd ef fel y bernir yn 160; a chan ei fod wedi ei eni cyn i'r Bedwaredd Efengyl ddyfod i fod, yn ol yr esbonwyr anghrediniol, dylasai ar bob cyfrif fod yn gwybod ei hanes. Ond pa beth a gawn yn ei ysgrifeniadau? Ystyria hi yn Gysegr Sancteiddiolaf y Datguddiad Dwyfol. "Y Logos, trwy yr hwn y gwnaed pob peth, a'r hwn yn awr a gymerodd yr enw Crist," a eilw efe yn Ganiad Newydd. Y Logos hwn yw "Haul yr enaid," ffynhonell pob gwirionedd a geir mewn athroniaeth, arweinydd dynion, nid yn unig wedi iddo ymgnawdoli, ond yn rhinwedd ei dywyniad tufewnol, "yn goleuo pob dyn a'r sydd yn dyfod i'r byd." Gwna dros 60 o ddyfyniadau o'r Bedwaredd Efengyl. Ac nid yn unig dyfyna o'r efengylau gyda helaethrwydd goludog, ond sierha ni iddynt gael eu trosglwyddo i lawr yn ddifwlch i eglwysi ei oes ef. Rhydd hanes bŷr am luaws o'r llyfrau canonaidd, ac yn enwedig am gyfansoddiad y Pedair Efengyl, "yr hwn a dderbyniodd oddiwrth henuriaid oedranus." Pwy oedd yr henuriaid oedranus? Nis gwyddom; ond darllenwn yn bendant am ei ymweliad a Jerusalem o gylch 203 neu 204. Mewn llythyr o waith Alexander, esgob Jerusalem, sydd eto ar gael, crybwyllir fod Clement yn y ddinas, ac yn mawr adeiladu y saint. Ond crybwylla Alexander, yn ychwanegol, mewn llythyr a ysgrifenodd yn 211, am ei ragflaenydd yn y swydd esgobol: "Y mae Narcissus yn eich cyfarch, yr hwn oedd yn esgob yma o fy mlaen i, a'r hwn sydd yn awr yn fy nghymorth yn y gweddiau, ac wedi cyrhaedd yn mlaen hyd y cant a deg oed, a'r hwn gyda myfi a'ch cynghora i fod o'r un meddwl." Dyma batriarch, oes yr hwn a bontiai o ddechreu y drydedd ganrif hyd ddechreu yr ail. Ganwyd ef oddeutu yr un amser ag y bu farw Ioan; a bu yn esgob yn eglwys Jerusalem, lle y treuliodd Ioan ganolddydd ei fywyd, llawn deugain mlynedd. Rhaid y gwyddai hanes prif ddygwyddiadau yr Eglwys ieuangc yn dda, a hanes ei llenyddiaeth. Y mae Clement, gwr ag oedd mewn cydymdeimlad byw â gwybodaeth yn mhob canghen o honi, a'r hwn oedd am flynyddau yn gyfrifol am yr addysg Gristionogol yn yr Ysgol Dduwinyddol yn Alexandria, wyneb yn wyneb â'r patriarch. A yw yn rhesymol tybied na holodd lawer arno? Bu farw yn ferthyr dros grefydd ei Geidwad; ai ni ymchwiliodd i gynseiliau yr hanes rhyfedd am dano? A esgeulusodd y fath gyfleusdra i ystorio ei feddwl â ffeithiau mawr dechreuad Cristion-

ogaeth? Anhawddach credu yn nifrawder Clement na chredu yn nilysrwydd y Bedwaredd Efengyl.

## VI.—DILYSRWYDD YR EFENGYL—PROFION ALLANOL (PARHAD).

Ni a adawn gyfandir Affrica, ac a chwiliwn beth sydd gan Asia i ddywedyd yn mhlaid y Bedwaredd Efengyl. Gwell i ni ddechreu mor agos ag y gallwn i'r wlad yn yr hon y gweithiwyd allan iachawdwriaeth y byd. Gan nad oes un tystiolaeth arbenig yn ein cyrhaedd o Balestina, trown ein golygon i Antioch yn Syria, lle y planwyd eglwys yn foreu, a'r hon am amser oedd yn ganolbwynt ymdrechion Cristionogaeth i ledaenu ei hun. Allan o'r ysbryd cenhadol yn ddiau y tarddodd yr ymgais gyntaf i gyfieithu yr Ysgrythyrau i wahanol dafod-ieithoedd y byd; ac i eglwysi Syria y perthyn yr anrhydedd o arwain y blaen. Cydolyga y beirniaid i'r Test. Newydd gael ei gyfieithu i'r Syriaeg yn yr ail ganrif, a chynwysa yr oll o lyfrau y Test. Newydd oddigerth 2 Ioan, 3 Ioan, 2 Petr, Judas, a'r Datguddiad, y rhai y pryd hwnw oedd heb dderbyn lle diamheuol yn y canon. Gan mai cangen-iaith o'r Hebraeg oedd y Syriaeg, angenrhaid oedd cyfieithu y Test. Newydd o'r Groeg i iaith frodorol y wlad. Adnabyddir y cyfieithiad fel y *Peshitto*, gair sydd yn golygu syml neu eglur, oblegid feallai ei fod yn foddion i wneuthur yr Ysgrythyr yn eglur i bobl annysgedig. Hyd y dydd heddyw parha i lanw yr un lle yn mhlith yr eglwysi Syriaidd ag a wna y "*Latin Vulgate*" yn mhlith yr eglwysi Pabaidd a'r Cyfieithiad Awdurdodedig yn ein teyrnas ein hunain. Tystiolaetha y cyfieithiad boreuol hwn i ddilysrwydd y Pedair Efengyl; nid oes un cyfieithiad boreuol nad yw y Bedwaredd Efengyl yn mhlith y llyfrau nad oes amheuaeth yn eu cylch. Ac nid yn unig hyny, ond yr oedd athrawon Cristionogol yn dechreu ysgrifenu esboniadau arnynt. Yn byw yn Antioch, tua'r flwyddyn 168, yr oedd esgob dysgedig o'r enw Theophilus, awdwr amryfal lyfrau, y rhai oedd ar gael yn nyddiau Eusebius. Yn anffodus nid oes o honynt ond un ar gadw yn awr—ei lythyr at bagan o'r enw Autolycus; yn yr hwn y dysga fod llyfrau y prophwydi a'r "*Efengylau*" wedi eu hysgrifenu trwy ddwyfol ysbrydoliaeth. Yn mhlith adnodau eraill dyfyna Ioan i. 1, am y Gair ag oedd erioed gyda Duw. Ac nid yn unig hyny, ond ysgrifenodd Esboniad ar y Pedair Efengyl, yr hyn a brawf eu bod wedi eu hir gydnabod fel safonau dysgeidiaeth iachus ar fywyd yr Arglwydd Iesu.

Cydoeswr a Theophilus oedd Tatian, yr hwn a flagurai yn 150—160, un o ddynion mwyaf dysgedig yr ail ganrif. Yr oedd yn gyfaill a dysgybl i Justin Ferthyr, a glynodd wrth yr athrawiaeth iachus tra y bu Justin fyw. Ond llithiwyd yntau gan Gnosticiaeth—athroniaeth ffashiynol yr oes, a'r hon a feddai yr un dylanwad ar feddyliau gwrteithiedig y ganrif hono ag a feddai yr athroniaeth Hegelaidd ar feddylwyr yr oes ddiweddaf, neu a fedd athroniaeth y Dadblygiad ar ddysgawdwyr ein hoes ni. Syrthiodd oddiwrth yr athrawiaeth bur, ond ni syrthiodd oddiwrth Gristionogaeth, canys dychwelodd o Rufain i Syria, ei wlad enedigol, i efengyleiddio ei genedl ei hun. Cyfeirid gan Eusebius ac eraill o'r Tadau at ryw lyfr o'i eiddo yn dwyn yr enw *Diatessaron*. Yr oedd yn amlwg fod Irenæus wedi gweled y llyfr; tybia rhai nad oedd Eusebius wedi gweled ond y Rhagymadrodd. Casglai y duwinyddion mai math o Gysondeb o'r Pedair Efengyl ydoedd.

Ond pa le yr oedd y llyfr? Ar ddifangcoll, fel cannoedd eraill, a hyny mor llwyr fel yr awgrymai y beirniaid anghrediniol mai lledrith oedd y cyfan. Rhydd awdwr y *Supernatural Religion* ddatganiad croew i'w barn: "Nid oes un awdurdod o gwbl dros ddywedyd mai Cysondeb y Pedair Efengyl oedd Efengyl Tatian." "Nid ymddenys fod neb wedi gweled *Diatessaron* Tatian, am y rheswm gwir dda na fu y fath waith erioed." "Y mae yn amlwg nad oes profion o gwbl i gysylltu Efengyl Tatian â'r rhai sydd yn ein canon ni."

Tystiolaethai henafiaeth, fodd bynag, fod y fath waith yn bod, a bod Ephraem, Syriad arall o enwogrwydd mawr, wedi ysgrifenu Esboniad arno. Ystyrid fod yr Esboniad a'r Cysondeb wedi diflanu yn anadferadwy. Ond yn dra annisgwyliadwy darganfyddwyd, mewn mynachlog Armenaidd yn ynys St. Lazzaro yn Venice, Esboniad Ephraem mewn cyfieithiad Armenaidd. Yn y flwyddyn 1876 cyhoeddodd Proffeswr Mösinger o Salzburg gyfieithiad Lladinaidd o'r cyfieithiad Armenaidd. Ar ol beirniadaeth lem cytunodd y dysgedigion mai Esboniad Ephraem ydoedd ar *Diatessaron* Tatian. Ond ar ol hyny, gwnaed darganfyddiad pwysicach fyth—deuwyd o hyd i'r *Diatessaron* ei hun. Bodolai mewn hên lawysgrif yn llyfrgell y Vatican, mewn cyfieithiad Arabaidd. Pan yr oedd uchel swyddog o'r eglwys Goptaidd, yn yr Aipht, ar ymweliad â Rhufain, dangoswyd iddo y lawysgrif Arabaidd. Ar ol edrych arni, atebodd yr adnabyddai ef aelod o'r eglwys Goptaidd ag oedd yn meddu copi cyffelyb. Erbyn heddyw y mae y copi Vaticanaidd a'r copi Coptaidd,—y ddau yn yr Arabaeg—wedi eu cyhoeddi, yn gystal a chyfieithiad Saesonaeg gan y Parch. Hamlyn Hill, o wasg y Meistri Clark o Edinburgh. A beth ydyw? Cysondeb y Pedair Efengyl, cyffelyb i'r gwaith Cymraeg a gyhoeddwyd yn Nolgellau amryw flynyddau yn ol. Pletha yr hanesion o'r naill Efengyl a'r llall yn un hanes. Dechreua gyda Luc i. 1—4; yna dwg i mewn Ioan i. 1—5, ac yn ngwrs ei waith dyfyna benodau cyfain yn olynol o'r Bedwaredd Efengyl. Ysgrifenai ef ei Gysondeb yn fuan ar ol 150; onid yw hyn yn brawf yr edrychid ar yr efengylau gyda chysegredigrwydd arbenig, fel cynyrchion dynion o ymddiried a safle yn yr Eglwys, ac nid fel dychymygion disail athronwyr Gnosticaidd? Parodd y darganfyddiad rhyfedd hwn i holl fyddin Tübingen symud y gwersyll yn ol, a dodi amseriad y Bedwaredd Efengyl yn haner cyntaf y ganrif; a gorfodwyd awdwr galluog ond ystyfnig y *Supernatural Religion* i gyfaddef, "Defnyddia Tatian yr un efengyl a'i athraw Justin Ferthyr." Golyga hyny, meddech, yr un efengyl ag sydd genym ni? Na choeliwn fawr. Yn ol y gwr hwn ac ysgol Tübingen, nid yr un efengylau oedd gan Justin a'i gydoeswyr ag sydd genym ni; diflanodd y rhai hyny tua 150 na ŵyr neb i ba le, a daeth eraill yn eu lle na ŵyr neb o ba le! Cawn weled yn y benod nesaf.

## VII.—DILYSRWYDD YR EFENGYL—PROFION ALLANOL (PARHAD).

Yn gyntaf oll, ni a drown i mewn at yr henadur Papias, yr hwn sydd yn Esgob yn Hierapolis (Col. iv. 13) yn Syria, a'r hwn a anwyd, fel y tybir, tua 70, ac a fu byw hyd tua 140. Cyfeirir ato gan Irenæus fel gwr oedranus. Adnabyddai yr Apostol Ioan, ac hefyd cydnabod i saith o'r Apostolion. Yr oedd dwy ferch i Phylip yr Apostol yn byw yn Hierapolis, ac yn aelodau o'i eglwys, a chlywodd ganddynt lawer o bethau rhyfedd ar dystiolaeth eu tad. Ysgrifenodd bum llyfr, dan yr enw,

*Egluriadau ar Oraclau yr Arglwydd*—math o esboniad poblogaidd ar y Pedair Efengyl. Y mae y gwaith hwn hefyd wedi myned ar goll, a'r hanes diweddaf am dano yw yn llyfrgell eglwys Gadeiriol Nismes yn y flwyddyn 1218. Mae yn bosibl ei fod yn gudd mewn rhyw hen lyfrgell, a mawr a fydd y gorfoledd pan ei dygir eto i oleu dydd. Dyfyna Eusebius o ragymadrodd y llyfr, yn yr hwn yr eglura yr awdwr yr egwyddorion yn ol y rhai yr esbonia yr "Oraclau." "Ni phryderaf," meddai, "osod i lawr ochr yn ochr â fy nehongliad fy hun, yr hyn oll a ddysgais yn ofalus ac wyf yn gofio yn dda oddiwrth yr henuriaid, gan sicrhau eu gwirionedd. . . . Ar unrhyw achlysur, pan y deuai rhywun ag oedd wedi bod yn ddilynydd i'r henuriaid, ymholwn yn nghylch geiriau yr henuriaid—*beth a ddywedid gan Andreas, neu Petr, neu Phylip, neu gan Thomas, neu Iago, neu gan Ioan neu Matthew, neu eraill o ddysgyblion yr Arglwydd,* a beth a ddywed Aristion ac Ioan yr henuriad, *dysgyblion yr Arglwydd.* Canys ni thybiaf fy mod mor ddyledus i lyfrau ag i'r hyn sydd yn dyfod oddiwrth lais byw ac arosol." Y mae dadl frwd a fwriadai Papias yn y dyfyniad hwn wahaniaethu rhwng Ioan yr Apostol ac Ioan yr Henuriad. Dadleua Farrar a Reynolds, gan y geilw yr Apostolion yn Henuriaid yn nghanol y frawddeg, mai Apostol a feddyliai hefyd wrth yr Henuriad yn ei diwedd; ac mai y rheswm dros y cyfnewidiad yn amser y ferf o'r gorphenol i'r presenol yw, fod Papias yn ysgrifenu pan oedd Aristion ac Ioan yr Apostol yn fyw. Ar y llaw arall, mỳn Eusebius, a dilynir ef gan holl haid yr ysgrifenwyr anghredíniol, eu bod yn ddau berson gwahanol. Dyna, yr ydym yn ddeall, yw syniad Harnack, a phriodola ef y Bedwaredd Efengyl i'r Henuriad Ioan (*Presbyter John*), ac nid i'r Apostol Ioan. Ni ŵyr henafiaeth ddim am yr "Henuriad" hwn, a thybiwn na chrybwyllir ei enw ond yn rhagymadrodd Papias; rhyfedd, serch hyny, yw y defnydd a wna Anghrediniaeth o hono,—derchefir ef ar unwaith i fod yn awdwr un o'r llyfrau dyfnaf a welodd y byd erioed, tra y troir yr Apostol Ioan yn ddiseremoni o'r neilldu. Ond a oes synwyr mewn gweithrediadau o'r fath? Gall fod llawer o ddysgeidiaeth, ond a oes synwyr? Adwaenem ni yn nyddiau ein hieuengctyd ddau wr crefyddol, a'r ddau yn dwyn yr enw Lewis Edwards. Dygwyd hwy i fynu yn yr un gymydogaeth yn yr un oes, dim ond deg neu bymtheg mlynedd o wahaniaeth oedran rhyngddynt. Yr oeddynt eill dau wedi eu magu yn yr un eglwys, ac eill dau wedi bod yn ysgolfeistriaid, ac eill dau yn gyfeillion cynhes un adeg o'u hoes. Ysgrifenodd un lyfr dan yr enw "Athrawiaeth yr Iawn"; darllenodd y llall y llyfr gydag awyddfryd. Ysgrifenodd un lyfr arall ar "Hanes Duwinyddiaeth"; ni ysgrifenodd y llall yr un. Yn mhen mil o flynyddoedd, wedi i lenyddiaeth gylchgronawl yr oes gael ei hysgubo ymaith, a dim ond y frawddeg fod "dau Lewis Edwards yn yr un oes, a'r ddau yn ysgolfeistriaid," ar gael, mor hawdd a fyddai ffurfio ymresymiad mai Lewis Edwards yr Henuriad, ac nid Lewis Edwards y Gweinidog, oedd awdwr "Athrawiaeth yr Iawn." Gellid ymresymu fel hyn: Lewis Edwards y Gweinidog a ysgrifenodd "Hanes yr Athrawiaeth," a dengys gydnabyddiaeth helaeth a duwinyddion y tair canrif cyntaf; Chrysostom, Athanasius, ac Awstin yw ei arwyr; ac y mae wedi ysgrifenu yr oll mewn dull cryf traethodol. Ond y mae "Athrawiaeth yr Iawn" wedi ei ysgrifenu mewn arddull ymddiddanol, athraw a dysgybl yn siarad a'u gilydd, awgrym gref mai yr hwn oedd ysgolfeistr, a dim ond ysgolfeistr,

oedd yr awdwr. Heblaw hyny, nid oes son am Chrysostom ac Athanasius ac Awstin yn y llyfr hwn; ond crybwyllir am ryw Maurice a Mansel ac Olshausen, pobl hollol wahanol. Gan hyny, Lewis Edwards yr Henuriad ydyw awdwr "Athrawiaeth yr Iawn." Nid anhebyg i hynyna yw ymresymiad anghredinwyr pan yn priodoli i Ioan yr Henuriad awduriaeth y Bedwaredd Efengyl, tra yn caniatau i Ioan yr Apostol fod yn awdwr Llyfr y Datguddiad "sydd mor anmhur"!

Gwrthddadleuir yr adrodda Papias yr hyn a glywodd am gyfansoddiad yr Efengyl gyntaf gan Matthew, ac am gyfansoddiad yr ail gan Marc, ond na sonia air am gyfansoddiad y bedwaredd gan Ioan. Hwyrach hyny. Ond yn gyntaf, rhan fach iawn o'i lyfr sydd genym; pe meddem y llyfr i gyd, caem o bosibl gyfeiriadau helaeth ato. Ac yn ail, pe na chaem, ni phrofasai hyny ond fod Papias yn ysgrifenu ei Ddehongliad cyn i Ioan gyhoeddi ei Efengyl, neu o leiaf cyn iddi gael amser i lefeinio meddwl yr Eglwys. Ond hysbysa Eusebius ni y "defnyddiai Papias dystiolaethau o Epistol cyntaf Ioan;" ac os priodola yr Epistol i Ioan, penderfyna hyny awduriaeth yr Efengyl. Gall pob beirniad weled y rhaid iddynt sefyll neu syrthio gyda'u gilydd. Ac os yw Eusebius yn ffyddlon i'w egwyddor o gyfansoddi, gall ei fod yn gadael allan bob cyfeiriad at yr Efengyl am nad oedd dadl o barth i'w dilysrwydd. Dyna ei egwyddor: dodi i mewn dystiolaethau parthed materion amheus, a gadael allan dystiolaethau yn nghylch materion sicr.

Y nesaf i'w enwi ydyw Ignatius, yr hwn a ferthyrwyd tua 116; ac felly yr oedd yn gydoeswr ag Ioan. Tra y priodolir amryw o lythyrau iddo, barna y dysgedigion nad oes ond un yn ddilys—ei lythyr at y Rhufeiniaid. Yn y llythyr hwn cawn y brawddegau canlynol: "Y mae o'm mewn ddwfr sydd yn byw ac yn llefaru, gan ddywedyd yn dufewnol wrthyf, Tyred at y Tad. Nid oes i mi hyfrydwch mewn bwyd a dderfydd nac yn mhleserau y fuchedd hon. Dymunaf fi fara Duw, y bara nefol, bara y bywyd, yr hwn yw cnawd Iesu Grist, Mab Duw . . . a dymunaf ddiod Duw, sef ei waed, yr hwn sydd gariad anllygredig a bywyd tragwyddol." Onid oes yn y geiriau yna adsain glir, ddigamsyniol o Ioan iv. 14 a vi. 32—35? Ac os ysgrifenwyd y llythyr hwn cyn 116, pa fodd y taera anghredinwyr na ysgrifenwyd yr Efengyl am flynyddau yn ddiweddarach?

Ar ei daith i Rufain, ychydig cyn ei ferthyrdod, galwodd Ignatius yn Smyrna, i weled ei gyfaill Polycarp. A phwy oedd Polycarp? Brodor o Asia Leiaf yn sicr, ac o Ephesus, wrth bob tebyg; a ganwyd ef tua'r flwyddyn 70. Felly cyd-oesodd ag Ioan yn Asia Leiaf am tua 30 o flynyddoedd, a llawer, os nid yr oll o honynt, yn yr un eglwysi. Gwyddom ar dystiolaeth Irenæus ei fod yn mhlith cydnabod a gwrandawyr yr Apostol Ioan. Penodwyd ef yn weddol ieuangc yn weinidog yr eglwys yn Smyrna, ac awgryma Irenæus fod gan Ioan ran yn ei sefydliad yno. Daeth i fod y Cristion mwyaf dylanwadol yn Asia Leiaf ar ol marwolaeth Ioan a merthyrdod Ignatius. Treuliodd ei oes faith o 86 o flynyddoedd yn nghymdeithas Ioan a chydnabod Ioan yn yr eglwysi. Cafodd felly bob mantais i wybod yr oll o barth i awduriaeth y Bedwaredd Efengyl, ai Ioan a'i hysgrifenodd ai nage. A faidd neb wadu na wyddai? Ac os gwyddai, ai rhesymol tybied ei fod yn cuddio ei wybodaeth oddiwrth ei wrandawyr? Y mae y dybiaeth yn hollol groes i dystiolaeth bendant Irenæus yn ei lythyr. Os gwyddai Polycarp,

gwyddai Irenæus hefyd: os na wyddai Polycarp, pa fodd y daeth Irenæus i gredu mor gryf yn awduriaeth yr Efengyl? Y mae gronyn o synwyr cyffredin yma yn tra ragori ar lawer o ysgolheigdod.

Ysgrifenodd Polycarp luaws o epistolau at y gwahanol eglwysi; eithr o honynt oll nid oes ond un ar gael—ei Epistol at y Philippiaid, yr hwn a geir yn yr iaith Roeg, yn yr hon ei hysgrifenwyd, ac hefyd mewn cyfieithiad Lladinaidd. Nid oes ynddo un dyfyniad o Efengyl Ioan, ond y mae o'i Epistol Cyntaf. Gan gyfeirio at y "brodyr gau," "y rhai mewn rhagrith a wisgant enw yr Arglwydd, ac a hudant ddynion gwageddus i gyfeiliornad," dywed, "Pwy bynag nid yw yn cyffesu ddyfod Iesu Grist yn y cnawd sydd anghrist; a phwy bynag ni chyffesa dystiolaeth y Groes sydd o'r diafol; a phwy bynag a ŵyrdroa oraclau yr Arglwydd i'w wyniau ei hun, ac a ddywed nad oes adgyfodiad na barn, sydd gyntaf-anedig Satan." Cyfeiriad amlwg at 1 Ioan iv. 3. Ond os oedd yr Epistol yn bod, yr oedd yr Efengyl yn bod: nis gellir eu gwahanu yn eu hawduriaeth. Ond gwrthddadleuir nad oes yn epistol Polycarp un dyfyniad o'r Efengyl. Gwir: ond yn gyntaf nis gellir dyfynu o bob llyfr mewn un llythyr. Onid oes pregethwyr bob Sabbath yn traddodi pregethau heb un cyfeiriad at Efengyl Ioan? Nid yw hyny yn profi eu hanwybodaeth o honi. Yn ail, gall fod gwirionedd yn nhybiaeth Dale nad oedd Polycarp mewn cydnawsedd â duwinyddiaeth Ioan. Ymddengys mai dyn bucheddol o syniadau ymarferol oedd Polycarp, os priodol ei farnu oddiwrth un llythyr; ac y mae yn bosibl ddigon nad oedd meddyliau cyfrin Ioan wedi lefeinio ei enaid. Ond nid yw hyny yn golygu gwrthwynebiad na gwadiad. Onid adnabuom ni weinidogion cyffelyb?

Y nesaf a'r olaf a enwn yw Justin Ferthyr fel eu cyfenwir genym ni, ond Justin yr Athronydd, fel eu cyfenwid gan yr henafiaid. Ganed ef yn Sichem yn Samaria, i'r hwn le yr oedd ei rieni, y rhai oeddynt yn parhau mewn paganiaeth, wedi ymneillduo i fyw. O'i febyd atdynid ei feddwl gan swynion athroniaeth, ac ymdaflodd yntau i efrydiaeth ddwys. Astudiodd o dan amryw o athrawon clodfawr—Stoic, Aristoteliad, a Phlatonydd. Mewn Platoniaeth cafodd gyfundrefn gydnaws ag anianawd naturiol ei feddwl, ac ymgollai mewn edmygedd addoliadol o'r Drychfeddyliau Tragwyddol. Un diwrnod pan yr oedd wedi ymneillduo i làn y Môr—y Môr Marw yn ol pob tebyg—i gael tawelwch i syllu ar y "weledigaeth ddwyfol"—cyfarfyddwyd ag ef gan wr oedranus, o ymddangosiad parchus. Dechreuasant ymddiddan; llefarent am athroniaeth a Christionogaeth; terfynasant eu dadl gyfeillgar trwy i'r hen wr ei gyfeirio at yr Ysgrythyrau Sanctaidd. Dilynodd Justin ei gyfarwyddyd, a phan oedd rywle tua y deugain oed aeth drosodd o baganiaeth i Gristionogaeth. O hyny allan, pwy a lafuriodd yn galetach dros y grefydd newydd? Rhoddodd ei einioes i lawr drosti tua'r flwyddyn 146. Areithiodd o'i phlaid yn Rhufain a dinasoedd eraill, ac ysgrifenodd lawer arni, gan gyfuno yr hyn oll oedd hawddgar a rhagorol mewn Platoniaeth â dysgeidiaeth Crist a'i Apostolion. Ei brif waith oedd, *Yn Erbyn yr Holl Heresiau*, ac y mae hyn yn gwasgu adref i'r meddwl zel y Cristionogion cyntaf dros yr "athrawiaeth iachus," a'r perygl oedd i Gristionogaeth yn ei mebyd gael ei lefeinio gan athroniaeth baganaidd. Y mae y llyfr hwn, fodd bynag, wedi diflanu fel eraill. Ond y mae ei *Ddadl â Trypho yr Iuddew* ar gael. Y mae hefyd ddau

lyfr o'i eiddo a elwir yn *Apologies,* yn dangos i'r paganiaid hawliau Cristionogaeth ar eu ffydd a'u parch, dechreuad y lenyddiaeth helaeth mwy helaeth na chyfoethog--o'r hyn a elwir yn *Apologetics,* gwyddor amddiffynol Cristionogaeth. Yn y Ddadl a'r ddwy *Apology,* cyfeiria tua 200 o weithiau at y Pedair Efengyl. Awgrymodd un awdwr mai doeth a fuasai dodi ei wahanol gyfeiriadau wrth eu gilydd yn weddol gyflawn; gweithredodd y Proffeswr Sanday ar yr awgrym, ac y mae y canlyniad yn synfawr. Ond yn yr ysgrifeniadau o'i eiddo sydd ar gael, ni ddyfyna ond un adnod o Efengyl Ioan, sef iii. 3: "Oddieithr geni dyn o'r newydd, ni ddichon efe weled teyrnas Dduw." Ac yn ei ddadl â Trypho, dyfyna 1 Ioan iii. 1: nid fel y mae yn y cyfieithiadau arferol, ond fel y mae yn y Cyf. Diw.: "Gelwir ni yn wir blant Duw, ac yr ydym." Yn y Cyf. Diw. darllener: "Fel yn gelwir yn blant i Dduw, ac felly yr ydym"; ond y mae y "*felly*" mewn llythyrenau Italaidd, i ddangos nad ydyw yn y gwreiddiol. Os gadewir ef allan gwelir ei bod fel ei dyfynid gan Justin. Yn gymaint ag i Justin gael ei ferthyru yn 148, y mae yn canlyn fod Efengyl Ioan ac Epistol cyntaf Ioan yn ei feddiant cyn 150.

Yr enw cyffredin a ddyry Justin ar y pedwar llyfr cyntaf o'r Test. Newydd yw "Cofiantau" *(Memoirs),* er y desgrifia hwy unwaith fel y "rhai a elwid yn Efengylau." Geilw hwy yn "Gofiantau gan yr Apostolion" 8 waith; "Cofiantau" 4 gwaith; "Cofiantau a wnaed gan yr Apostolion" un waith; "Cofiantau a wnaed gan yr Apostolion a'r rhai a'u dilynent," pan yn dyfynu Luc, yr hwn nid oedd Apostol; a "Chofiant Petr," pan yn dyfynu unwaith o efengyl Marc, yn unol â'r traddodiad cyffredinol mai adgofion Petr sydd ynddi, wedi eu dodi mewn ysgrifen gan Marc, ei nai.

Gellid tybied fod y profion hyn yn ddigonol i argyhoeddi yr anghrediniol. Eithr nid felly ddim—"ni chredant pe y cyfodai un oddiwrth y meirw." Gwrthddadleua awdwr y "*Supernatural Religion*" nad yw Justin yn enwi y pedwar awdwr. Y mae hynyna yn wirionedd, ond a yw yn wrthddadl sydd beth arall. Pe buasai gweithiau Justin ar gyfer yr eglwysi yn ein meddiant, gallasem yn rhesymol ddisgwyl iddo enwi Matthew, Marc, Luc, a Ioan, canys yr oeddynt yn enwau ag awdurdod yn perthyn iddynt yn y cylch Cristionogol. Ond y llyfrau o'i eiddo ag sydd ar gael yn awr, apêl yw dau o honynt at baganiaid nad oeddynt erioed wedi clywed enwau y pedwar efengylwr, a dadl yw y llall ag Iuddew anghrediniol, yr hwn, fodd bynag, a gyfaddefa ei fod wedi darllen y "Cofiantau." Pa les fuasai enwi y pedwar efengylwr wrth baganiaid? Ni chariai hyny fwy o ddylanwad na phe yr enwem ni Iago Trichrug ac Idrisyn mewn dadl ag ysgol Tübingen. Nid trwy apelio at bersonau, ond at wirioneddau, y gallasai Justin obeithio argyhoeddi y gwrthwynebwyr paganaidd, gan gysylltu y gwirioneddau hyny a hanes yr Arglwydd Iesu. Gwrthddadl arall o eiddo yr ysgolhaig uchod yw, mai cyfeiriadau at ffeithiau ac ymddiddanion cynwysedig yn yr Efengylau sydd yn ngweithiau Justin a'r rhan fwyaf o ysgrifenwyr boreuaf yr ail ganrif, ac nid dyfyniadau cywir a phendant; ac o ganlyniad eu bod yn debyg mai at ryw lyfrau eraill amgen na'r Pedair Efengyl sydd yn ein meddiant ni y cyfeirient, llyfrau sydd erbyn heddyw wedi myned yn gyfrgolledig. Perthyn i ni gyfaddef yn onest fod mwyafrif y cyfeiriadau at hanes yr Iesu yn rhai anuniongyrchol; dengys Sanday fod 10

dyfyniad yn gywir, 25 yn gwahaniaethu ychydig, a 32 yn gwahaniaethu llawer. Gwelir oddiwrth y dyfyniad o Ioan iii. 3, ei fod yn gwahaniaethu ychydig mewn geiriau ond dim mewn synwyr. Pa fodd i gyfrif yn rhesymol am y ffaith nodedig hon? Yn gyntaf, pan y dibyna awduron ar eu cof, anaml iawn y dyfynant, oddigerth mewn barddoniaeth, gyda hollol gywirdeb. Dywed Dr. Mair iddo ef ofyn, mewn cyfarfod o ddeg o weinidogion, ar iddynt ysgrifenu ar bapyr y Fendith Apostolaidd, ac o'r deg nid oedd dau o honynt yn cytuno. Gall unrhyw un wneuthur prawf yn nghylch ei adnabyddiaeth. Yn ail, yr oedd llyfrau yr oes hono yn anhylaw ryfeddol—nid llyfrau mohonynt yn ein ystyr ni, ond rholiau trymion o groen neu ryw ddefnydd arall, wedi eu hysgrifenu mewn prif lythyrenau heb atalnodau nag un ataliad arall. Mor anhawdd yw darlleniad cyflym o'r llinell ganlynol:

YNYDECHREADYROEDDYGAIR, &c.,

ac eto dyna y dull yr ysgrifenid yn yr oes hono. Mor anhawdd a fuasai agor rhol hir, cael allan y brawddegau angenrheidiol er mwyn gwneyd dyfyniad cywir llythyrenol, a hyny pryd nad oedd na phenodau nac adnodau na'r un *Concordance* wedi eu dyfeisio. Nid rhyfedd fod y Tadau Apostolaidd yn foddlon ar ddyfynu y synwyr, heb ofalu llawer am y brawddegiad llythyrenol. Dan yr amgylchiadau y syndod yw eu bod mor gywir. Gwrthddadl arall yw, fod Justin ac eraill yn amlwg yn dyfynu o gofiantau heblaw y Pedair Efengyl ag sydd yn adnabyddus i ni. Er enghraipht, gwna ddyfyniad o lyfr a elwir "Actau Pilat," yr hwn sydd eto ar gael. Tybiwn nas gellir gwadu y ffaith. Ond beth wedi'n? Oni sicrheir ni gan Luc fod llawer wedi ysgrifenu hanes yr Arglwydd Iesu; ac onid rhesymol credu fod llawer o'r cofiantau hyny ar gael yn niwedd y ganrif gyntaf a dechreu yr ail? Ac onid oedd llawer o wybodaeth wirioneddol i'w chael o'r llyfrau hyny? Nid yw y Pedair Efengyl sydd genym ni yn proffesu adrodd yr oll (Ioan xxi. 25). Os oedd eraill wedi ysgrifenu hanes Crist, pa brawf yw hyny nad ysgrifenodd Ioan hefyd? Damcaniaeth awdwr y *Supernatural Religion*, ar ol ei dihatru o'r ysgolheigdod a ddengys, yw: mai nid yr un efengylau oedd gan Justin a'i gydoeswyr ag sydd genym ni; diflanodd y rhai hyny fel tarth y boreu tua 150—160, collwyd hwy o'r holl eglwysi, y rhai a arferent gyfarfod ar y Sabbath o'r dref a'r wlad, yn ol tystiolaeth Justin yn ei *Apology* gyntaf, "mewn un lle, pryd y darllenid *Cofiantau yr Apostolion*, neu ysgrifeniadau y prophwydi, cyhyd ag y caniatâi yr amser." Yna dygwyd Pedair Efengyl arall i mewn, yn yr holl eglwysi o Babilon yn y Dwyrain hyd Lyons yn y Gorllewin, y rhai a ffugiwyd gan ryw ddyhirod dysgedig tua 160—170, a'r eglwysi a'r gweinidogion heb ddeall fod dim cyfnewidiad wedi cymeryd lle; a dyna yr efengylau sydd genym ni yn yr oes hon! Diolchwn i'r nefoedd nad yw synwyr cyffredin y byd ddim wedi ei ddiorseddu eto. Y mae dysgeidiaeth yn dda, ac y mae dull gwyddonol o efrydu yn bod; ond rhaid wrth lawer o synwyr cyffredin a hunanlywodraeth i'w harfer, "heb eu cam-arfer."

## VIII.—CYNWYS AC AMCAN YR EFENGYL.

Gosodir allan yr amcan mewn golwg yn nghyfansoddiad yr Efengyl yn pen. xx. 30, 31: "A llawer hefyd o arwyddion eraill a wnaeth yr Iesu yn ngwydd ei ddysgyblion, y rhai nid ydynt ysgrifenedig yn y

llyfr hwn. Eithr y pethau hyn a ysgrifenwyd, fel y credoch chwi mai yr Iesu yw y Crist, Mab Duw; a chan gredu y caffoch fywyd yn ei enw Ef." Gan hyny, gwelwn fod yr amcan yn driphlyg, a'r amcan triphlyg hwn sydd yn penderfynu y cynwys.

Un amcan oedd profi mai "Iesu yw y Crist." Pell ydym o edrych ar yr Efengyl fel "Ateb i'r Holl Heresiau." Ond ar yr un pryd nid oes un awdwr dynol yn medru hollol anwybyddu ei genedlaeth ei hun,—dàl ei waith o angenrheidrwydd gysylltiad agos â'i oes. Cyfaddefa y duwinyddion uniongred i gyd fod gwedd ddadleuol yn perthyn i ryw raddau i Epistol cyntaf Ioan, canys cyfeiria yn bendant at "Anghristiau lawer," a noda ddau o'r Anghristiau hyny—dwy ffurf arbenig ar gyfeiliornadau ei oes. Y mae y cyfeiliornad cyntaf a enwir yn 1 Ep. ii. 22: "Pwy yw y Celwyddog, ond yr hwn sydd yn gwadu nad Iesu yw y Crist?" ac yn wrthgyferbyniol i amcan cyntaf ysgrifeniad yr Efengyl, sef profi mai "Iesu yw y Crist." Y cyfeiliornad hwn oedd eiddo Cerinthus, Iuddew galluog a gyd-drigai âg Ioan yn Ephesus, a chanlynydd proffesedig i'r Arglwydd Iesu. Ond fel holl Iuddewon meddylgar y Gwasgariad yr ydoedd wedi yfed i mewn athroniaeth Gnosticaidd yr oes, yr hon oedd yn sylfaenedig ar y grediniaeth fod gwrth-darawiad hanfodol rhwng Duw a mater,—y naill yn ffynhonell daioni, a'r llall yn ffynhonell drygioni. Credai Cerinthus yn yr Iesu fel dyn da, diamheu ei fod wedi ymgolli mewn edmygedd o'i fywyd pur a'i weithredoedd nerthol; ond ni chredai yn ei undeb personol a Duw—buasai credu hyny yn groes i'w ddaliadau athronyddol. Pa fodd ynte i gyfrif am lendid ei fuchedd, tanbeidrwydd ei ddysgeidiaeth, a nerth goruwchnaturiol ei weithredoedd? Atebai Cerinthus i'r Logos—yr uwchaf o'r eoniaid neu yr is-dduwiau, a'r nesaf at Dduw ei hun—ddisgyn arno yn y Bedydd megis colomen; arhosodd arno ac ysbrydolodd Ef yn ystod ei weinidogaeth gyhoeddus; ond gadawodd Ef, gan ddychwelyd i'r nefoedd, cyn ei groeshoeliad. Felly nid yn unig gwahaniaethai, ond gwahânai, rhwng yr Iesu a'r Crist. Yr oeddynt yn ddau berson gwahanol, ac nid oedd yr undeb rhyngddynt ond byr a damweiniol. Ond yn mryd Ioan yr oedd y ddysgeidiaeth yna yn dinystrio hanfod Cristionogaeth gan na chydnabyddai Ymgnawdoliad nac Iawn. Ac un amcan yn nghyfansoddiad yr Efengyl oedd, nid yn gymaint gwrthbrofi y cyfeiliornad, ond profi y gwirionedd gwrthgyferbyniol. "Yn y dechreuad yr oedd y Logos; a'r Logos oedd gyda Duw; a'r Logos oedd Dduw. A'r Logos a wnaethpwyd yn Gnawd, ac ni a welsom ei Ogoniant Ef." Dyna y gosodiad dechreuol. Cysegrir gweddill yr Efengyl i'w brofi trwy osod o'n blaen ffeithiau diamheuol, y rhai nis gellir eu hegluro ond ar y dybiaeth mai "yr Iesu yw y Crist"—mai nid dau berson gwahanol yw yr Iesu a'r Logos, ond un person dwyfol-ddynol, a bod yr undeb rhyngddynt yn undeb personol; ac o ganlyniad nas gellir ei dori heb ddistrywio y personoliaeth ei hunan. Yr oedd dysgeidiaeth Cerinthus yn rhinweddol yn wadiad o Ddwyfoldeb Person Crist; ac felly yn wadiad o'r Ymgnawdoliad a'r Iawn, canys y mae y rhai sydd yn gwadu y cyntaf bob amser yn gwadu yr olaf hefyd *

* Beth oedd Gnosticiaeth? Y gwrthwyneb hollol i Agnosticiaeth yr oes hon. Gair Groeg yw *Gnosis*, yn golygu gwybodaeth; ac nid gwybodaeth ranol, arwynebol, ond gwybodaeth drylwyr, gwybedaeth o'r hyn sydd y tu cefn i'r ymddangosiadoi a'r materol, ac mewn canlyniad y tu hwnt i gyrhaedd y werin gyffredin. Tra y mae Agnosticiaeth y bedwaredd ganrif ar bymtheg yn anwybyddu yr ysbrydol a'r sylweddol, gan gyfyngu ei hun at y materol a'r ymddangosiadol, yr oedd Gnosticiaeth yn ymwrthod â'r olaf er mwyn

Ond dywed Ioan fod ganddo amcan pellach: "fel y credoch chwi" nid yn unig "mai yr Iesu yw y Crist," ond "mai yr Iesu yw y Crist, Mab Duw." Gwrthweithia y gwirionedd hwn y cyfeiliornad arall a nodir yn yr Epistol, iv. 3: "Pob ysbryd a'r nid yw yn cyffesu ddyfod Iesu Grist yn y cnawd, nid yw o Dduw; eithr hwn yw yr Anghrist, yr hwn y clywsoch ei fod yn dyfod, a'r awrhon y mae yn y byd eisoes." Dàl ei Ddyndod oedd Cerinthus a gwadu ei Dduwdod; ond yn y cyfeiliornad hwn amddiffynir ei Dduwdod a gwedir ei Ddyndod. Daeth y Logos i'r byd, nid yn sylwedd dyn, ond yn rhith dyn. Edrychai fel dyn. I bob ymddangosiad cafodd ei eni fel eraill, bwytâi ac yfai fel eraill, a chafodd ei groeshoelio fel y lladron ar ei ddehau ac ar ei aswy. Ond rhith oedd y cyfan er mwyn gwneyd argraphiadau daionus ar feddwl y byd. Dyna y cyfeiliornad a adnabyddir fel Docetiaeth.

Dwy wedd yw y ddau gyfeiliornad ar Gnosticiaeth, a thyfant o'r un gwreiddyn—syniad Gnosticiaeth am fater neu gnawd fel yn hanfodol ddrwg. Ymresymai Cerinthus fel hyn: Gan fod cnawd yn fater, a mater yn hanfodol ddrwg, nis gall fod Duw wedi dyfod i undeb personol â'r Iesu. Yr oedd yr Iesu yn wir ddyn; am hyny nis gallasai fod yn wir Dduw, canys y mae hyny yn anghyson â'n hathroniaeth am ddrwg hanfodol mater. Ymresymai y Docetiaid ar yr ochr arall: Gan fod mater yn hanfodol ddrwg nis gall fod yn wir i Dduw ddyfod i undeb personol ag ef trwy gymeryd cnawd. Ac eto bu rhywun rhyfedd yn myned i mewn ac allan yn Mhalestina, ac yn crogi yno ar Bren. Pwy

---

cydio gafael yn y blaenaf—y sylweddau ysbrydol y tu cefn i bob ymddangosiad materol. Beth oedd ei hachos gwreiddiol? Hen gwestiwn mawr y ddynoliaeth oedd yn gwasgu ei hunan ar feddwl y byd, Beth yw dechreu Pechod *(the origin of Evil)?* Nid oedd bosibl diangc oddiwrth y ddrychiolaeth yna. Safai dwy ffaith fawr o flaen y meddwl: Duw a'r Cread, Ysbryd a Mater, Goleuni a Thywyllwch, Da a Drwg. Beth yw eu perthynas a'u gilydd? Pa fodd y mae cyfrif am y Da anianyddol a moesol, ac am y Drwg anianyddol a moesol? Yn y ganrif gyntaf a'r ail pwysai y gofyniadau hyn gyda nerth ofnadwy ar y gydwybod ddynol. Yr oedd rhyw boen anaele, rhyw ddolur annesgrifadwy, yn nghalon y byd (Rhuf. ix. 22, 23), nes gorfodi pob dyn meddylgar i ofyn, Beth yw y rheswm? Pa fodd y mae egluro cyd-hanfodiad y Da a'r Drwg yn yr un greadigaeth? Rhoddid dau ateb i'r cwestiwn. Y cyntaf oedd ateb y Crefyddau Goruwchnaturiol, sef Iuddewiaeth a Christionogaeth, trwy roddi pwyslais ar Unoliaeth bodolaeth. Ar y cyntaf Un oedd yn bod—y Bod Tragwyddol, y Da anfeidrol. Yr Un hwnw a greodd yr oll, ac "Efe a welodd yr hyn oll a wnaethai, ac wele da iawn ydoedd." Daeth Drwg i fod, meddai Iuddewiaeth, ond ymgymerodd y Duw da ag ymladd yn ei erbyn. Do, chwanega Cristionogaeth, ac fe'i gorchfygodd.

Yr ail yw ateb Paganiaeth, yr hon a olrheinia yr holl ymrafael anianyddol a moesol sydd yn y byd i Ddeuoliaeth *(Dualism)* bodolaeth. Edrychodd Plato (yn y *Timæus*) y cwestiwn yn ei wyneb, ac ni allai wneyd dim ond syrthio yn ol ar *Dualism*, dau allu, dwy egwyddor wreiddiol—Duw a Mater yn ddiddechreu ar gyfer eu gilydd, ac yn dragwyddol elyniaethol i'w gilydd; ac felly y Da anianyddol a moesol yn tarddu yn dragwyddol o Dduw, a'r Drwg anianyddol a moesol yn tarddu yn dragwyddol o Fater. Ond ar y cyfan Duw oedd y cryfaf, ac felly dygodd Fater i ryw fath o drefn; eithr nid yw mater yn foddlon i'w ystâd dan law Duw, ac felly y mae mewn cyflwr o wrthryfel parhaus yn erbyn llywodraeth Duw arno. Arwyddion o wrthryfel Mater yw y cyffroadau disymwth, megis tymhestloedd gwynt a ffrwydriadau tân, yn y byd allanol, a gwyniau a chwantau y cnawd dynol. Pasiodd Platoniaeth i Stoiciaeth; a thra y gadawodd Plato y gyfundrefn mewn sefyllfa o egwyddorion cyffredinol, llafuriodd y Stoiciaid i lanw i fynu y manylion—aeth Drychfeddyliau (*Ideas*) y cyntaf yn Eoniaid (*Æons*) yn nwylaw y diweddaf. Dyna sefyllfa athroniaeth y Gorllewin yn nechreu y ganrif gyntaf. Os edrychwn drachefn i'r Dwyrain gwelwn *Dualism* mewn llawn ddadblygiad. Yn nghrefydd Persia y mae dau Dduw—Ormuzd ac Ahriman, Duw da a Duw drwg, Teyrnas y Goleuni a Theyrnas y Tywyllwch, y ddau yn gyd-dragwyddol ac anghymodlawn. Ond yma hefyd ystyrir y Duw da yn gryfach na'r Duw drwg—mỳn ymwybyddiaeth dyfnaf y ddynoliaeth gymeryd ochr Daioni, ond nid yw yn ddigon cryf i'w orthrechu.

ydoedd? Duw mewn rhith dyn. I'r llygaid yr oedd ganddo gorph materol, ond rhaid mai mewn ymddangosiad yn unig yr ydoedd felly, canys y mae credu yn ngwirioneddolrwydd ei gorph yn anghyson â'n hathroniaeth am ddrwg hanfodol mater. Gan i'r Epistol a'r Efengyl gael eu hysgrifenu oddeutu yr un amser, ac nad yw yr Epistol ond cymhwysiad ymarferol o wirioneddau yr Efengyl, hawdd genym gredu fod y ddau gyfeiliornad hwn yn bresenol yn meddwl Ioan, ac yn dylanwadu yn ddistaw ar y ffurf arbenig a roddodd i'r gwirioneddau. Gwrthwyneba Ioan y cyfeiliornadau hyn yn benderfynol—y ddwy ffurf yn mha rhai y gwisga yr ysbryd cyfeiliornus ei hun yn mhob oes. Ond pa fodd? Arweiniwyd ef, dan ddylanwad ysbrydoliaeth, i osod y gwirionedd i lawr ar ei waelod ei hun, ac i ochel yr arddull ddadleugar; oblegid nid oedd Gnosticiaeth ond ffurf arbenig a roddodd oes neu ddwy ar ysbryd cyfeiliorni—ai dull yr athroniaeth hono heibio. Traethu y gwirionedd yn gadarnhäol yw y ffordd oreu i ladd pob cyfeiliornad, nid cyfeiliornad un oes, ond cyfeiliornad pob oes.

Yr amcan arall yw cynyrchu ffydd yn y darllenwyr yn yr "Iesu fel Crist, Mab Duw." Yn unol â'r amcan hwn, o'r pentwr mawr o ddefnyddiau oedd ganddo, detholodd y ffeithiau a'r pregethau a ystyriai efe yn fwyaf cymhwys i argyhoeddi y darllenwyr o wirionedd ei ddysgeidiaeth am Berson yr Arglwydd Iesu. Pwngc mawr y tair Efengyl gyntaf yw Teyrnas Nefoedd—egluro natur, deddfau, a chynydd y Deyrnas: dyna oedd pwngc y weinidogaeth yn Galilea, yn yr hwn y teimlai y werin-bobl ddyddordeb dwfn. Ond ni fuasai y pregethau a'r gwyrthiau oedd yn egluro y Deyrnas yn ateb y dyben i egluro y Person; oherwydd paham, rhaid oedd wrth ddetholiad arall ac amgenach. Pa bregethau? Y pregethau yn y rhai y maentumiai ei

---

Yn Alexandria ac Asia Leiaf, cyfarfyddodd Platoniaeth Groeg a Zoroastriaeth Persia, ac fel effaith eu cyfarfyddiad daeth Stoiciaeth i fodolaeth. Ac yn y ganrif gyntaf cymysgir eto Iuddewiaeth, Cristionogaeth, a Stoiciaeth a'u gilydd: o'r gymysgfa yna y tarddodd y Gnosticiaeth y cyfeiria y Test. Newydd mor fynych ati. Duw da a Theyrnas Goleuni ar un llaw, Mater drwg a Theyrnas y Tywyllwch ar y llaw arall: y ddwy fyddin yn gwynebu eu gilydd mewn gelyniaeth ddidrangc. Ond natur y Da, y Goleu, yw gwasgaru ei hun. Felly daeth rhyw ddeilliadau (*emanations*) neu bwerau allan o'r Duw da, y cyntaf o ba rai oedd y Logos, llai na Duw ond yn ail iddo, ei gyntaf-anedig trwy yr hwn y gwnaeth Efe bob peth. O'r Logos drachefn deilliodd rhyw nerthoedd eraill, y rhai mewn Stoiciaeth a elwid yn Eoniaid, mewn Platoniaeth yn Ddrychfeddyliau, mewn Iuddewiaeth yn Angelion. O'r rhai hyn drachefn dylifodd eraill; a pho bellaf yr oeddynt oddiwrth y Duw Cyntaf, aent yn fwy annhebyg iddo, nes o'r diwedd i'r ddwy Deyrnas gyrhaedd cyffiniau eu gilydd, pryd y saethodd allan ryw egni creadigol o'r isaf o'r Eoniaid—y *demiurgos*—ac a roddodd ei argraph ar Fater, gan ei ddwyn o gyflwr o dryblith i gyflwr o drefn. O ganlyniad y ffordd i gyfrif am y rhyfel parhaus rhwng y Da anianyddol a'r Drwg anianyddol yn y byd allanol, a rhwng y Da moesol a'r Drwg moesol yn natur dyn, yw cyfarfyddiad y ddau allu tragwyddol,—Duw a Mater. Yn y gyfundrefn hon ni ddaeth Duw ei hun i gyffyrddiad uniongyrchol a Mater, y Da anfeidrol i gyffyrddiad personol a Drwg hanfodol—yr oedd cadwen o gyfryngwyr rhyngddynt, nifer mawr o eoniaid neu is-dduwiau. Felly nid oedd Duw yn gyfrifol am hanfodiad drwg—y drwg anianyddol sydd yn poeni y byd na'r drwg moesol sydd yn llygru dynion. Cadwai garictor Duw yn lân, trwy symud y cyfrifoldeb am Ddrwg oddiarno Ef a'i osod ar Fater anhydrin ag oedd mor dragwyddol ag Efe ei hun; a dygodd hyny *relief* annhraethadwy i gydwybod y ddynoliaeth.

Dyna amlinelliad byr o Gnosticiaeth, athroniaeth ffashiynol tair canrif, yr hon a ddygodd yn gaeth, nid yn unig bendefigaeth y byd naturiol, ond hefyd bendefigaeth y byd meddyliol. Yr oedd fel twymyn yn yr awyr—pawb yn ei chymeryd; ac nid oes dim tebyg iddi yn hanes y meddwl dynol, os nad yw athroniaeth *Evolution* yr oes bresenol, yr hon sydd yn lefeinio duwinyddion yr eglwys yn gystal a dysgedigion y byd. Nid oes un cyfundrefn o athroniaeth a adawodd ei hargraph yn ddyfnach ar hanes yr eglwys.

Anfoniad Dwyfol a'i Faboliaeth Ddwyfol, sef y pregethau a draddododd i arweinwyr crefyddol y genedl, y rhai a elwir yn yr Efengyl yn "Iuddewon." Onid oes addasrwydd cynhenid yn y ffaith ei fod yn gosod allan y gwirioneddau pwysig hyn—ei hawliau fel "y Crist, Mab Duw"—o flaen cynrychiolwyr swyddogol a dysgedig y genedl yn Jerusalem, yn hytrach nag o flaen y werinos yn Galilea? Nid oedd yn perthyn i amcan Ioan i egluro y Deyrnas, ond i egluro y Person; ac o ganlyniad cyfyngodd ei ddetholiad at y pregethau oedd gymhwysaf i ateb y dyben mewn golwg; a'r pregethau a draddododd i'r swyddogion crefyddol yn Jerusalem oedd y rhai hyny, ac nid y pregethau a lefarodd i bobl ddisyml Galilea. Yr un egwyddor a'i harweiniodd yn netholiad y gwyrthiau a gofnoda. Pa wyrthiau oedd y tebycaf i gario argyhoeddiad i'r meddwl mai "Iesu oedd y Messiah, Mab Duw"? Y rhai hyny ag oeddynt, naill ai yn eu natur eu hunain neu yn rhinwedd eu cysylltiadau, yn taflu goleu ar natur ei anfoniad fel Messiah neu urddas ei Berson fel Mab Duw. Iachäodd yr Iesu ddegau o bobl glaf; ond iachâd y dyn claf ar lan llyn Bethesda oedd y brif "arwydd." Nid am fod dim yn y wyrth ynddi ei hun yn wahanol i wyrthiau eraill cyffelyb; ond am iddi fod yn achlysur i'r Iesu draddodi y bregeth ryfeddol a groniclir yn y bumed benod, yn yr hon y profa mai "Efe yw y Crist, Mab Duw." Cofnoda Ioan saith o'r arwyddion hyn, y rhai a daflent oleuni arno yn ei Swydd neu yn ei Berson, ac ychwanegir yr wythfed yn yr atodiad yn mhenod xxi.

Ond yn ychwanegol at yr "arwyddion," dwg Ioan yn mlaen lu o dystiolaethau yn mhlaid Dwyfoldeb yr Arglwydd Iesu. Nid pwngc o amgyffrediad ydyw hwn, ond mater o dystiolaeth. Pe pwngc o amgyffrediad a fuasai, cyfyngid bywyd tragwyddol i'r bobl ddysgedig ac athrylithgar; ond gan mai mater o ffydd ydyw, a bod ffydd o angenrheidrwydd yn dibynu ar dystiolaeth ac nid ar ddealldwriaeth, y mae iachawdwriaeth o fewn cyrhaedd pawb. Yn v. 31—40 enwa yr Iesu y gwahanol dystion y rhai a dystiolaethant yn mhlaid ei Ddwyfol Faboliaeth. Y tystion ydynt: Ioan Fedyddiwr, Duw Dad, Efe ei hunan, y Gwyrthiau, a'r Ysgrythyrau. Yn nes yn mlaen enwa yr Ysbryd Glân. Hyn a gyfrif am yr apeliadau parhaus yn yr Efengyl hon at Ioan Fedyddiwr. Nid eistedd i lawr i ymresymu ei bwngc y mae Ioan, fel Paley yn eistedd i lawr i ffurfio cadwen o resymau i brofi fod Duw yn bod; ond fel dadleuydd mewn llys barn galwa yn mlaen gwmwl o dystion—tystion y gellir rhoddi ymddiried ynddynt, tystion sydd yn gymhwys i gynyrchu ffydd yn y gwrandawyr a'r darllenwyr. Oherwydd paham defnyddia y gair "tyst" neu "dystiolaeth" 50 o weithiau, a'r gair "credu" yn agos i gant o weithiau. Dechreua ei Efengyl gyda y gosodiad sydd i'w brofi: "Yn y dechreuad yr oedd y Gair, a'r Gair oedd gyda Duw, a Duw oedd y Gair. A'r Gair a wnaethpwyd yn gnawd." A brofodd Ioan ei osodiad? Do: dyga yn mlaen brawf ar ol prawf, tystiolaeth ar ol tystiolaeth, nes yn niwedd pen. xx. 28, 29, gorfodir Thomas yr anghredadyn i waeddi, "**Fy Arglwydd a'm Duw.**" Yna wedi adeiladu y tystiolaethau a'r profion ar eu gilydd nes iddynt yn nghyffes Thomas gyrhaedd lefel y *thesis* gwreiddiol yn yr adnod gyntaf o'r Efengyl, terfyna Ioan yn ddisymwth. Ni chwanega brawf arall—y mae y gosodiad wedi ei brofi!



# Yr Efengyl yn ol Ioan.

## PENOD I.

### Y RHAGLITH—ATHRAWIAETH Y GAIR. Adn. 1—18.

Y MAE yn amlwg fod Ioan yn ysgrifenu at ddynion ag oedd yn gyfarwydd i raddau â'r termau a ddefnyddiai a'r meddyliau a fynegai. Buasai llefaru am y Gair oedd yn y dechreuad gyda Duw i bobl anmharod yn hollol ddifudd. Bernir fod Ioan yn hen wr pan gyfansoddodd yr efengyl hon; gan hyny, yr oedd wedi treulio oes o fyfyrdod dwfn ar y gwirioneddau a draethir ganddo, ac wedi eu hegluro eilwaith a thrachefn i'r eglwysi yn Asia Leiaf. O ganlyniad, yr oedd nifer fawr o bobl wedi eu hegwyddori yn dda yn y gwirioneddau sylfaenol, ac felly yn gymhwys yn ysbrydol a meddyliol i dderbyn yr efengyl hon i fuddioldeb ac adeiladaeth. Y mae dull disyfyd Ioan o ddwyn i mewn ei athrawiaeth am y Gair yn profi nad oedd yn disgyn fel peth newydd a dyeithr ar feddyliau ei ddarllenwyr.

1. O ba le y cafodd Ioan yr athrawiaeth hon am y Gair? Barna lluaws mai dadblygiad ydyw o athrawiaeth yr H. D., a rhaid cyfaddef fod llawer o wirionedd yn y golygiad hwn. Yn mhenod gyntaf Genesis adroddir wyth o weithiau yr ymadrodd, "Duw a ddywedodd,"—arwydd mai trwy ryw Air yr oedd yr Hollalluog yn creu. Oddiyno yn mlaen trwy holl lyfrau yr H. D. sonir yn barhaus am ryw Un neu ryw Beth a elwir yn Air yr Arglwydd, yr hwn a ddeuai at y patriarchiaid a'r prophwydi, am Angel yr Arglwydd, Angel y Cyfamod, Angel ei Gynddrychioldeb, yr hwn yr oedd enw yr Arglwydd ynddo. Sonir hefyd am Ddoethineb, yr hon oedd er tragwyddoldeb gyda Duw, trwy yr hon y sylfaenwyd y ddaear, a llais yr hon oedd at feibion dynion. Anmhosibl darllen yr H. D. yn ystyriol heb dderbyn yr argyhoeddiad fod rhyw gyfrwng neu gyfryngwr—rhyw drydydd—rhwng Duw a dynion. Yn gyson a hyn, y mae yr Apocrypha yn dadblygu y syniad yn mhellach, a derbynia Gair yr Arglwydd sylw arbenig (Eccles. i. 1—20;

xxiv. 1—22; Doeth. vi. 22; ix. 18). Nid ydym yn derbyn yr Apocrypha fel casgliad o lyfrau ysbrydoledig; ond, oherwydd hyny, gwasanaetha yn well i ddangos sefyllfa duwinyddiaeth yn mhlith yr Iuddewon ar y pryd, a'r lle mawr a roddid ynddi i athrawiaeth y Gair. Dengys Plummer ac awduron eraill i'r athrawiaeth hon dderbyn dadblygiad pellach yn y Targumau, sef yr aralleiriadau Iuddewig yn yr iaith Aramaeg. Mae yn wir na ddechreuwyd ysgrifenu yr esboniadau hyn hyd yr ail neu y drydedd ganrif o'r cyfnod Cristionogol; ond cyfaddefir yn gyffredin nad ydynt ond trosglwyddiad i ysgrifen o egluriadau llefaredig y Rabbiniaid o amser y Maccabeaid. Yr hyn a dery y darllenydd gryfaf, bron o bob peth, yw y lle arbenig a gaiff y Memra, sef Gair yr Arglwydd, ynddynt. Yn lle darllen, "A hwy a glywsant lais yr Arglwydd Dduw," darllenir "A hwy a glywsant lais Gair yr Arglwydd Dduw;" ac yn lle "Duw a alwodd ar Adda," darllenir "A Gair yr Arglwydd Dduw a alwodd ar Adda," ac yn y blaen 150 o weithiau yn Mhum' Llyfr Moses yn unig.

Hon oedd y dduwinyddiaeth y dygwyd Ioan i fynu ynddi o'i febyd, a'r hon o angenrheidrwydd a adawodd argraph ddofn ar ei feddwl. Ond paham y rhoddai yr esbonwyr Iuddewig y fath arbenigrwydd ar Air yr Arglwydd? Er mwyn rhoddi mwy o arbenigrwydd, fel y tybient hwy, ar yr Arglwydd ei hun. Edrychent arno fel Duw goruwch pawb oll, yn Dduw bendigedig yn oesoesoedd; ac i synied yn briodol am ei fawredd, teimlent yn angenrheidiol i chwyddo y pellder rhyngddo a'r greadigaeth; yr oedd, yn eu barn hwy, yn rhy fawr i ddyfod i gysylltiad agos a'i waith; rhaid, gan hyny, wrth Air i lanw i fynu y gagendor. Yr oedd Ioan yn gynefin â'r athrawiaeth hon cyn dyfod o hono dan ddylanwad yr Arglwydd Iesu; a chrêd mwyafrif yr esbonwyr mai yma y gwelir yr hedyn a dyfodd yn meddwl Ioan i'r athrawiaeth ddofn, gyfoethog a osodir allan yn ei raglith.

2. Dysga eraill mai cyfaddasiad sydd yma at y Logos Cristionogol o athrawiaeth Philo am y Logos Groegaidd. Iuddew oedd Philo hefyd, a chydoeswr a Iesu Grist ac Ioan. Dywed amryw o'r Tadau Cristionogol ei fod yn gyfaill personol i'r Apostol Petr; a gwyddom ar ei dystiolaeth ef ei hun ei fod wedi bod ar ymweliad â Jerusalem. Magwyd ef yn Alexandria yn yr Aipht, dinas a sefydlwyd gan Alexander Fawr er mwyn dwyn i gymundeb a'u gilydd y Gorllewin a'r Dwyrain, Ewrob ac Asia. Oherwydd teimlad da yr Ymherawdwr at yr Iuddewon, neillduodd ran o'r ddinas newydd at eu gwasanaeth; a chan y trigent mewn tref lle yr oedd athroniaeth Groeg a chrefydd Israel yn cyfarfod, ac felly dan ddylanwad yr elfen ethnig a'r elfen Iuddewig, perthynai nodweddion neillduol i'w duwinyddiaeth. Parhäodd Philo yn Iuddew zelog trwy gydol ei oes; yr oedd wedi ei egwyddori yn dda yn nghrefydd yr H. D. Ond gan mai Groegwr ydoedd o ran tafod-

iaith, ac yn trigo yn Alexandria, ac felly mewn cymundeb beunyddiol a Groegwyr dysgedig, yr oedd hefyd wedi ei drwytho ag egwyddorion athroniaeth Groeg. Am hyny, gwnaeth hi yn amcan ei fywyd i gysoni athroniaeth y Groegiaid a duwinyddiaeth yr Hebreaid. Canfyddai gyffelybrwydd mawr rhwng Idea Plato, Logos y Stoiciaid, a Memra yr Hebreaid, ac yn ei fryd ef yr un gwirionedd a orweddai wrth wraidd y tri therm. Ysgrifenodd lawer yn ddwfn a galluog ar hyn; ond wedi y cyfan niwliog ac amwys yw ei ddysgeidiaeth, ac nid oes neb wedi llwyddo i roddi iddi ddeffiniad priodol. Yn ei gyfundrefn ef y mae y Logos yn gyfrwng neu gyfryngwr rhwng Duw a'r byd. Ond pa beth ydyw, ai person, ynte personoliad, ynte priodoledd? "Y mae yn gwestiwn," ebe Schaff, "sydd eto heb ei benderfynu a yw Logos Philo yn berson, neu bersonoliad, neu briodoledd. Tra y mae Gfrörer, Grossman, &c., yn dål y blaenaf, y mae Dorner yn ddiweddar wedi ymdrechu sefydlu yr olaf. I mi ymddengys Philo yn siglo rhwng y ddau olygiad, a'r tywyllwch hwn sydd yn cyfrif am wahaniaeth barn rhwng dysgedigion mor enwog." Geilw Philo y Logos yn Fab, yn Uniganedig, yn Ail-dduw, yn Is-dduw, yn Eiriolwr, yn Fywyd, yn Oleuni, yn Ddoethineb, yn Allu, ac yn Rhinwedd; ond pwy ydoedd, beth ydoedd, nis gall neb ateb, am o bosibl na allasai Philo ateb ei hunan. Nid oedd y gwirionedd ganddo fel ag i'w alluogi i roddi ffurf feddyliol bendant i'r drychfeddyliau a dramwyent drwyddo. Y mae Plummer wedi symio i fynu ddyfaliadau ysgrifenwyr ar y mater mor gywir ag y gellir mewn brawddeg, pan y dywed fod "y Gair yn Philo yn ddadansoddiadol, yn yr H. D. yn farddonol, ond yn efengyl Ioan yn hanesyddol."

Yn awr, a wyddai Ioan am ddysgeidiaeth Philo? Y mae yn anhawdd credu na wyddai. Yr oeddynt eill dau yn Iuddewon meddylgar, yn gydoeswyr a'u gilydd, ac yn trigo mewn dwy ddinas heb fod pellder mawr rhyngddynt, pan oedd llawer o dramwyaeth fasnachol a meddyliol yn ffynu. Yr oedd dysgeidiaeth Alexandria, haner duwinyddiaeth a haner athroniaeth, yn treiddio yn mhell ac yn lefeinio cymdeithas lle bynag y trigai Iuddewon. Ei lefain hi, i raddau, a gynyrchodd Gnosticiaeth, yn erbyn yr hon yr ymresyma Paul a Ioan yn eu hepistolau, er ei bod y pryd hwnw heb gyrhaedd ei llawn addfedrwydd; ac i ni y mae yn hollol anhygoel fod duwinydd mor ddwfn ag Ioan yn ddifraw o'r dadblygiadau yr oedd duwinyddiaeth ei genedl yn myned drwyddynt yn ei oes ac yn ei ymyl. Ni ellir profi fod Ioan wedi darllen llyfrau ei gydoeswr galluog; ond ei fod yn gyfarwydd a'i ddamcaniaethau, y rhai oeddynt yn dechreu lefeinio yr eglwysi ieuaingc yn Asia Leiaf flynyddoedd cyn ei farwolaeth, a ymddengys i ni yn ddiamheuol. Y mae cymeriad Ioan fel dyn a meddyliwr yn galw am i ni gredu hyn. Ai damwain hollol yw fod Ioan a Philo yn defnyddio yr un termau, megis

Logos, Uniganedig, Eiriolwr, Bywyd, Goleuni, &c.? Nid ydys yn haeru fod Ioan wedi benthycia yn uniongyrchol oddiwrth Philo, gan na ellir profi ei fod wedi ei ddarllen; ond yn hytrach iddo gymeryd maintais o'r cynhwrf meddyliol yn ei genedl a'i oes i roddi cyfeiriad priodol iddo, ac iddo gymeryd gafael yn y termau ag yr oedd dynion yn meddwl ac yn dadleu cymaint yn eu cylch, i'w llanw â gras a gwirionedd yr Efengyl. Nid anfri, ond rhagoriaeth, yw fod ysgrifenwyr yn defnyddio ffurfiau meddyliol eu hoes fel cyfryngau i drosglwyddo gwirionedd tragwyddol i'r byd.

3. Y casgliad, gan hyny, yr ydym wedi dyfod iddo yw, nid fod Ioan yn ddyledus i dduwinyddiaeth Palestina nag athroniaeth Alexandria am sylwedd ei athrawiaeth, ond iddo gymeryd mantais ar ffurfiau meddyliol a thermau duwinyddol ei oes i drosglwyddo i'r byd wirionedd newydd, nad oedd yn gynwysedig yn y naill na'r llall o'r cyfundrefnau uchod, er yn dàl perthynas agos a hwynt. Yn Memra Iuddewiaeth a Logos Athroniaeth, gwelodd Ioan gyfrwng priodol ac urddasol i osod allan gynhanfodiad tragwyddol yr Arglwydd Iesu. Tra yr oedd y term yn hen, eto llanwodd Ioan ef a gwirionedd newydd.

Yr oedd un peth yn gyffredin rhwng dysgeidiaeth yr H. D. fel ei hadgynyrchid yn nuwinyddiaeth y Rabbinaid yn Mhalestina, ac athroniaeth Groeg fel ei hadgynyrchid yn nysgeidiaeth Philo yn Alexandria, sef fod gagendor fawr wedi ei sefydlu rhwng Duw a dyn, rhwng y Creawdwr a'r cread, fel na allai y naill na'r llall ei chroesi. Yr oedd syniad yr Iuddewon am Dduw mor dderchafedig fel na allent goledd y drychfeddwl iddo yn ei Berson ei hun ddyfod i gymundeb uniongyrchol a dyn—nis gellid gweled Duw a byw; rhaid oedd wrth ryw Air i gyfryngu rhyngddynt. Yr oedd syniad y Groegiaid drachefn am fater fel gwreiddyn a ffynhonell drwg mor isel fel na allent oddef y dybiaeth i'r Bod pur, perffaith, ddyfod i gyffyrddiad personol ag ef,—cyffwrdd drwg hanfodol fuasai hyny. I'r naill a'r llall yr oedd y syniad o Ymgnawdoliad Duw mor anmhosibl a bod yn gabledd. Yn ol eu dychymyg hwy, rhaid oedd cael rhyw drydydd, llai na Duw a mwy na dyn, i bontio'r gwagle; ac yn athrawiaeth y Gnosticiaid, yr oedd y trydydd hwn wedi lluosogi yn fil a mwy o gyfryngwyr, at achau anorphen y rhai y cyfeiria Paul yn 1. Tim. i. 3.

Felly, tra yn caniatau dylanwad cyfreithlawn ei oes ar Ioan fel meddyliwr, eto y mae ei athrawiaeth yn ei Raglith yn hollol newydd a gwreiddiol, wedi ei dadblygu o'i gwreiddyn ei hun yn mywyd a dysgeidiaeth yr Arglwydd Iesu. "Y Gair, ag oedd Dduw, a wnaethpwyd yn gnawd;" "Duw a ymddangosodd yn y cnawd:" dyna wirionedd na cheir mohono yn nuwinyddiaeth yr Iuddew nag athroniaeth y Groegwr, nag yn y cyfuniad o'r ddwy yn nysgeidiaeth Alexandria; angenrhaid i wirioneddau nodweddiadol Cristionogaeth dyfu o'i gwreiddyn hi ei

hunan, ac nid eu dwyn i mewn o gylchoedd y tu 'allan iddi. Tyfodd athrawiaeth Ioan am y Logos o ddysgeidiaeth y Logos ymgnawdoledig am dano ei hun. Yn yr adnod gyntaf dysga Ioan gynhanfodiad y Gair; pa le y cafodd afael ar y gwirionedd yna? Yn vi. 62: "Beth gan hyny os gwelwch Fab y Dyn yn derchafu lle yr oedd Efe o'r blaen?" ac yn viii. 58: "Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, cyn bod Abraham yr wyf fi;" ac yn xvii. 5: "Ac yr awrhon, O Dad, gogonedda di fyfi gyda thi dy hun, a'r gogoniant oedd i mi gyda thi, cyn bod y byd." Drachefn, dysga Ioan yn adn. 8, mai Iesu Grist yw y gwir Oleuni oedd yn dyfod i'r byd; pa le y cafodd afael ar y gwirionedd yna? Yn viii. 12: "Goleuni y byd ydwyf fi." Yn adnodau 12 a 13 dysga Ioan yr angenrheidrwydd am adenedigaeth o Dduw; pa le y cafodd afael ar y gwirionedd yna? Yn iii. 1—17, lle yr hyfforddda yr Arglwydd Iesu Nicodemus yn y gwirionedd mawr sylfaenol hwn. Yn adnodau 14—18, geilw Ioan yr Iesu yn Uniganedig Fab—enw na cheir mohono yn yr H. D., nac yn y Newydd, oddieithr yn ysgrifeniadau yr Apostol hwn: pa le y cafodd afael ar enw mor newydd a derchafedig? Yn iii. 16: "Canys felly y carodd Duw y byd fel y rhoddodd Efe ei uniganedig Fab;" ac yn iii. 18: "Yr hwn nid yw yn credu a ddamniwyd eisoes, oherwydd na chredodd yn enw uniganedig Fab Duw."

Felly canfyddir, er mai y Rhaglith yw rhan gyntaf yr efengyl hon, mai ffurf ydyw ar feddyliau olaf Ioan. Wrth fyfyrio ar eiriau yr Arglwydd Iesu, a'u cydmaru ag ysgrythyrau yr H. D. ac â damcaniaethau athroniaeth ei oes, dan dywysiad Ysbryd y Gwirionedd, y deallodd yr athrawiaeth mai Iesu Grist, ar fynwes yr hwn y gorweddodd, oedd y Logos tragwyddol ag oedd gyda Duw cyn bod y byd. O'r hanesyddol y gallodd ef esgyn at yr athrawiaethol. "Megis y mae gan y Mab fywyd ynddo ei hun, felly Efe a roddes fod gan grefydd y Mab fywyd ynddi ei hun;" ac anghywir yw gosod allan athrawiaeth Ioan am y Tragwyddol Air yn rhy ddibynol ar dduwinyddiaeth yr H. D. nag ar athroniaeth Groeg—y mae i Gristionogaeth fywyd annibynol a phriodol iddi ei hun.



# Yr Efengyl yn ol Ioan.

## PENNOD I.

1 Yn y dechreuad yr oedd y Gair, a'r Gair oedd
2 gyd â Duw, a Duw oedd y Gair. Hwn
3 oedd yn y dechreuad gyd â Duw. Trwyddo
ef y gwnaethpwyd pob peth ; ac hebddo ef
ni wnaethpwyd dim a'r a wnaethpwyd.

### Y Gair yn ei Berthynas a Duw. Adn. 1, 2.

**ADN. 1. Yn y dechreuad.** (1) Tybia rhai mai dechreuad gweinidogaeth gyhoeddus yr Arglwydd Iesu a feddylir, a bod Ioan a'i lygad ar Marc i. 1.,—"Dechreuad Efengyl Iesu Grist." Aralleiriant fel y canlyn : "Yr oedd Iesu Grist yn bod yn nechreuad y cyfnod Cristionogol, yr oedd mewn cymdeithas a Duw yn ystod ei weinidogaeth, ac yr oedd yn y cymeriad o brophwyd neu bregethwr yn ddwyfol ei genadwri." Dyna yr esboniad Undodaidd. Ond os dyna yr holl feddwl, y mae yn amlwg fod Ioan yn defnyddio iaith rhy gref; ac, o ganlyniad, fod yr Undodiaid, wrth ymdrechu symud ymaith athrawiaeth y Drindod, yn gosod gormodiaith yn arddull yr efengylwr. (2). Origen a Cyril o Alexandria a olygant mai wrth y "Dechreuad" y dynodir Duw, ac mai yr ystyr yw, "Yn Nuw yr oedd y Gair, a'r Gair oedd gyda Duw, a Duw oedd y Gair," gan ddwyn Duw i mewn i'r frawddeg gyntaf yn gystal ag i'r ddwy ddiweddaf. Yn ol yr esboniad hwn, megis y gelwir Crist yn "Ddechreuad creadigaeth," felly y gelwir Duw Dad yma yn Ddechreuad *absolute*. Ond y mae yn groes i arfer yr Ysgrythyr i alw Duw Dad yn Ddechreuad. Gelwir Ef yn y Beibl yn Ffynhon Bywyd, ac mewn duwinyddiaeth yn Ffynhon a Gwreiddyn y Duwdod ; ond o brin y mae yn gydweddol â symlrwydd Ioan i'w alw wrth enw mor ddadansoddol a Dechreuad. (3). Dysga Westcott, Godet, a mwyafrif yr esbonwyr fod i'r ymadrodd hwn yr un ystyr ag sydd iddo yn Gen. i. 1,—"Yn y dechreuad y creodd Duw y nefoedd a'r ddaear." Y mae yn amlwg mai y meddwl yn Genesis yw dechreuad creadigaeth, y llinell derfyn rhwng amser a thragwyddoldeb. Eithr yn Genesis y mae y frawddeg a'i gwyneb tuag yn mlaen fel dengys y gair "creodd," tra yn Ioan y mae y frawddeg a'i gwyneb tuag yn ol fel y dengys y gair "oedd," ac felly golyga, cyn y dechreuad, yn nhragwyddoldeb, yr oedd y Gair. Yn erbyn yr eglurhâd hwn y mae tair gwrthddadl. Yn gyntaf, os yw "yn y dechreuad" yr un peth a "chyn y dechreuad," paham na fuasai Ioan yn dywedyd, Cyn y dech-

reuad yr oedd y Gair? Baasai mor hawdd iddo ddyweyd hynyna a dyweyd yr hyn a wnaeth, canys yr oedd yr ymadrodd yn barod i'w law —geilw Philo y Gair yn Ddechreuad, a Duw yn Gyn-ddechreuad. Yn ail, yn ol y golygiad hwn, rhaid i'r pwyslais fyned ar y ferf "oedd," gan mai dyna y gair sydd yn penderfynu tragwyddoldeb y Gair. Ond y mae yn hunan-eglur mai nid ar y ferf "oedd" y rhaid rhoddi y pwys yn y frawddeg gyntaf yn fwy na'r ddwy frawddeg ganlynol, ond ar y geiriau "yn y dechreuad," gan mai hwynthwy sydd yn cynwys y gwirionedd y dymunir ei ddysgu. Yn drydydd, yn ol yr eglurhâd hwn, casgliad oddiwrth ymresymiad yw y syniad am dragwyddoldeb y Gair, —casgliad angenrheidiol o bosibl, ond casgliad serch hyny; casgliad o eiddo y darllenwyr, ac nid gosodiad pendant o eiddo yr efengylwr. (4). Oherwydd paham, tueddir ni i goledd y syniad fod yr ymadrodd yn ngenau Ioan yn golygu tragwyddoldeb. Nid ymresymiad sydd yma, ond gosodiad. Nid gwirionedd rhesymeg yw tragwyddoldeb y Mab, ond gwirionedd datguddiad, a gosodir ef i lawr yn ddiamwys, heb gymaint a thaflu y cyfrifoldeb ar y darllenydd o dynu casgliad drosto ei hun. Y mae yn ddiamheu fod y benod gyntaf yn Genesis yn meddwl Ioan pan yn ysgrifenu penod gyntaf ei efengyl, —defnyddir yr un geiriau, megis goleuni, tywyllwch, bywyd; ond yn ddieithriad y mae iddynt feddwl dyfnach ac ehangach yn yr efengyl nag yn Genesis; paham, gan hyny, nad oes meddwl ehangach i'r gair "dechreuad" yn efengyl Ioan nag yn llyfr Genesis? O blaid yr eglurhâd hwn gellir dyfynu Meyer a Dr. Lewis Edwards. Felly cyfystyr yw yr ymadrodd "Yn y dechreuad" yn yr adnod hon â'r un ymadrodd yn Diar. viii., 22, 23., —"Yr Arglwydd a'm meddianodd i yn nechreuad ei ffordd, cyn ei weithredoedd erioed. Er tragwyddoldeb y'm heneiniwyd, er y dechreuad, cyn bod y ddaear."

**Yr oedd y Gair.** (1) Paham y defnyddia Ioan y term "Gair?" Paham na ddywedasai, "Yn y dechreuad yr oedd y Mab, a'r Mab oedd gyda Duw, a Duw oedd y Mab?" Etyb Westcott mai am fod Ioan yn dewis dechreu gyda y syniadau uchaf a mwyaf anmherthynasol (*absolute conceptions*). Ond teimlwn rywsut, er fod yr ateb yn wir, ei fod yn rhy ben-agored. Nid yw y term Mab yn tybied ond Tad yn unig; ond y mae y term Gair yn golygu llefarwr, gwrandawr, a'r meddwl a drosglwyddir o'r llefarwr i'r gwrandawr, ac felly egwyddor neu allu datguddiad yn Nuw, yr hyn sydd yn gwneyd pob datguddiad arall yn bosibl. Ond diau fod rheswm pellach a mwy ymarferol, sef fod y term Gair yn cysylltu yr Efengyl yn ei dechreu ag ystad feddyliol cymdeithas ar y pryd, gan ddwyn Cristionogaeth i berthynas fywiol ag Iuddewiaeth ar un llaw, ac a Phaganiaeth ar y llaw arall. (2). Beth a gynwysir yn y term Gair? Yn yr ysgrifeniadau Groegaidd y mae iddo ddwy wedd, y dufewnol a'r allanol. Yn ei wedd dufewnol, rheswm ydyw, rheswm tragwyddol yn Nuw; ond yn ei wedd allanol, mynegiant neu ddatganiad ydyw, a hyny nid mewn argraph neu ysgrifen, ond gan lais byw y llefarwr. Yn ysgrifeniadau Plato a'i ddysgyblion defnyddir ef fynychaf i ddynodi Rheswm yn Nuw, ac felly yn anmhersonol; ond bernir na ddefnyddir ef o gwbl yn yr ystyr hwn yn y Test. Newydd. Yn yr Efengyl nid gair marw mohono ar bapyr, ond Gair byw, datguddiad byw o Dduw byw personol, ac felly yn meddu personoliaeth ei hunan. Yn y dechreuad yr oedd y Gair; nid dyfod yn air a wnaeth yr ail Berson yn nechreuad

creadigaeth, ond yr oedd yn Air erioed—Gair ag oedd Duw yn ei lefaru erioed wrtho ei Hun—yn hanfodol Air; ac o ganlyniad yr oedd yn egwyddor neu allu datguddiad yn dragwyddol yn yr Hanfod Ddwyfol. Y mae ei gymhwysder i fod yn ddatguddydd Duw yn y greadigaeth a'r iachawdwriaeth yn sylfaenedig ar ei le a'i swydd fel Gair yn yr Hanfod o dragwyddoldeb. Y mae yr *Economic Trinity* yn sylfaenedig ar yr *Essential Trinity*,—trefn a natur eu gwaith yn y greadigaeth a'r iachawdwriaeth yn cael ei benderfynu gan drefn a natur eu gweithrediad yn yr Hanfod.

**A'r Gair oedd gyda Duw.** (1) Y mae Duw yma a'r fanod o'i flaen, i ddynodi person y Tad; gan hyny, dysga yr ymadrodd hwn fod y Gair mewn rhyw ystyr ddofn yn wahaniaethol oddiwrth y Tad. Ond dylid arfer gofal mawr yn ein dull o ymadroddi am y Drindod, rhag i'r Tri Pherson ymddangos yn Dri Duw. Ymadrodd ffugyrol ac anysgrythyrol yw Person, a lle y defnyddir ef yn y Beibl Cymraeg (Heb. i. 3) y gwreiddiol yw *hypostasis*, gair nad oes yn ein hiaith ni ei gyfystyr, a'r hwn sydd yn gorchuddio dirgelwch mawr. Ond er ei fod yn ddirgelwch, y mae yn wirionedd fod rhyw wahaniaethau tragwyddol yn y Ddwyfol Hanfod, y rhaid i ni gredu eu bod, er na allwn amgyffred ffurf eu bodolaeth. (2). Ond er fod gwahaniaeth, nid oes dim gwahaniad, canys y cyfieithiad llythyrenol yw, "Y Gair oedd *tuagat* Dduw," h.y., yr oedd dylifiad ei fywyd tuagat Dduw fel ei ganolbwynt. Yr oedd atdyniad Person y Gair tuagat Berson y Tad fel ei wraidd a'i ffynhonell. Nid y Tad oedd gyda'r Mab, ond y Mab oedd gyda'r Tad: dyna bob amser ffurf yr ymadroddion Ysgrythyrol. Felly y Tad yw gwraidd a ffynhonell y Duwdod: y Mab sydd yn dibynu ar y Tad, nid y Tad ar y Mab. O ganlyniad, y mae yn gyfreithlon, mewn ystyr ddadansoddol, i lefaru am israddoldeb y Mab i'r Tad; eithr nid yw hyn yn golygu fod Person y Mab yn llai na Pherson y Tad. Nid yw bod yn is yn golygu bod yn llai. Israddoldeb trefn angenrheidiol ydyw yn null y Personau Dwyfol o hanfodi, ond nid israddoldeb mewn personoliaeth na sefyllfa. Gall mabandod awgrymu y syniad o israddoldeb personol, ond nid yw maboliaeth o angenrheidrwydd yn golygu hyny. Ni fu y Gair erioed yn Faban yn yr Hanfod, ond bob amser yn Fab. Yr oedd y Gair gyda Duw erioed, yn Fab gogyfuwch a gogymaint a'i Dad; ac felly mewn cymundeb perffaith a didòr a'u gilydd. Am hyny, mŷn rhai gyfieithu, "Yr oedd y Gair gartref (*at home*) gyda Duw." Er nad yw hynyna yn gyfieithiad llythyrenol, y mae yn ddiddadl ei fod yn trosglwyddo yr iawn feddwl. Nid teimlad gwas yn mhresenoldeb ei feistr, nid teimlad yr is yn mhresenoldeb ei uwch, oedd teimlad y Gair yn ngwyddfod Duw, ond teimlad cartrefol Mab yn mhresenoldeb Tad caruaidd; teimlai gartref, heb ddim yswildod na chaethiwed. (Cyd. Diar. viii. 30).

**A Duw oedd y Gair.** Y Gair yw y *subject* yn mhob adran. "Yn y dechreuad yr oedd y Gair, a'r Gair oedd gyda Duw, a'r Gair oedd Dduw"; ond y mae priod-ddull y cyfieithiad Cymraeg, yn wahanol i'r Saesonaeg, yn gosod y meddwl allan yn gywir. Y mae y gair "Duw" yma heb y fanod i arwyddo mai Duw fel Duw, y Natur Ddwyfol, a feddylir, tra yn y frawddeg flaenorol y mae y fanod o flaen Duw i ddangos mai Person Dwyfol a feddylir, sef Person y Tad. Gan hyny, nid yn gymhwys yr un ystyr sydd i'r term Duw yn y ddwy frawddeg. Pe dywedid fod y Gair yn Dduw gyda y fanod, cynwysai wrthddywediad,

canys ni all Person y Mab fod yn Berson y Tad ; ond wrth ddyweyd ei fod yn Dduw heb y fanod, osgoir gwrthddywediad, oblegid y mae y Ddau Berson fel eu gilydd, ac mor angenrheidiol â'u gilydd, yn perthyn i'r Natur Ddwyfol. Ni chyfeirir at y Trydydd Person yma, ond caiff le helaeth yn mhenodau dilynol yr efengyl. Oherwydd paham, edrychir ar yr efengyl hon, a'r adnod gyntaf yn arbenig, fel y brif sylfaen Ysgrythyrol i athrawiaeth y Drindod. Ond dylid bod yn wyliadwrus i beidio dysgu fod Duw yn Un ac yn Dri yn yr un ystyr, ond ei fod yn Un mewn un ystyr ac yn Dri mewn ystyr arall. Y mae yr athrawiaeth uwchlaw rheswm, ein rheswm ni ; ond nid yw yn groes i reswm, -yn wir y mae rheswm yn ei ddadblygiad pellaf yn galw am dani fel angenrheidrwydd deallol. Y mae yn canlyn mai nid Duw mewn ystyr israddol oedd y Gair. Gelwir Ef yma, nid yn Ddwyfol (*Theios*), ond Duw (*Theos*); nid cyfranogwr o Ddwyfoldeb, ond cyfranogwr o Dduwdod. Nid yr un gair a ddefnyddir am Ddwyfoldeb y greadigaeth a Duwdod yr Arglwydd Iesu. "Canys ei anweledig bethau Ef er creadigaeth y byd, wrth eu hystyried yn y pethau a wnaed, a welir yn amlwg, sef ei dragwyddol allu Ef a'i Dduwdod" (Rhuf. i. 20). Y gair yn yr adnod yna yw Theiotes—dwyfoldeb, *divinity* yn y Cyf. Diw., argraph Duw ac nid Duw ei hun. Ond yn Col. ii. 9, y gair yw Theotes—Duwdod ei hun, ac nid dwyfoldeb : "Ynddo Ef y preswylia holl gyflawnder y Duwdod yn bersonol." Y mae darlun yn ddynol mor bell ag y mae argraph dyn arno ; ond y mae yr arlunydd yn ddynol mewn ystyr anrhraethol uwch, - fel cyfranogydd o'r natur ddynol. Felly dysga y Testament Newydd ddwyfoldeb y greadigaeth mor bell ag y mae ol y dwyfol Fysedd arni ; ond dysga, nid dwyfoldeb ond Duwdod yr Arglwydd Iesu—y mae yn gyfranogydd llawn o'r Natur Ddwyfol.

**ADN. 2. Hwn oedd yn y dechreuad gyda Duw.** Y mae "Hwn" yn bwysleisiol, fel y dengys ei le yn yr adnod. Hwn, sef yr un a ddesgrifiwyd yn yr adnod gyntaf ; Hwn, ac nid neb na dim arall, Hwn oedd yn y dechreuad gyda Duw. Yr oedd y Gnosticiaid, y rhai oeddynt yn graddol lefeinio yr eglwys â'i daliadau, yn dysgu lluosogrwydd o Eiriau neu Eoniaid (*æons*) cadwen faith o is-dduwiau rhwng y Creawdwr a'i greadigaeth ; ond Hwn, nid y rhai hyny, oedd yn y dechreuad gyda Duw. Felly, tra yn symio i fyny gynwys yr adnod gyntaf, y mae yr ail yn *advance*, gan ei bod, mewn modd anuniongyrchol, yn cyferbynu y gwir Air a gau Eiriau athroniaeth baganaidd, i ba rai y priodolid gallu creadigol gan yr athrawon Gnosticaidd. Os gwir hyn, ffurfia yr adnod hon ddolen gysylltiol rhwng adn. 1 ac adn. 3, rhwng y Gair tragwyddol a'i waith creadigol.

### PERTHYNAS Y GAIR A'R GREADIGAETH. ADN. 3–5.

Y mae dau ddarlleniad i'r drydedd a'r bedwaredd adnod. Darllena y Tadau, cyn amser Chrysostom, fel y canlyn : "Trwyddo Ef y gwnaethpwyd pobpeth ; ac hebddo Ef ni wnaethpwyd dim. A'r hyn a wnaethpwyd oedd yn fywyd ynddo Ef ; a'r bywyd oedd oleuni dynion." Y rheswm, debygid, am fabwysiad y darlleniad hwn oedd yr ymddangosiad o ail-adroddiad, "ni wnaethpwyd dim ar a wnaethpwyd," lle y mae "gwnaethpwyd" yn cael ei ysgrifenu ddwywaith, ac i'r olwg gyntaf yn ddiddefnydd. Oed o amser Chrysostom hyd yn awr y mae esbonwyr yn gwrthod y darlleniad henafol hwn am

ddau reswm: yn gyntaf, pe dyna y darlleniad, rhaid fuasai i'r ferf "oedd" fod yn "sydd,"—"a r hyn a wnaethpwyd sydd yn fywyd ynddo Ef"; yn ail, am fod yr iaith yn rhy gref i osod allan y berthynas rhwng gwrthddrychau creadigol a bywyd; nid oes un creadur yn fywyd,—y mae yn fyw, eithr nid yn fywyd. Derbyn bywyd, cyfranogi o fywyd, y mae pob creadur; nid oes neb ond y Creawdwr yn fywyd (1 Tim. iv. 16).

**ADN. 3. Trwyddo Ef.** Nid ganddo Ef, fel yn y Saesonaeg. Sonia athronwyr am bedwar achos: yr achos gwreiddiol, sef y ffynhonell o'r hon y tardda y drychfeddwl cyntaf; yr achos gweithredol, sef y person neu y gallu sydd yn troi y drychfeddwl yn sylwedd neu weithred gyfatebol; yr achos offerynol, sef yr offeryn trwy yr hwn y mae y person neu y gallu yn gweithredu; a'r achos terfynol, sef yr amcan neu y dyben sydd mewn golwg. Y mae achos arall, y materol, sef y mater neu y defnydd ar ba un y gweithredir, ond nid oes le i'r achos hwn mewn creadigaeth Feiblaidd, gan mai creadigaeth o ddim ydyw. Arfera duwinyddion, ar seiliau Ysgrythyrol cedyrn, edrych ar y Tad fel yr achos gwreiddiol, ar y Mab fel yr achos gweithredol, ar yr Ysbryd fel yr achos offerynol, yn y weithred o greu; ac ar ogoniant y Drindod mewn Undod fel yr achos terfynol. Ar yr un pryd, camsyniad fuasai tybied fod yr ysgrifenwyr Beiblaidd yn cadw y gwahaniaethau hyn mewn golwg bob amser, canys megis y mae undod yn gystal a gwahaniaeth yn yr Hanfod, felly hefyd y mae undod yn gystal a gwahaniaeth yn ei gweithrediad. Ond y mae yn amlwg mai y gwahaniaeth, ac nid yr undod, sydd yn cael ei ddysgu yn yr ymadrodd "trwyddo Ef." Y mae yr adnod gyntaf yn dysgu y gwahaniaeth a'r undod; ond y mae yr ail yn gadael allan yr undod, ac yn aros yn unig ar y gwahaniaeth, gan mai nid olrhain hanes y Tad, eithr hanes y Mab, sydd ganddo mewn golwg. "Hwn oedd yn y dechreuad gyda Duw,"—cyfeiriad pendant at y gwahaniaeth personol yn y Duwdod. Ac at weithrediad y person gwahaniaethol hwn y cyfeiria y drydedd adnod. Y drefn arferol yw: o'r Tad, trwy y Mab, a chan yr Ysbryd; nid yn wir heb eithriad, megis yn Rhuf. xi. 36, yr hyn a awgryma i ni ddyfnder dirgelwch y gweithrediad Dwyfol. Priodolir y gwaith a gymerodd le y tufewn i gylch yr Hanfod, arfaeth ac etholedigaeth, i'r Tad yn unig, byth i'r Mab neu yr Ysbryd; priodolir gwaith y Mab i'r Tad a'r Mab, byth i'r Ysbryd; ond priodolir gwaith yr Ysbryd i Dad, Mab, ac Ysbryd. Person y Mab a ymgnawdolodd, ac eto priodolir ymgnawdoliad i Dduw fel y cyfryw: "Duw a ymddangosodd yn y cnawd." Person y Mab a fu farw, ac eto priodolir marw i Dduw fel y cyfryw; "Eglwys Dduw, yr hon a bwrcasodd Efe a'i briod waed." Person y Ysbryd sydd yn trigo yn y credadyn, ac yn dwyn yn mlaen waith y sancteiddhâd; ac eto dywedir fod y Tad a'r Mab yn trigo ynddo: "ni a ddeuwn ato, ac a wnawn ein trigfa gydag ef." Ond tra y priodolir creadigaeth i'r Tri Pherson, eto y mae perthynas arbenigol rhwng y naill a'r llall o honynt a'r cyfanfyd. O'r Tad, trwy y Mab, gan yr Ysbryd. Arwyddoceir hyn yn y benod gyntaf o Genesis: "Duw a ddywedodd"—dyna greu trwy y Gair; "ac Ysbryd Duw oedd yn symud ar wyneb y dyfnder"—dyna greu gan yr Ysbryd. Ond wrth ysgrifenu fel hyn teimlwn fod y gwirionedd yn rhy ddwfn i ni ei blymio. Gallwn ddeall yr hyn a ddywed y Beibl; ond nis gallwn amgyffred, fel ag i egluro, ddull y gweithrediad dwyfol mwy na dull hanfodiad y Personau Dwyfol.

**Y daeth pob peth i fod.** "Pob peth" heb y fanod. Y mae "pob peth" gyda'r fanod yn golygu pob peth yn eu hunoliaeth fel un cyfundrefn—yr un yn y llawer (2 Cor. v. 18); ond "pob peth" heb y fanod eu hamrywiaeth y llawer yn yr un. Golygir holl amrywiaeth y greadigaeth, pob gwrthddrych, fach a mawr, sydd mewn bod. Y mae yn amlwg fod y gair "daeth i fod," "gwnaethpwyd," yn yr adnod hon mewn cyferbyniad i'r gair "oedd" yn y ddwy adnod flaenorol. Bod oedd y Gair erioed; ond dyfod i fod a wnaeth pob peth arall; nid oedd dechreu i fodolaeth y Gair, ond y mae dechreu i fodolaeth pawb eraill; ie, y mae dechreu pob bodolaeth arall yn dibynu ar fodolaeth ddiddechreu y Gair. Gan hyny, cyferbynir yma drefn amser a threfn tragwyddoldeb, a dangosir fod y Gair, yn ei gyn-hanfodiad, yn perthyn i drefn tragwyddoldeb. Felly nid rhan o'r greadigaeth yw y Gair, ond perthyn i ddosbarth o fodolaeth sydd yn wrth-gyferbyniol i bob peth crëedig.

**Ac hebddo Ef ni ddaeth dim i fod a'r sydd mewn bod.** Yr un ferf sydd yn nechreu a diwedd y frawddeg, ond nid yn yr un amser. Yn y dechreu y mae yn yr *aorist*, ac yn golygu y weithred o greu; yn y diwedd, yn yr amser perffaith, ac yn dangos canlyniadau y weithred o greu fel gwrthddrychau parhäol gorphenedig o flaen ein llygaid. Dull nacäol sydd yn y frawddeg hon o osod allan yr un gwirionedd ag a fynegir mewn dull cadarnhaol yn y frawddeg flaenorol, arddull o gyfansoddi ag sydd yn nodweddiadol o Ioan. Ac eto feallai fod ychydig wahaniaeth, gan fod y nacäol yma yn cau allan y posiblrwydd o eithriad. Y mae y gosodiad cadarnhaol yn dysgu gwirionedd cyffredinol; ond dywedir fod i'r gwirionedd cyffredinol ei eithriadau. Ond dyma wirionedd nad oes eithriad iddo,—chreodd Duw ddim trwy neb nac mewn un ffordd arall. Y mae yn bosibl fod llygad Ioan ar athrawiaeth a gredid yn ei oes gan baganiaid, ac yr oedd bron bawb o'i gydoeswyr yn bagan, iaid, sef fod y gwrthddrychau mân wedi eu creu gan dduwiau mân, neu-yn wir, wedi creu eu hunain. Yr oedd yr hyn a elwir yn ein dyddiau ni yn *spontaneous generation* yn grêd gyffredinol, mewn ffurf anelwig, yr amser hwnw, yn mhlith hyd yn nod dynion o ddysg. Nad oedd Ioan yn meddwl am dani yn ei ffurf wyddonol sydd sier; ond y mae yn anhawdd credu nad oedd ei lygad arni yn ei ffurf boblogaidd, pan yr ysgrifena mor gryf a manwl, "naddo, dim hyd yn nod un" (*oudè hen*).

A yw yr adnod hon yn dysgu mai trwy y Gair tragwyddol y daeth mater i fod, ai ynte mai trwyddo y dygwyd mater ag oedd eisoes mewn bod i drefn, ac y cymerodd ffurfiau organaidd? Dadleua Godet na ddysga Ioan yma greadigaeth ddechreuol mater, ond yn unig drefniad mater i'r ffurfiau sydd arno yn bresenol. Braidd na feddyliem fod ystyr gyfyng y termau a ddefnyddir yn ffafrio ei esboniad. Yn fanwl, o brin y gellid galw *hylē* athroniaeth yn *hen* gan Ioan; eithr pan yr edrychom ar y pwngc yn ei wedd Ysgrythyrol, tueddir ni i gredu fod yr efengylwr yma yn dysgu creadigaeth yn llawn ystyr y gair, dygiad mater i fod yn gystal ag i drefn. Syniad y byd paganaidd oedd fod mater o ran ei sylwedd yn ddigrëedig, ac felly yn dragwyddol, ac o ganlyniad yn elyn anghymodlawn i Dduw, yn rhwystr ar ei ffordd i gyrhaedd ei amcanion, rhwystr na fedrai ei symud na'i lwyr orthrechu chwaith. Gan hyny, yn holl gyfundraethau athronyddol a chrefyddol paganiaeth, edrychid ar fater yn hanfodol ddrwg. Ymddengys i ni yr amcanai Ioan ddysgu

4 Ynddo ef yr oedd bywyd; a'r bywyd oedd oleuni dynion.

---

eudeb yr athrawiaeth yna, trwy ddysgu mai creadur yw mater, yn dibynu ar allu ac ewyllys Duw am ei fodolaeth, ac felly nad yw yn wreiddiol ddrwg. Yr oedd hyn yn angenrheidiol er gosod i lawr athrawiaeth fawr yr Ymgnawdoliad yn adn. 14. Os yw mater yn hanfodol ddrwg, fel y dàliai y Gnosticiaid, ac athronwyr dwyrain a gorllewin, y mae yr athrawiaeth ddarfod i Dduw ymgnawdoli--dyfod i undeb personol a drwg hanfodol—yn anghredadwy. Barnwn, gan hyny, fod Ioan yma yn amcanu dysgu creadigaeth hollol pob peth--mater, ffurf, a bywyd.

**ADN. 4. Ynddo Ef yr oedd bywyd.** Y mae bywyd yn air mawr yn yr efengyl hon, ac yn cael ei ddefnyddio tua 30 o weithiau. Nis gellir darllen yr adnod hon a'r ganlynol heb i ni gael ein hadgofio o benodau cyntaf Genesis; ond amlwg yw fod ystyr helaethach i'r geiriau yn yr efengyl,—y mae yr *outlook* yn eangach, ac am hyny mae y meddyliau yn ddyfnach. Priodolir tri ystyr i'r gair "bywyd": (1) Y bywyd anianyddol sydd yn bywiocau mater—yr elfen fywydol yn mhob peth; (2) bywyd meddyliol a moesol sydd yn nodweddu bodau rhesymol, Duw, angel, a dyn; (3) bywyd tragwyddol, "yr hwn oedd gyda y Tad ac a eglurhawyd i ni" trwy y Gair. Ond rhaid fod un nodwedd gyffredinol yn perthyn i'r tri bywyd hyn, onite ni fuasai yr un gair yn gymhwysiadol atynt. Beth yw yr elfen gyffredinol hon? Yr ateb yw, Mudiad *(movement)*; y mae pob peth sydd a bywyd ynddo yn symud--y mae *movement* yn y planhigyn, yr anifail, y dyn, yr angel, a Duw. A phan y dywedir mai yn y Gair yr oedd bywyd, dysgir mai Efe oedd achos dechreuol pob *movement* yn y greadigaeth, ffynhonell yr egni y sonia gwyddoniaeth am dano. *Trwyddo* Ef y daeth mater y greadigaeth i fod, ond *ynddo* Ef y mae ei bywyd,--y mae yma esgyneb o'r "trwyddo" i'r "ynddo." Trwy hyn derchafa Ioan ein syniad am fywyd. Nid rhywbeth wedi ei greu o ddim ydyw fel mater, ond rhywbeth sydd wedi dylifo o Dduw,—y mae rhyw berthynas rhwng pob bywyd, er nad i'r un graddau, â'r bywyd sydd yn y Tragwyddol Air. Oherwydd paham, perthyn rhyw gysegredigrwydd i fywyd, hyd yn nod y bywyd iselaf. Gall dyn efelychu Duw mewn lluniau a lliwiau, ac hyd yn nod yn ngalluoedd natur; ond nis gall gychwyn ei efelychu mewn bywyd. Medr roddi defnyddiau y planhigyn neu yr aderyn wrth eu gilydd yn y ffordd fwyaf celfydd ac yn y cymesuredd priodol; ond nis gall roddi bywyd ynddynt. Y mae gwyddoniaeth yr oes hon mor bell o fedru cynyrchu bywyd a gwyddoniaeth y cynfyd; nid yn y defnyddiau na'r deddfau y trigai bywyd, ond yn y Tragwyddol Air. "Ynddo Ef yr oedd bywyd," ac nid oes ffynhonell arall iddo. Onid yw hyn yn awgrymu fod pob bywyd yn deillio o'r Achos Mawr Tragwyddol? Y mae deddfau bywyd yn dyfod yn fwy adnabyddus bob blwyddyn; ond y mae efe ei hun yn gymaint o ddirgelwch ag erioed--y mae ei darddiad y tu allan i gylch y cread, ac oblegid hyny y tu allan i gylch gwyddoniaeth. Perthyn bywyd yn nes i Dduw na mater na'i deddfau,—rhyw rinwedd cyfrin yn dylifo o Dduw ydyw, fel pa bryd bynag yr ymddengys bywyd newydd yn y cread gall Duw ddywedyd, "Pwy a gyffyrddodd â mi? canys rhinwedd a aeth allan o honof."

**A'r Bywyd oedd oleuni dynion.** Yr oedd y bywyd yn ol ei raddau yn oleuni yn yr anifeiliaid a'r adar,—goleuni greddf i'w galluogi i ateb dyben eu bodolaeth; ond nid oedd y bywyd ynddynt hwy yn meddu ar hunan-ymwybyddiaeth, canys peiriannol yn hytrach na meddyliol yw greddf. Mewn dynion y mae y bywyd yn dyfod yn hunan-ymwybodol; am hyny mewn dynion y mae y bywyd yn oleuni yn ngwir ystyr y gair. Felly y mae bywyd o flaen goleuni, bywyd yn cael ei drawsnewid yw goleuni. Y mae yr un gallu mewn natur yn cymeryd gwahanol ffurfiau: dyna yr hyn a olygir wrth *transmutation of forces*. Cyffelyb ydyw yma. Megis y mae y trydan sydd yn wasgaredig yn yr awyr, yn troi dan amgylchiadau neillduol yn fflam, felly mae y bywyd ag oedd yn y Gair, yn ei drosglwyddiad i'r ymenydd dynol, yn cyneu yn oleuni—goleuni rheswm a chydwybod. Ond beth yw goleuni rheswm a chydwybod? Wrth oleuni rheswm y meddylir egwyddorion tragwyddol mesuroniaeth, y rhai nid yw yn ngallu y meddwl i dybied y gallant fod yn wahanol, h.y., y maent yn wirioneddau angenrheidiol, ac felly fel canwyllau yn llosgi y tu fewn i feddwl pob dyn. Y mae y gwirioneddau sydd yn oblygedig yn y meddwl wedi eu dadblygu mewn *arithmetic*, *algebra*, a *geometry*. Y mae yr un gwirioneddau erioed yn y Meddwl Dwyfol, ac wedi eu datguddio yn y greadigaeth, h.y., y mae y cyfanfyd wedi ei ddodi wrth eu gilydd yn ol gwirioneddau mesuroniaeth. A phan y cyferfydd yr egwyddorion mesuronol sydd yn y meddwl dynol â'r un egwyddorion mesuronol yn y Meddwl Dwyfol, fel eu hamlygir yn y greadigaeth, y maent yn cyneu yn oleuni, a dyna yw gwyddoniaeth. Am fod yr un egwyddorion mesuronol yn mhob meddwl, er nad wedi eu dwyn allan i'r un eglurder, y mae gwirioneddau *arithmetic, algebra*, a *geometry* yn wir yn mhob oes, ac yn mhob gwlad; ac felly yn sylfaen cymundeb rhwng dynion a'u gilydd—yr un goleuni sydd yn llewyrchu yn mhob meddwl. Ac am fod yr un gwirioneddau mesuronol yn preswylio yn y meddwl dynol a'r Meddwl Dwyfol y maent yn sylfaen cymundeb rhwng dynion a Duw—nid yw gwyddonwyr, fel y dywed Kepler, ond meddwl meddyliau Duw ar ei ol. Drachefn, wrth oleuni cydwybod y golygir egwyddorion tragwyddol moesoldeb sydd yn wythienau cryfion, disglaer, yn treiddio trwy feddwl pob dyn. Nid nyni a'u gwnaeth, onite buasent yn eiddo personol i ni, a medrem eu plygu i ateb ein hamcanion ein hunain; ond tystia ein hymwybyddiaeth mai dyfod i ni a wnaethant, a'u bod yn gryfach na ni; yn lle ein bod ni yn eu plygu hwy, hwynthwy raid ein plygu ni. Nid nyni a'u pia hwy, ond hwynthwy a'n pia ni. Ac am fod yr egwyddorion tragwyddol hyn yn treiddio trwy bob meddwl yn ei wneuthuriad cyntaf, y maent yn gyfryngau cymundeb rhwng pob dyn a'i gyd-ddynion. Heb hyn ni fuasem yn medru amgyffred ein gilydd. Ac oblegid fod yr egwyddorion tragwyddol hyn yn meddwl dyn yn egwyddorion tragwyddol hefyd yn meddwl Duw, y mae dyn yn medru deall Duw a chymdeithasu ag Ef. Yr egwyddorion mesuronol sydd yn gyffredin rhwng dyn a Duw yw sylfaen gwyddoniaeth; a'r egwyddorion moesol sydd yn gyffredin rhwng dyn a Duw sydd yn gwneyd iachawdwriaeth yn bosibl—y mae yr un gwirioneddau ag sydd yn oleuni yn Nuw yn llewyrchu hefyd mewn dyn. Y mae hyn yn wir am ddynion yn mhob oes; ond bernir, oddiwrth amser y ferf "oedd," fod cyfeiriad y geiriau yn benaf at gyfnod neillduol yn y gorphenol, sef at ddyn yn sefyllfa ei ddiniweidrwydd. Y pryd

5 A'r goleuni sydd yn llewyrchu yn y tywyllwch; a'r tywyll-

---

hwnw yr oedd bywyd yn llosgi yn oleuni disglaer, gwŷn, yn y deall a'r gydwybod, ac nid oedd ynddo ddim tywyllwch. Os yw yr esboniad hwn yn gywir, fel y credwn gyda Chalfin ei fod, y mae golygiad Hengstenberg mai iachawdwriaeth, a syniad Luthardt mai sancteidd-rwydd, a feddylir wrth y goleuni yn syrthio i'r llawr. Goleuni dynion yn eu creadigaeth sydd yma, ac nid eu goleuni yn ngafael iachawdwriaeth.

**ADN. 5. A'r goleuni sydd yn llewyrchu.** Mỳn Godet, a llu o esbonwyr eraill sydd yn cytuno ag ef yn nosraniad y Rhaglith, mai llewyrch yr Ymgnawdoliad a olygir; ond i'r rhai sydd yn mabwysiadu dosraniad yr esboniad hwn, y mae ei olygiad, tra yn wirionedd dan yr Oruchwyliaeth Newydd yn y gwledydd y mae yr Efengyl wedi treiddio iddynt, yn dra anghymwysiadol yn y cyfnod y credwn ni y cyfeirir ato yma—cyfnod dechreuol y ddynoliaeth. Yn adn. 4, nid oes ond goleuni; yn adn. 5 y mae tywyllwch yn gystal a goleuni. Gan hyny, rhaid fod y Cwymp wedi cymeryd lle cydrhyngddynt. Ni enwir y Cwymp yn bendant, ond y mae y syniad o hono yn gorwedd dan yr holl Efengyl,—pechod dyn a wnaeth brynedigaeth yn angenrheidiol. Nid y Gair a ddywedir sydd yn llewyrchu, ond y goleuni, ag oedd yn yr adnod flaenorol yn oleuni y bywyd; nid y goleuni ar wahân i'r Gair, ond y goleuni sydd yn effaith y bywyd ag oedd yn y Gair. "Y goleuni *sydd* yn llewyrchu;" nid yr oedd, ond y mae,—y mae ei lewyrchiad fel goleuni natur, yn y rheswm a'r gydwybod y tu fewn, ac yn y cread y tu faes, yn yr amser presenol yn mhob oes a gwlad; ond nis gellir dyweyd hynyna am oleuni yr Ymgnawdoliad. Estyn Westcott yr adnod nes ei gwneyd i orchuddio holl gyfnodau amser o'r greadigaeth gyntaf hyd orpheniad pob peth, gan fod y gwirionedd a gynwys yn gymhwysiadol at bob oes fel eu gilydd.

**Yn y tywyllwch.** Nid tywyllwch, ond *y* tywyllwch. Pa dywyllwch? Yn mhenod gyntaf Genesis, ystyr anianyddol sydd i'r gair; ond yn Ioan ystyr foesol. Tywyllwch moesol, un o ganlyniadau pechod. O ba le y daeth y tywyllwch? Eglur yw na ddaeth o'r un man â'r goleuni. Daeth y goleuni o'r Tragwyddol Air; daeth y tywyllwch o'r dyn ei hun. Gan hyny, y mae yn y ddynoliaeth yn awr oleuni a thywyllwch. Gelwir y tywyllwch gan dduwinyddion yn bechod gwreiddiol, yr hwn a gryfheir gan bechod gweithredol. Ond dyfnach na'r pechod gwreiddiol yw y goleuni gwreiddiol,—y mae y goleuni sydd yn yr enaid yn flaenorol i, ac yn ddyfnach na'r, tywyllwch. Hyn sydd yn gwneyd achubiaeth y ddynoliaeth yn bosibl. Nid yw athrawiaeth y goleuni gwreiddiol yn groes i athrawiaeth y pechod gwreiddiol; y mae y ddwy athrawiaeth yn wir, ac yn cael eu sylweddoli yn mhrofiad pob dyn. Yn Eden athrawiaeth y goleuni gwreiddiol yn unig oedd wir—yr oedd dyn yn oleu trwyddo. Ond trwy bechod aeth dyn yn llygredig; ni ddiangodd yr un gyneddf heb dderbyn y llwgr; ond camsyniad yw tybied na allasai y llygredigaeth fod yn waeth,—y mae yn waeth yn uffern nag yn y fuchedd hon. Felly wrth "lwgr hollol" (*total depravity*) y ddynoliaeth y meddylir ei bod yn ei chyfan wedi gŵyro oddiwrth Dduw, eithr nid yn gymaint ag oedd ddichonadwy; fod dyn yn yr oll ag ydyw, wedi ymadael oddiwrth gyfiawnder a sancteiddrwydd, eithr nid mor bell ag oedd bosibl. Y mae y tywyllwch yn teyrnasu yn y galon, ond ni lwyr

wch nid oedd yn ei amgyffred.

---

ddiffoddodd y goleuni. Y mae syniadau am y Da, y Gwir, a'r Prydferth yn aros,—yn aneglur feallai, ond y maent yn bod serch hyny. Oni bai fod genym syniad am y Da nis gallai fod genym ddrychfeddwl am y Drwg; oni bai fod y Safon yn y golwg ni fedrem gyhoeddi fod neb yn syrthio yn fyr o honi.

**A'r tywyllwch nid oedd yn ei amgyffred.** Rhoddir i'r gair a gyfieithir "amgyffred" yn y fan hon ddau ystyr, sef cymeryd gafael er mwyn cofleidio a chymeryd gafael er mwyn rhwystro. (1) Un ystyr yw —cofleidio, cymeryd i mewn. Yn ol yr ystyr hwn, y meddwl yw nad oedd dynion yn amgyffred y goleuni oedd yn llewyrchu arnynt ac ynddynt, yn deall ei gysylltiadau, ac yn cymeryd eu harwain ganddo i oleuni mwy. Gwrthodent ei feithrin, am y "carent y tywyllwch yn fwy na'r goleuni." Y mae lluaws mawr o'r prif esbonwyr, megis Godet, yn mabwysiadu y golygiad hwn, gan mai anghrediniaeth, yn ol eu barn hwy, yw mater yr adran. (2) Yr ystyr arall yw rhwystro, gorchfygu, gorthrechu. Er dued y tywyllwch nid oedd yn abl i orchfygu y goleuni, ei ddiffodd yn lân, nes gwneyd dynoliaeth yn un pentwr o dywyllwch, heb belydryn o oleuni i ysgafnhau y fagddu. Er maint pechod gwreiddiol a gweithredol y byd, ni allodd lwyr ddiffodd y goleuni gwreiddiol; a'r ffaith fod rhyw elfenau goleu yn y natur ddynol sydd yn gwneyd iachawdwriaeth y byd yn ddichonadwy. Y rheswm a'r gydwybod, yn yr egwyddorion mawr cyffredinol sydd yn treiddio trwyddynt, yw yr *handles* sydd yn galluogi Gras i gymeryd gafael ynom, a'n derchafu. Nid oes nemawr o ddyn mor ddu nad oes rhyw fanau gwynion ynddo. Methodd y tywyllwch a gorthrechu, diffodd, y goleuni yn llwyr; a phrawf o hyn ydyw yr olion o ddaioni a gwirionedd a welir yn nghymeriadau dynion anghrediniol, ac yn athroniaeth a chrefydd y byd paganaidd. Tueddir ni i goledd yr esboniad hwn, sef na allasai y tywyllwch orthrechu y goleuni; canys pwngc Ioan yma yw gweithrediad y Gair yn y byd,—Efe oedd goleuni dechreuol y ddynoliaeth, yn goleuo rheswm a chydwybod; ac er i bechod ddyfod i mewn, ni pheidiodd y Gair a goleuo,—dyfalbarhaodd y goleuni ynom er gwaethaf rhwystrau fyrdd. Ni fedrodd pechod atal llewyrch ei belydrau. Gan hyny, nid anallu y Goleuni i erlid ymaith y Tywyllwch sydd yma, ond anallu y Tywyllwch i orchfygu y Goleuni. O blaid y golygiad hwn gellir enwi Origen a Chrysostom yn mhlith y Tadau Groegaidd, Lange a Westcott yn mhlith yr esbonwyr diweddar.

PERTHYNAS Y GAIR A'R GENEDL IUDDEWIG. ADN. 6—13.

Yma y mae yr efengylwr yn symud yn mlaen, o'r datguddiad naturiol —yn y greadigaeth y tu allan, a rheswm a chydwybod y tu fewn— i'r datguddiad goruwchnaturiol yn yr H.D. Dengys fod gwirioneddau y cyntaf yn gorwedd dan wirioneddau y diweddaf. Y mae gwirioneddau cyntaf y ddau ddatguddiad yr un—y mae gwirioneddau Crefydd Natur yn cael eu cymeryd yn ganiataol gan, a'u dwyn i eglurder mwy yn, Nghrefydd Datguddiad. Fel yr awgrymwyd eisoes, dâl un dosbarth helaeth o esbonwyr fod yr efengylwr yma yn dechreu traethu ar ymddangosiad hanesyddol Crist yn y cnawd; eithr os felly y mae yn

6 Yr ydoedd gwr wedi ei anfon oddi wrth Dduw, a'i enw

---

hollol anymwybyddu crefydd oruwchnaturiol ei genedl ei hun. Ond a yw hyny yn debygol? Iuddew oedd yr efengylwr ei hun, wedi ei ddwyn i fynu yn Nghrefydd yr Hen Oruchwyliaeth; credai yn gryf yn nghymeriad goruwchnaturiol y grefydd hono; ac wrth son am y Gair yn ei gynhanfodiad, a yw yn debyg y rhoddai bum adnod i ddangos ei berthynas â'r greadigaeth, a dim un i ddangos ei berthynas â datguddiad yr H.D.? Gan nad faint yw yr anhawsderau esboniadol, nid ydynt yn ddigon i siglo ein barn yn nghywirdeb y golygiad fod Ioan yn yr adran hon yn egluro ystyr fewnol yr Hen Oruchwyliaeth, nid yn ei goleuni ei hun, ond yn y goleuni llachar a deflid arni gan Gristionogaeth. "Am feddwl yr adnodau canlynol," sef o'r 5ed hyd 13eg, ebe Dr. Lewis Edwards *(Person Crist, Pen. I.)*, "y mae gwahanol farnau. Tybia y rhan fwyaf eu bod yn cyfeirio at yr hyn ydyw Crist yn rhinwedd ei ymgnawdoliad a'i farwolaeth; eu bod yn ei ddangos fel Gwaredwr yn fywyd a goleuni ysbrydol; ac mai wrth ei ddyfodiad at ei eiddo ei hun y mae i ni ddeall ei ddyfodiad yn y cnawd. Os dywedir wrthynt fod yr efengylwr yn dwyn i mewn ffaith fawr yr Ymgnawdoliad yn mhellach yn mlaen, y maent yn myned dros yr wrthddadl yn rhwydd trwy ateb mai meddyliwr syml oedd Ioan, ac na ddylid disgwyl trefnusrwydd yn ei ysgrifeniadau. Y mae yn wir ei fod yn syml, er ei fod yn ddwfn; ac feallai nad oes meddyliau dyfnach i'w cael nag a geir yn yr adnodau hyn; ond am y diffyg trefn, y mae yn sicr fod hyny yn syniadau y rhai sydd yn priodoli hyn iddo; ac nid yn hawdd y ceir penod fwy trefnus na'r un gyntaf yn ei efengyl . . . . Wedi traethu fel hyn am y Gair yn ei berthynas â'r holl fyd, ac wedi sylwi nad oedd y byd yn ei dderbyn, y mae yn myned yn mlaen at ei ddyfodiad mwy arbenig, a mwy amlwg, trwy gysgodau a phrophwydoliaethau, at y genedl Iuddewig dan yr H.D., a thrwy arwyddion neillduol o'i bresenoldeb Ef ei hun yn eu plith. 'At yr eiddo ei hun y daeth.' Rhaid addef fod yma fwy o anhawsder nag yn yr adnodau blaenorol. Y mae hyd yn nod Awstin a Chalfin yn cymhwyso y geiriau hyn at yr Ymgnawdoliad; ac felly yr esbonwyr diweddar bron yn ddieithriad. Ond, yn y lle cyntaf, y mae yn rhyfedd, os oedd un mor llawn o barch i'r patriarchiaid a'r prophwydi, yn cyfeirio at y Gair yn goleuo pob dyn sydd yn dyfod i'r byd, ac eto heb ddyweyd dim am ei bresenoldeb yn eglwys yr H.D. Ac, yn ail, gan fod yr awdwr yn llefaru yn benodol am yr Ymgnawdoliad yn adn. 14, fel mater newydd, y mae yn gam âg ef i ni dybied ei fod wedi dyweyd yr un peth mewn geiriau eraill cyn hyny, os gallwn gael ryw ffordd arall i esbonio y geiriau. Y mae ffordd arall yn bod, yr hon ni fyddai yn anhawdd ei chanfod ped ystyriem y lle mawr a roddir yn y Beibl i breswyliad y Gair gyda'r genedl Iuddewig cyn ei ddyfodiad yn y cnawd."

**ADN. 6. A daeth gwr.** Yr un gair ag a gyfieithir yn adn. 3 yn "wnaethpwyd." Cyferbynir "dyfodiad" Ioan a bodolaeth y Gair. Yr oedd y Gair; dyfod wnaeth Ioan. **Wedi ei anfon oddiwrth Dduw.** Ffurf o ymadrodd a ddefnyddir yn yr H.D. (Mal. iii. 1; iv. 5; Is. xl. 3). Yr oedd wedi ei anfon, nid yn unig gan Dduw, ond hefyd oddiwrth Dduw, o ymyl (*parà*) Duw, i ddynodi ei alwad oruwchnaturiol i fod yn brophwyd. Nid dynion, nid ysgolion, nid y Sanhedrin, nac hyd

Ioan. Hwn a ddaeth yn dystiolaeth, fel y tystiolaethai 7
am y Goleuni, fel y credai pawb trwyddo ef. Nid efe oedd 8
y Goleuni, eithr *efe a anfonasid* fel y tystiolaethai am y

---

yn nod yr eglwys, a roddodd iddo ei awdurdod ond Duw. Gall eglwysi fagu athrawon, Duw yn unig fedr godi prophwydi. **A'i enw Ioan.** Ffurf Roegaidd ar yr enw Hebreig Jehohannan, yn meddwl "Jehofah rydd ras." Enwir Ioan 20 o weithiau yn yr efengyl hon, ond ni chysylltir y "Bedyddiwr" ag ef unwaith fel yn yr efengylau eraill. Paham? Os Ioan yr Apostol oedd awdwr yr efengyl hon, fel y credwn ni, yr oedd gwahaniaethu y ddau Ioan oddiwrth eu gilydd yn afreidiol. Ond paham y dygir enw y Bedyddiwr i mewn o gwbl yn y fan hon? Nid yn unig i ddangos uchafiaeth yr Iesu arno, yn ol barn Hengstenberg a Meyer, ond hefyd i gywiro syniadau llawer o Iuddewon yn yr oes hono am y Bedyddiwr, fel yr awgrymir gan Godet. Y mae y cyfeiriadau mynych at y Bedyddiwr yn yr efengyl hon yn dangos fod iddo edmygwyr lawer yn y ganrif gyntaf, a chanlynwyr lawer, debygid, wedi eu bedyddio i'w fedydd, heb eto ddilyn yr Arglwydd Iesu, megis y rhai y cyfeirir atynt yn Act. xix. 1—6. Dilys hefyd fod llawer o Gristionogion, fel yr efengylwr ei hun, yn coledd syniadau uchel am dano, ac eto i raddau yn gyfeiliornus am y gwir le ag oedd yn ei lanw yn y goruchwyliaethau dwyfol. Buddiol, gan hyny, i'r efengylwr nodi allan ei swyddogaeth—nad efe oedd *climax* yr Hen Oruchwyliaeth; ond mai Iesu Grist oedd uchafnod a chyflawniad yr Oruchwyliaeth hono. Ac os yw yn wir am y Bedyddiwr mai nid er ei fwyn ei hun, ond er mwyn Arall mwy nag efe, yr anfonwyd ef, rhaid ei bod yn wir am yr holl oruchwyliaeth i'r hon y perthynai.

**ADN. 7. Hwn a ddaeth yn dystioliaeth.** "Tystiolaeth" sydd un o eiriau mawr yr efengyl hon; gan y dygwydd ynddi tua 30 o weithiau. Nid yn dyst, ond yn dystiolaeth. Edrychir ar y Bedyddiwr yn ei berson a'i waith; ac wrth edrych arno felly yr oedd y tyst yn myned yn dystiolaeth, y pregethwr yn myned yn bregeth. **Fel y tystiolaethai am y Goleuni.** Gair yw Crist yn yr adn. 1; Goleuni yw yn yr adnod hon, gan mai swyddogaeth gair yw goleuo. Y Gair, ag oedd yn rhinwedd creadigaeth yn oleuni rheswm a chydwybod, yw hefyd y Goleuni ag y tystiolaethai Ioan am dano ei fod yn y byd eisoes. Yr oedd y Goleuni yn bod yn amser Ioan, o flaen Ioan, ac ar ol Ioan. **Fel y credai pawb trwyddo Ef.** Nid credu yn Nuw trwy Grist, fel y dysga Gretius ac Ewald, ond credu yn Nghrist trwy Ioan. Felly y credodd yr efengylwr ei hun, a'r hyn a wnaeth ef a ddylasai pawb wneyd. Amcan pob gweinidogaeth ddylasai fod, nid tynu sylw ati ei hun, ond arwain pobl at Grist.

**ADN. 8. Nid hwn oedd y Goleuni.** Y mae yr awdwr yma yn newid y rhagenw o *hoûtos* (efe) i *ekeinos* (hwn, yr un hwn), rhagenw ag y mae Ioan yn hynod hoff o hono a phob amser yn bwysleisiol. Felly syrth y pwyslais yn yr adnod hon, nid ar y ferf "oedd" fel y mỳn Meyer, ond ar y rhagenw "efe" neu hwn. Nid hwn, yr un hwn, oedd y Goleuni. **Eithr fel y tystiolaethai am y Goleuni.** I allu tystiolaethu am y Goleuni, angenrhaid ei fod yn oleu ei hunan; nid anwybodaeth, ond gwybodaeth,

9 Goleuni. Hwn ydoedd y gwir Oleuni, yr hwn sydd yn

---

sydd yn medru tystiolaethu. Felly "Ioan oedd ganwyll" -canwyll, eithr nid haul; goleuni, ond nid *y* Goleuni. Nid Ioan a gyneuodd oleu yr Iesu, fel y gallasai rhai dybied, oherwydd mai efe oedd yr Lenaf, ond yr Iesu a gyneuodd oleu Ioan. "Y mae Ioan yn rhywun gwir fawr," ebe Awstin *(Hom. II. in Joannem)*, "o deilyngdod ehang, o ras helaeth, wedi ei osod ar fynydd uchel. Ei edmygu sydd raid i ni, ond pa fodd? Fel copa mynydd eribog, yr hwn, os nas goleuir gan yr haul, a erys mewn tywyllwch. Gan hyny, codwch eich llygaid at yr Hwn sydd yn goleuo pen y mynydd a ddyrchwyd o bwrpas i fod y cyntaf i dderbyn y goleuni, ac felly i'w adlewyrchu ar eich llygaid chwi, y rhai heb hyny ni allent ddàl ei danbeidrwydd . . . . *Joannes lumen illuminatum; Christus lumen illuminans.* Ioan oedd oleuni wedi cael ei oleuo; Crist oedd oleuni yn goleuo." I hyn yr anfonasid Ioan, fel, i'r amcan, y tystiolaethai am y Goleuni. Tystiolaethodd Crist am Ioan, eithr nid i hyny y danfonasid Ef,—nid dyna amcan ei ddyfodiad, eithr yn hytrach amcan tra gwahanol, nid amgen na iachawdwriaeth y byd (iii. 17); ond i dystiolaethu am Grist y daeth Ioan i fod, -dyna amcan mawr ei anfoniad, a'r unig reswm dros ei ymddangosiad.

**ADN. 9.** Darllenir yr adnod hon mewn tair ffordd. Y gyntaf yw fel yn ein cyfieithiad ni: "Hwn ydoedd y gwir Oleuni," neu, yn hytrach, gan nad yw y rhagenw "hwn" yn y gwreiddiol, "Yr ydoedd y gwir Oleuni yn bod, yr hwn sydd yn goleuo pob dyn a'r sydd yn dyfod i'r byd." Dyna y darlleniad a fabwysiedir gan Origen, Chrysostom, Calvin, a Meyer, yn gystal a chan y cyfieithwyr Saesonaeg a Chymraeg. Gwrthwynebir y darlleniad hwn gan rai am y rheswm fod "pob dyn ar y sydd yn dyfod i'r byd" yn ddiangenrhaid; ond etyb Meyer fod yr ychwanegiad "ar y sydd yn dyfod i'r byd" at bob dyn, er yn ddiangenrhaid i osod allan y synwyr, yn help i ddyfnhau yr argraph ar y meddwl *(solemn redundancy)*, a diau fod ei ateb yn ddigonol i dòri grym yr wrthddadl. Yr ail ffordd sydd fel hyn: "Yr oedd y gwir Oleuni, yr hwn sydd yn goleuo pob dyn, yn dyfod i'r byd." H.y., y Goleuni oedd yn dyfod i'r byd dan yr Hen Oruchwyliaeth, ac nid pob dyn. Gwrthddadleuir fod y darlleniad hwn yn treisio rheolau gramadeg, gan fod y ddwy ferf, "oedd" a "dyfod," yn rhy bell oddiwrth eu gilydd i wneyd yr olaf i ddibynu ar y flaenaf, ond pan y pleidir y darlleniad gan ysgolheigion o safle Bengel, De Wette, Keim, a Westcott, ac y mabwysiedir ef yn y Cyf. Diw., canfyddir nad oes grym anwrthwynebol yn yr wrthddadl ramadegol. Y drydedd ffordd sydd fel y canlyn: "Yr ydoedd y gwir Oleuni, yr hwn sydd yn goleuo pob dyn wrth ddyfod i'r byd," sef yn yr Ymgnawdoliad. Ond os yw ein dosraniad ni o'r Rhaglith yn gywir, y mae y trydydd darlleniad yn cael ei gau allan, gan y credwn mai yn y 14eg adnod y crybwyllir gyntaf am yr Ymgnawdoliad. Os dyfodiad y Goleuni i'r byd yn y cnawd a feddylir, y mae yn rhyfedd fod yr efengylwr yn enwi ffaith mor bwysig am y tro cyntaf mewn iaith mor amwys. Ar y cyfan, barnwn fod gramadeg yn ffafrio y cyfieithiad arferol yn y Gymraeg a'r Saesonaeg; ond wrth edrych ar yr adnod yn ngoleuni y cyd-destyn, tueddir ni i fabwysiadu yr ail ddarlleniad yr hwn hefyd yw darlleniad y Cyf. Diw.

goleuo pob dyn a'r y sydd yn dyfod i'r byd. Yn y byd 10

---

**Yr ydoedd y gwir Oleuni.** Dyma eto un o eiriau mawr yr awdwr – gwir (*aiēthinos*). Ceir y gair 9 gwaith yn yr efengyl, 4 gwaith yn yr epistolau, a 10 gwaith yn y Datguddiad, tra na ddefnyddir ef ond 5 gwaith yn y gweddill o'r Test. Newydd. Nid gwir mewn cyferbyniad i'r gau neu y celwyddog, ond y perffaith mewn cyferbyniad i'r anmherffaith, y cyflawn i'r rhanol, y sylweddol i'r cysgodol. Y gwir Oleuni, y y gwir Fara, y wir Winwydden; h.y. Crist yw y perffaith Oleuni, y perffaith Fara, y berffaith Winwydden, – Efe sydd yn llanw y drychfeddwl, ynddo Ef y mae y drychfeddwl yn cael ei sylweddoli fel ffaith berffaith, yn cyfateb i'r drychfeddwl perffaith. Nid yw pob goleuni arall goleuni dynion o athrylith a dynion o dduwioldeb—ond pelydrau o'r goleuni mawr cyfan sydd yn Nghrist. "They are but broken lights of Thee" *(In Memoriam).* Ai fel Gair Ymgnawdoledig yn unig y mae Crist yn wir Oleuni? Yn ol ein dosraniad ni, nid yw yr awdwr yn enwi yr Ymgnawdoliad hyd adn. 14. Er hyny, Crist sydd yn ei feddwl o hyd, eithr yma yn ei gyn-hanfodiad. Y mae yn dehongl Crist yr H. D. yn ngoleuni Crist y Test. Newydd. Y Crist ag oedd y Bedyddiwr yn dwyn tystiolaeth iddo oedd y Goleuni oedd yn goleuo pob dyn, Iuddewig a Chenedlig; yr un Crist oedd yn goleuo deall a chydwybod cenedloedd paganaidd y byd ag oedd yn oleuni arbenig, goruwchnaturiol yn nghenedl yr Israel. Nid dau, ond un Logos oedd i'r holl fyd—yr Arglwydd Iesu yn ei gynhanfodiad.

**Yr hwn sydd yn goleuo pob dyn.** Anhawdd meddwl mai at oleuni Crist yn yr Efengyl y cyfeirir yma. Os dyna y meddwl, y mae yn rhyfedd na ddefnyddiasid ymadroddion mwy clir, pendant, ac efengylaidd; ond os at oleuni Crist yn ei gynhanfodiad y cyfeirir, y mae y frawddeg yn weddus a chymhwys. A yw Crist, trwy yr Efengyl, yn goleuo pob dyn? Nac ydyw. O'r 15,000,000 o breswylwyr y ddaear, y mae o leiaf 12,000,000 heb erioed glywed am drefn y cadw. Ond y mae "pob dyn" wedi derbyn o oleuni y Gair yn ei gydwybod a'i reswm, "hyd onid ydynt yn ddiesgus." "Pob dyn": nid pawb – pawb yn y cyfanswm. Pe pawb a ddywedid, gellid gyda phriodoldeb ddyweyd fod Crist trwy ei Efengyl yn goleuo pawb—y mae goleuni yr Efengyl yn tywynu ar y ddynoliaeth yn ei chyfanswm; ond "pob un" a ddywedir, y ddynoliaeth yn ei hunigolion; ac yn yr ystyr hwn nis gellir dyweyd fod yr Efengyl wedi goleuo pob un. Ond sylwer mai brawddeg israddol *(subordinate)* yw hon yn yr adnod; y brif frawddeg, ac felly y prif wirionedd, yw "Yr ydoedd y gwir Oleuni, yn dyfod i'r byd." Pa wasanaeth, ynte, y mae y frawddeg israddol yn ei wneyd? Y hi yw y ddolen yn y gadwen ag sydd yn cysylltu y Goleuni goruwchnaturiol yn yr adnod hon â'r goleuni naturiol yn adn. 4 a 5. "Ynddo ef yr oedd bywyd, a'r bywyd oedd oleuni dynion:" y mae y frawddeg yna yn brif frawddeg, a'r gwirionedd a ddysga, o ganlyniad, yn brif wirionedd. Ond y mae prif wirionedd adn. 4 yn wirionedd israddol yn adn. 9, ac felly yn ffurfio dolen gysylltiol. Er yr ail-adroddir ef, eto nid yr un amcan sydd mewn golwg, ac ni roddir yr un arbenigrwydd arno.

**A'r sydd yn dyfod i'r byd.** Pwy sydd yn dyfod i'r byd? Yn ol y darlleniad arferol, "pob dyn." Nid oes dim grym yn yr wrthddadl fod

yr oedd efe, a'r byd a wnaethpwyd trwyddo ef; a'r byd

---

yr ymadrodd, os dyna ei ystyr, yn ddiangenrhaid, fel y gwelsom eisoes. Ond ar y cyfan mwy cydnaws a rhediad y cyd-destyn yw cysylltu yr ymadrodd â'r gwir Oleuni. "Yr ydoedd y gwir Oleuni . . . yn dyfod i'r byd." Nid boddlon mohono i oleuo dynoliaeth yn ffordd natur yn unig, ond neshaodd ati mewn ffordd oruwchnaturiol. Yr oedd Ef yn dyfod i'r byd dan yr H. D., ac o'r diwedd daeth yn y cnawd. Yr Hwn sydd wedi dyfod, yn ol dysgeidiaeth yr efengylwr, yw yr Hwn oedd yn dyfod. A dyna swyddogaeth y Bedyddiwr, y rheswm paham y dygir ef i mewn yma, sef i dystiolaethu mai yr un yw Crist y Test. Newydd a Messiah yr H. D. Ni chrybwyllir ef yma i ddechreu yr hanes, ond i fod yn dystiolaeth nad yw Crist yr Efengyl neb amgen na Messiah yr Hen Oruchwyliaeth. Dygir ef i mewn i fod yn dystiolaeth, nid yn gymaint i ffaith hanesyddol ag i'r gwirionedd athrawiaethol ag oedd yn gorwedd dan y ffaith, sef cynhanfodiad yr Arglwydd Iesu fel Goleuni yr Hen Oruchwyliaeth. Nid Messiah i ddyfod i fod yn nghyflawnder yr amser ydoedd, ond Messiah oedd yn bod ac yn gweithredu dan yr H. D. Nid Messiah i ddod, ond Messiah yn dod, oedd yr Arglwydd Iesu. Gallasai fod yn Fessiah i ddod, a bod yn ddim ond dyn; ond nis gallasai fod yn Fessiah *yn* dod, heb fod yr hyn y dysga yr awdwr ei fod, yn dragwyddol Air.

**ADN. 10.**—Yn yr adnod hon ceir enghraipht deg o arddull lenyddol yr awdwr. Megis yn adn. 1, felly yma rhwymir y tair brawddeg wrth eu gilydd a'r cysylltair "ac." Y ffurf Roegaidd o ysgrifenu a fuasai fel y canlyn: "Er ei fod yn y byd, ac i'r byd gael ei wneyd trwyddo Ef, eto nid adnabu y byd Ef."

**Yn y byd yr oedd Efe.** Y mae i'r gair "byd" bedwar ystyr: (1) y cyfanfyd, Rhuf. i. 20; (2) y ddaear, Mat. iv. 8; (3) trigolion y ddaear, adn. 29; iv. 42; (4) y rhai sydd y tu allan i'r wir eglwys, yr anghredniol, xii. 31. Rhaid penderfynu ystyr y gair wrth rediad y paragraph. Yn y ddwy frawddeg gyntaf yn yr adnod hon y meddwl yw y ddaear, y byd materol; yn y frawddeg ddiweddaf trigolion y ddaear, y byd moesol. Yn y byd materol yr oedd Efe. Wedi ei greu ni ymneillduodd oddiwrtho, canys Efe yw cynhaliwr pob peth, ac ynddo Ef y mae pob peth yn cydsefyll. Dysgir yma breswyliad tufewnol (*immanence*) y Gair yn y greadigaeth; nid yw deddfau natur yn alluoedd, dim ond y rheolau yn ol pa rai y mae y Dwyfol Allu yn gweithredu. Y Gair yw y Gallu. "**A'r byd a ddaeth i fod trwyddo Ef.**" Yr un gwirionedd ag a ddysgir yn adn. 3; ond ail-adroddir ef yma, nid er ei fwyn ei hun, ond er gwneyd y *climax* yn y frawddeg nesaf yn fwy arswydus. Efe yw y Cynhaliwr, ac Efe hefyd yw y Creawdwr, ac felly gosodir i lawr dderchafiad (*transcendence*) y Gair uwchlaw y greadigaeth. Tra y mae hi yn dibynu arno Ef, nid yw Efe yn dibynu arni hi. "**A'r byd nid adnabu Ef.**" Y byd moesol, trigolion y byd. Feallai fod rhyw nifer bychan o ddynion difrifol, meddylgar, yn mhlith y paganiaid pwy a ŵyr?—wedi ei adnabod; gwyddom fod yr athronwyr goreu yn dyfalu llawer am y goleuni *ynddynt*, nad oedd *ohonynt*; ac yn eu hymbalfaliadau pwy a feiddia wadu na ddaeth rhai i gyffyrddiad bywiol ag Ef? Llwyddodd nifer mwy yn mhlith yr Hebreaid i'w adnabod; ond ni ddarfu y byd fel

nid adnabu ef. At ei eiddo ei hun y daeth, a'r eiddo ei 11

---

byd, yn ei gyfanswm, ei adwaen. Yn y bumed adnod y mae y rhagenw am y Goleuni yn y *neuter gender*, ond yma yn y *masculine;* canys yno Egwyddor ydyw, ond yma Person. Ond tra yn dàl mai Crist yn ei gynhanfodiad yw pwngc y paragraph hwn, eto y mae yn amlwg fod Ioan yr efengylwr yn ysgrifenu yn llawn oleuni yr Ymgnawdoliad, ac yn gosod i lawr yma y gwirionedd a ddaeth i lawn amlygrwydd yn mywyd ac angeu yr Arglwydd Iesu.

**ADN. 11. At yr eiddo ei hun y daeth; a'r eiddo ei hun nis derbyniasant Ef."** Y mae yr "eiddo ei hun" yn y frawddeg gyntaf yn y *neuter gender*, ac yn y frawddeg olaf yn y rhyw wrywaidd. Felly gellir gosod y synwyr mewn aralleiriad fel hyn: At ei etifeddiaeth ei hun y daeth, a phobl ei etifeddiaeth nis derbyniasant Ef. Yn Luc, defnyddir yr un ffurf-ymadrodd (*idia*) am ei gartref, ac felly gellid darllen, "I'w gartref ei hun y daeth, a phobl ei gartref nis derbyniasant Ef." Neillduodd Duw wlad Canaan a chenedl yr Israel iddo ei hun, trwy eu dewis yn breswylfod iddo ar y ddaear, ac yn dderbynwyr ei ddatguddiedigaethau. "Ond ei bobl ei hun nis derbyniasant Ef," gwirionedd cyffredinol, yn wir dan yr H. D., canys gwrthryfela yn barhaus yr oeddynt yn erbyn Gair yr Arglwydd, ac yn wir hefyd pan y daeth atynt yn y cnawd. Yr egwyddor ag oedd yn gweithio yn erbyn y Goleuni dan yr H. D. oedd hefyd yr egwyddor oedd yn gweithio ac a gyrhaeddodd ei chyflawn addfedrwydd yn nghroeshoeliad y Gair Ymgnawdoledig. Diau fod yn meddwl Ioan y gwrthodiad mawr ar Galfaria; ond yn ngoleuni y *tragedy* hyny y mae yn cyffredinoli yr egwyddor ac yn ei chanfod yn gweithio dan yr H. D. Y mae yr adnod yn wir am y genedl cyn yr Ymgnawdoliad, ac yn wir am dani ar ol yr Ymgnawdoliad. Dyma yr ymgais gyntaf, gyson, gref, i roddi i ni athroniaeth hanesyddiaeth. "Yr eiddo ei hun nis derbyniasant Ef," ymadrodd cryfach na'r hwn a ddefnyddir am y byd. Y byd nid adnabu Ef, yr eglwys nis derbyniodd Ef; methodd y byd ei adwaen, ewyllysiodd yr eglwys ei wrthod.

Ond yn mha ystyr y dywedir yn yr adnod hon i'r Goleuni ddyfod at ei eiddo ei hun? Y mae y ferf "daeth" yn yr *aorist tense*, ac am hyny ymresymir nas gall olygu dyfodiad parhaol, ac o ganlyniad fod y cyfeiriad at ei ddyfodiad yn y cnawd, ac nid at ei ddyfodiad at y genedl yn nghysgodau a datguddiadau yr H. D. Dyma brif ddadl yr esbonwyr hyny sydd yn dysgu fod yr awdwr yn y paragraph hwn yn llefaru am y Gair ar ol ac nid cyn ei ymgnawdoliad. Rhaid cyfaddef fod grym mawr yn yr wrthddadl. "Rhaid addef fod yma fwy o anhawsder," meddai Dr. Lewis Edwards, "nag yn yr adnodau blaenorol. Y mae byd yn nod Awstin a Chalfin yn cymhwyso y geiriau hyn at yr Ymgnawdoliad; ac felly yr esbonwyr diweddar bron yn ddieithriad." Yna dwg yr hybarch Ddoctor yn mlaen ddau reswm dros wrthod cymhwysiad y geiriau at yr Ymgnawdoliad, fel y gwelsom yn barod (gwel tudal. 16); ac eglura yn mha ystyr, yn ei farn ef, y daeth y Gair at y genedl Iuddewig: "Gan fod cymaint o amrywiaeth barn ar y mater hwn, y llwybr dyogelaf yw cymeryd esboniad y Test. Newydd. Yn Ioan xii. 41, yr ydym yn darllen, 'Y pethau hyn a ddywedodd Esaias pan

12 hun nis derbyniasant ef. Ond cynnifer ag a'i derbyniasant

---

welodd ei ogoniant Ef, ac y llefarodd am dano Ef.' Y pethau hyn yw y pethau a lefarodd Esaias yn y chwechfed benod o'i broph wydoliaeth, pan welodd yr Arglwydd yn eistedd ar eisteddfa uchel a derchafedig, a'i odre yn llenwi y deml. Ac eto y mae Ioan yn dywedyd mai gogoniant yr Arglwydd Iesu a welodd Esaias, fel y mae yn amlwg oddiwrth rediad yr ymadrodd. Drachefn yn 1 Cor. x. 4, darllenwn, 'Ac yfed o bawb o honynt yr un ddiod ysbrydol; canys hwy a yfasant o'r graig ysbrydol ag oedd yn canlyn; a'r graig oedd Crist.' Cytunir yn gyffredin erbyn hyn nad yw y rhai hyny yn rhoddi gwir ystyr y rhan olaf o'r adnod hon, y rhai a ddywedant nad oedd yno ond craig naturiol fel cysgod o Grist; oblegid ffolineb ydyw tybied fod y graig naturiol yn canlyn meibion Israel. Rhaid, gan hyny, fod Crist ei hun yn bresenol, ac mai Efe oedd yn eu canlyn. Felly Chrysostom, Theophylact, Melancthon, ac eraill. Dywed Hofmann, 'Y graig oedd y dwfr yn rhedeg o honi oedd un naturiol; ond y wir Graig oedd mewn gwirionedd yn rhoddi y dwfr oedd Craig Israel, y Jehofah, yr hwn oedd yn myned gydag Israel.' Y mae Meyer yn rhoddi yr ystyr eto yn fwy cyflawn fel hyn: 'Y meddyliau y mae Paul yn rhoddi mynegiad iddynt yw y rhai canlynol: 1. Er mwyn amddiffyn a chynorthwyo yr Israeliaid yn yr anialwch, yr oedd Crist yn myned gyda hwynt, hyny yw, yn ei Natur ddwyfol, gyn-hanfodol, ac o ganlyniad fel Mab Duw, Logos Ioan, yr hwn wedi hyny a ymddangosodd fel dyn. Y graig o'r hon y rhedai y dwfr a yfent nid oedd graig naturiol gyffredin, ond craig ysbrydol; nid ymddangosiad o graig yn unig, ond un wirioneddol, er ei bod o darddiad goruwchnaturiol a nefol, yn gymaint a'i bod yn hunan-ddatguddiad ac amlygiad gwirioneddol o Fab Duw, yr hwn yn anweledig oedd yn myned gyda'r llu ar eu taith. Mewn geiriau eraill, nid ydoedd ond Crist ei hun o'r nefoedd, gan ei bod yn ddangosiad sylweddol ac effeithiol o hono Ef ei hun i ddynion. Gan mai hyn oedd y graig, y mae yn rhaid ei bod yn graig oedd yn canlyn, ac yn myned gyda phlant Israel ar eu taith trwy y diffaethwch; oblegid yr oedd Crist yn ei sefyllfa gyn-hanfodol, nefol sylwedd anweledig y graig hon, yn myned gyda hwynt yn barhaus, ac felly yn mhob man yn yr anialwch yr oedd ei bresenoldeb hanfodol Ef yn gallu amlygu ei hun yn eu profiad trwy y graig a'i chyflawnder o ddwfr; a gwnaeth felly eilwaith ac eilwaith. Wrth yfed o'r graig yr oeddynt yn cael eu disychedu gan Grist, yr hwn, gan wneuthur y graig yn ffurf yr amlygiad, a gyflenwai y dwfr o hono Ef ei hun, er fod y neillduolrwydd hwn am y ffordd y disychedwyd hwynt yn aros yn guddiedig oddiwrth yr Israeliaid. Gan fod geiriau yr Apostol fel hyn yn esbonio eu hunain yn eglur a chyflawn, nid oes genym un hawl i briodoli i Paul, yr hyn oedd ddyfais ddiweddarach y Rabbiniaid, y dyb fod y graig yn treiglo ar ol y llu yn eu teithiau.'"

**ADN. 12. Ond cynifer ag a'i derbyniasant Ef.** Er i gyfangorph y genedl wrthod, yr oedd lleiafrif bychan yn ffyddlon i'r goleuni. Yn yr adnod flaenorol y genedl yn y cyfanswm (*hidiŏi*) oedd yn ei wrthod; ond yma personau unigol (*hŏsŏi*) sydd yn ei dderbyn. Drachefn, nid yn gymhwys yr un ffurf sydd ar y gair am "dderbyn" yn yr adnod o'r blaen ag yn yr adnod hon; yno arwydda dderbyn yr hyn

ef, efe a roddes iddynt allu i fod yn feibion i Dduw, *sef* i'r

---

yr oedd Duw yn ei roddi, yma golyga fwy o rydd-ewyllysiad ar du y derbynwyr. **Efe a roddes iddynt allu i fod yn blant i Dduw.** Y mae i'r gair am "allu" o leiaf ddau ystyr. (1) Hawl mewn cyfraith. Trwy dderbyn Crist, pa un ai cyn neu wedi yr Ymgnawdoliad, y mae dynion yn cyrhaedd hawl gyfreithiol i gymeryd lle neu sefyllfa plant yn y teulu. Y mae hawliau Crist fel Mab yn myned yn hawliau i bechadur, unwaith y derbynia y Mab; canys wrth dderbyn Crist y mae yn derbyn Crist cyfan,—nid yn unig Crist yn ei haeddiant, ond Crist yn ei hawliau hefyd. Y mae gan y credadyn hawl yn wyneb cyfraith i sefyllfa mab yn nheulu Duw. Dyma y wedd a gymer Paul gan amlaf ar faboliaeth y credinwyr, sef y wedd gyfreithiol; ac am hyny ei hoff air ef yw "meibion." Y mae golygiadau Godet ar fabwysiad, yn ei esboniad, yn niwliog, gan ei fod yn cymysgu cyfiawnhâd a mabwysiad, ac yn gwneyd yr olaf yn rhan o'r blaenaf Ond y mae cyfiawnhad a mabwysiad yn ddwy weithred wahanol. Y mae y cyfiawnhad yn gwneyd dyn yn gyfiawn o ran ei berson, yn ngwyneb deddf; ond gallesid bod yn gyfiawn heb fod yn fab. Gweithred bellach a gwahanol yw gwneyd y cyfiawn yn fab. Hawl i fywyd a gynysgaeddir yn y cyfiawnhad, ond hawl i faboliaeth yn y mabwysiad. (2) Yr ystyr arall sydd i'r gair yw "gallu" fel yn y cyfieithiad Cymraeg. Edrych Ioan ar y weithred o wneyd pechadur yn fab o safle dufewnol, sef cyfranogiad o anian neu natur Duw trwy enedigaeth; oherwydd paham ei air ef yn ddieithriad yw, nid meibion, ond "plant;" a dyna y gair a ddefnyddir yma. Beth yw y gwahaniaeth rhwng "meibion" a "phlant"? Golyga "meibion" berthynas allanol, ond "plant" anian dufewnol. Ond na feddylier y gellir gwahanu mabwysiad oddiwrth adenedigaeth, dim ond eu gwahaniaethu. Yn mhlith dynion y mae eu gwahaniad yn bosibl,—mabwysiadodd merch Pharaoh y bachgen Moses, gan roddi lle mab iddo yn y teulu; ond ysbryd Hebrewr oedd ynddo, o ran anian yr oedd gydag Amram a Jochebed yn y bwthyn. Ond pwy bynag y mae Duw yn ei fabwysiadu, y mae hefyd yn ei aileni,—yn dodi anian plentyn o'i fewn. Gan mai dyma safle Ioan o edrych ar y mater, credwn mai yn yr ystyr o allu, ac nid o hawl, y dylid deall y gair yma. **Sef i'r sawl a gredant yn ei enw Ef.** Teimla yr awdwr yn angenrheidiol i roddi deffiniad mwy pendant o'r hyn a feddylir wrth "dderbyn" Crist, a hyny ydyw "credu yn ei enw Ef." Y mae yr ymadrodd "credu yn" yn nodweddiadol o Ioan; defnyddir ef 35 o weithiau yn yr efengyl, a 3 o weithiau yn yr epistol, tra na ddefnyddir ef ond 10 o weithiau yn holl lyfrau eraill y Test. Newydd. Golyga ymorphwysiad llwyr ar Iesu Grist, ar ei enw, sef y datguddiad o hono a wnaed i'r eglwys. "Y mae enw Duw yn yr Ysgrythyr yn sefyll yn aml am Dduw ei hunan. Canys y mae Duw heb ddim cymysgedd, yn hanfod bur a syml; am ba achos nid yw Ef a'i Enw yn ddau beth gwahanol, megis y maent yn y creaduriaid, ond yr un a'r unrhyw" (y *Rabbi Menahem*). Ond tra y mae "derbyn" Crist yn nechreu yr adnod yn yr *aorist tense*, y mae "credu yn ei enw" yn y diwedd yn yr amser presenol. Pa fodd y mae cyfrif am y cyfnewidiad yn amser y berfau? Paham na fuasai y derbyn a'r credu yn yr *aorist* neu yn y presenol? Diau fod y rheswm am y gwahaniaeth yn yr amser yn sylfaenedig ar y

13 sawl a gredant yn ei enw ef: Y rhai ni aned o waed, nac
o ewyllys y cnawd, nac o ewyllys gwr, eithr o Dduw.

---

gwahaniaeth rhwng natur y gweithredoedd a ddesgrifir gan y ddau air. Gweithred yn y gorphenol yw derbyn Crist yn hanes y dyn duwiol,—derbyniodd ef unwaith am byth; nid ei dderbyn y ddoe, ei droi allan heddyw, a'i dderbyn drenydd drachefn, ond ei dderbyn unwaith am byth mewn un weithred bendant, derfynol. Ond y mae "credu" yn weithred sydd yn cael ei mynychu—credu ddoe, credu heddyw, credu yfory; ac felly defnyddir yr amser presenol i osod allan sefyllfa o gredu.

**ADN. 13. Y rhai ni chenhedlwyd o waed.** Dyfyna Irenæus y frawddeg hon yn y rhif unigol, "Yr Hwn ni aned o waed," gan olygu genedigaeth oruwchnaturiol yr Arglwydd Iesu, ac amddiffynir y darlleniad gan Tertullian. Ond y mae yr esbonwyr bron yn ddieithriad yn ffafrio y darlleniad arferol. Genedigaeth oruwchnaturiol y credinwyr sydd yma, ac nid genedigaeth oruwchnaturiol yr Iesu. Yn y gwreiddiol y mae y gair "gwaed" yn y rhif luosog, a llawer o ddyfalu sydd am y paham; ond ymddengys i ni mai y rheswm yw nad oedd achyddiaeth, pa mor enwog a henafol bynag, yn cyfranu y ddwyfol anian i neb. Ymffrostiai yr Iuddewon yn eu gwaedoliaeth,—"plant Abraham ydym ni." "Nid o waed," yw ateb yr efengylwr. **Nac o ewyllys y cnawd, nac o ewyllys gwr.** Llawer o ddychymygu sydd am ystyr wahaniaethol y ddwy frawddeg hyn; ond nid oes weledigaeth eglur, ac feallai mai y ffordd ddoethaf yw eu gadael yn anmhenodol. Cymer rhai yr ymadroddion hyn yn ddosraniad israddol o'r frawddeg gyntaf:—

Nid o waed

Nac o ewyllys y cnawd | Nac o ewyllys gwr.

Ond y mae y cysyllteiriau a ddefnyddir yn gwneyd hyn yn annhebyg, os nad yn anmhosibl. Dywedir fod *oudĕ* . . . *oudĕ*, y cysyllteiriau a ddefnyddir, yn dangos cydraddoldeb, tra mai *outĕ* . . . *outĕ* sydd yn dangos israddoldeb. Dywed Awstin mai wrth y ddwy ewyllys yma y golygir y rhyw fenywaidd a'r rhyw wrywaidd. Ond er na allwn benderfynu ar feddwl penodol y naill ymadrodd na'r llall, eto y mae yr argraph yr un mor ddwfn,—nad yw yn ngallu dyn, trwy briodas nac ymarferiadau corphorol na gwrteithiad meddyliol, i wneyd ei hun yn blentyn Duw. Gellir gwella y *breed* trwy briodasau doeth; gellir caboli y corph trwy ymarferiadau gewynol nes cyrhaedd yr harddwch anianyddol y dyheuai y Groegiaid gymaint am dano; a gellir trwy astudiaeth ddysgyblu y meddwl nes cyrhaedd yr hyn a eilw y byd yn *culture:* ond nis gall dyn trwy unrhyw ymdrech am ddiwylliant wneyd ei hun yn blentyn Duw. **Ond o Dduw.** Yn yr adenedigaeth dylifa y bywyd dwyfol i'r enaid dynol. Nid priodol, feallai, yw galw ailenedigaeth yn wyrth, am mai wrth wyrth y meddylir gweithrediad uniongyrchol y Gallu Dwyfol ar fater a'i ddeddfau; ond er nad yw yn wyrthiol, y mae yn oruwchnaturiol—y mae yn enedigaeth wirioneddol "allan o Dduw." Dysga Maurice a'i ganlynwyr fod dyn yn rhinwedd ei enedigaeth gyntaf yn wir blentyn Duw; fod y berthynas yn anhydor er

gwaethaf y Cwymp; ac mai pechod mawr dyn yw ei anymwybyddiaeth o'i berthynas wreiddiol a Duw. Y mae yr annuwiol yn wir blentyn; ei annuwioldeb yw ei fod yn gwrthod cydnabod y berthynas. Beth ynte y mae "derbyn" Crist, yn ol yr adnod hon, yn ei wneyd? Nid creu un berthynas newydd rhwng dyn a Duw, ond dwyn i ymwybyddiaeth y pechadur y berthynas ag oedd eisoes yn bod. Y mae dyn, er gwaethaf pechod, yn blentyn gwirioneddol i Dduw; anymwybyddiaeth o'r ffaith yma yw ei drueni, cydnabyddiaeth o honi yw ei adenedigaeth. Dyma y lefain sydd yn lefeinio y "Dduwinyddiaeth Newydd." Ond gwelir ei bod yn gwneyd gwaith Crist a gwaith yr Ysbryd yn llai nag yn y dduwinyddiaeth uniongred. Datguddio hen berthynas y mae yr Efengyl, ebe y dduwinyddiaeth newydd; y mae yn creu perthynas newydd, ebe y dduwinyddiaeth uniongred. Dwyn i ymwybyddiaeth y pechadur ei fabolaeth, yr hon sydd eisoes yn bod o'i enedigaeth, yw gwaith Crist trwy ei Ysbryd, meddai y dduwinyddiaeth newydd,—peri tyfiant yn yr hedyn oedd yn gorwedd yn gudd yn ei fynwes. Nage, meddai y dduwinyddiaeth uniongred, ond planu hedyn newydd, dwyn hâd Duw a gwneyd iddo le yn enaid dyn,—"y mae hâd Duw yn aros ynddo ef, ac ni all efe bechu am ei eni ef o Dduw." Yn yr adenedigaeth, y mae bywyd newydd, deilliedig yn uniongyrchol o Dduw, yn dechreu cyneu yn enaid dyn,—nid bywyd naturiol fel ag a dderbyniodd yn ei enedigaeth gyntaf, ond bywyd newydd, dwyfol, goruwchnaturiol. O hyny allan perthyn y credadyn i'r *supernatural order*. Nid parhâd o'r hen fywyd wedi ei adnewyddu sydd ynddo, ond dechreuad bywyd newydd o ansawdd uwch.

Gan fod "y rhai sydd yn credu" yn yr amser presenol, a'r "rhai a aned" yn yr *aorist*, a ydym i ddeall fod adenedigaeth yn rhagflaenu ffydd? Ateb Godet a mwyafrif y duwinyddion yw fod yr aileni o flaen y credu; canys pa fodd y gall dyn gredu os heb ei aileni? Yn hytrach, gofyner pa fodd y gall dyn gael ei aileni os heb gredu? Nid yw amser gorphenol "ganed," ac amser presenol "credu," yn penderfynu dim ar eu cysylltiad a'u gilydd fel achos ac effaith, eithr yn hytrach yn dynodi "credu" fel gweithred y rhaid ei mynychu o ddechreu i ddiwedd yr yrfa Gristionogol, tra y mae y "geni o Dduw" yn weithred orphenol, ac yn ei natur yn gyfryw nas gellir ei mynychu. Tybiwn fod yr Ysgrythyr yn dysgu yn eglur fod ffydd yn amod cyfiawnhâd, ac felly yn amod adenedigaeth. "Cyfiawnhau yr annuwiol trwy ffydd" y mae Duw; ac os yw dyn yn cael ei aileni cyn credu, yna y mae yn dduwiol cyn credu; ac felly nid cyfiawnhau yr annuwiol, ond cyfiawnhau y duwiol trwy ffydd y mae Duw, casgliad hollol groes i ddysgeidiaeth bendant y Test. Newydd. Cyfiawnhau yr annuwiol y mae Duw trwy ffydd; ac wedi ei gyfiawnhau y mae yn ei aileni. Gosod y dyn yn iawn o ran ei gyflwr i ddechreu, ei osod yn iawn o ran ei natur ar ol hyny. Gan hyny, rhaid i ni ddàl y medr yr annuwiol gredu. Nid yw hyny yn cynwys y medr gredu yn ei nerth ei hun, eblegid y mae yr Ysbryd Glân yn gweithio *arno* cyn dechreu gweithio *ynddo*. Felly trwy ffydd yr annuwiol y mae gwaith yr achub yn cael ei ddechreu, a thrwy ffydd y duwiol y mae yn cael ei ddwyn yn mlaen a'i gwblhau.

A yw yr ymadroddion, "plant Duw," "credu yn ei enw Ef," a "geni o Dduw," yn profi mai dynion duwiol ar ol yr Ymgnawdoliad sydd gan yr awdwr mewn golwg? Dadleua yr esbonwyr hyny sydd yn dàl fod yr

14 A'r gair a wnaethpwyd yn gnawd, ac a drigodd yn ein

---

adran hon yn cyfeirio at Grist yn y cnawd, ac nid yn ei gyn-hanfodiad, eu bod. "Un ddadl," ebe y Dr. Lewis Edwards, "yn erbyn y golygiad hwn"—mai Crist yn ei gyn-hanfodiad yw pwngc yr adran—"ydyw, fod ail-enedigaeth yn fendith sydd yn perthyn i'r Testament Newydd yn unig. Ond nid ydyw hyn yn gywir am ail-enedigaeth, mwy nag am gyfiawnhâd: a byddai yn fantais tuagat ddeall y geiriau hyn yn Ioan pe cymharem hwynt a geiriau Paul am gyfiawnhâd y credinwyr dan yr H. D. Yn Rhuf. iii. 24, dywedir, 'a hwy wedi eu cyfiawnhau yn rhad trwy ei râs Ef, trwy y prynedigaeth sydd yn Nghrist Iesu.' Yr *hwy* yma ydyw hen genedl Israel, i'r rhai yr eglurwyd cyfiawnder Duw heb y ddeddf wrth gael tystiolaeth gan y ddeddf a'r prophwydi. Er nad oedd Crist wedi dyfod yn y cnawd, yr oedd Duw yn ei osod allan yn Iawn yr H. D., trwy ffydd, nid yn yr aberthau, ond yn ei waed Ef; ac yr oedd yn gwneyd hyny i ddangos ei gyfiawnder Ef wrth faddeu. Ond ni fuasai dim grym yn y dangosiad hwnw oni buasai ei fod yn cyfeirio yn mlaen at ryw ddangosiad mwy. Yr oedd yn dangos ei gyfiawnder y pryd hwn. Pa le, gan hyny, y mae y gorfoledd, y gorfoledd neillduol o fod yn bobl ddewisedig yr Arglwydd, gan eu bod hwy wedi eu cyfiawnhau yn rhad trwy ei ras Ef, yr un modd a ninau? Yn awr, fel yr oedd cyfiawnhâd yn bwngc mawr yr Apostol Paul, felly yr oedd ail-enedigaeth yn bwngc mawr yr Apostol Ioan. Ac megis y mae Paul yn dangos mai trwy ffydd yn Nghrist y cyfiawnhawyd y rhai a gyfiawnhawyd yn adeg yr Hen Oruchwyliaeth, felly y mae Ioan yn dangos fod y Gair wedi dyfod at ei eiddo ei hun yn yr oesoedd hyny, ac mai trwy ei dderbyn Ef y cawsant allu i fod yn feibion i Dduw. Ac am fod hyn yn wir yn mhob oes, y mae yn ychwanegu yr amser presenol at y gorphenol. Ymddengys, gan hyny, mai Person y Gair yn ei natur ddwyfol yw testyn yr adnodau hyn, hyd nes y deuwn at y bedwaredd-ar-ddeg, lle y dygir i'r golwg athrawiaeth fawr yr Ymgnawdoliad." Felly yr oedd ffeithiau crefydd bersonol yn bod o'r dechreu; yr oedd dynion yn credu, ac mewn canlyniad yn cael eu haileni yn gystal a'u cyfiawnhau. Gwir fod Ioan yma yn defnyddio termau y Test. Newydd, am mai o safle y Test. Newydd yr ysgrifenai; ond yr oedd y ffeithiau yn bod o flaen y termau. Yr oedd deddf dysgyrchiad yn bod ac yn gweithredu cyn i Newton ei darganfod a'i henwi: y cwbl a wnaeth Newton oedd, nid chwanegu at y ddeddf, ond at ein gwybodaeth ni o honi. Felly yr oedd ffeithiau mawr crefydd bersonol yn bod dan yr H. D.; ond yn ngoleuni y Test. Newydd y dehonglwyd y ffeithiau hyny ac y daethant yn rhan o wybodaeth feddyliol yr eglwys. Nid yr enwau a greodd y ffeithiau, ond y ffeithiau a greodd yr enwau,—yr oedd y ffeithiau yn bod, ac adenedigaeth yn eu plith, cyn i'r apostolion eu darganfod a'u henwi.

## YR YMGNAWDOLIAD. ADN. 14—18.

**ADN. 14. A'r Gair a ddaeth i fod yn gnawd.** Nid yw y cysylltair "a'r" i'w gymeryd fel rheswm dros osodiad blaenorol, fel yr esbonia Chrysostom a Godet; ac nid casgliad sydd yma oddiwrth osodiadau blaenorol fel y dysga Bleek; ond cysylltair sydd yn dwyn i mewn y prif osodiad. Y mae y gwirionedd cynwysedig yn yr adnod yn rhy fawr i gymeryd lle israddol yn yr ymresymiad, ac yn rhy bwysig i gael edrych arno fel

ategiad neu gadarnhâd i wirionedd arall llai. Nid gwirionedd rhesymegol mohono i brofi neu gadarnhau gosodiad blaenorol, ond gwirionedd sydd yn goron ar yr oll a ddywedwyd, i gyrhaedd yr hwn nid oedd y gwirioneddau blaenorol ond grisiau parotoawl. Wedi dangos y Gair yn nhragwyddoldeb, yn y greadigaeth, ac mewn hanesiaeth, dengys yma amcan a pherffeithiad y cyfan yn ngwyrth fawr yr Ymgnawdoliad.

1. Yn yr Ymgnawdoliad daeth y Gair i fod yr hyn nad ydoedd o'r blaen. Ystyr foesol gan amlaf sydd i'r gair "cnawd" yn ysgrifeniadau Paul—corphoriad o dueddiadau llygredig y ddynoliaeth; ond gydag ychydig eithriadau ystyr anianyddol sydd iddo yn ysgrifeniadau Ioan. Defnyddir y gair "cnawd" yma am y natur ddynol yn ei chyfanrwydd; a hwn yw y term a ddefnyddir yn y Test. Newydd am y natur ddynol *yn ei pherthynas â'r Ymgnawdoliad*. "Y Gair a wnaethpwyd yn *gnawd*." "Duw a ymddangosodd yn y *cnawd*." "Duw a ddanfonodd ei Fab yn nghyffelybiaeth *cnawd*." Paham y defnyddir "cnawd," ac nid "dyn," gan Ioan a Phaul pan yn sôn am yr Ymgnawdoliad? Etyb rhai fod Iesu Grist yn ddyn erioed, yr *archetypal man*, ac na wnaeth yr Ymgnawdoliad ond rhoddi ffurf allanol, faterol, i'r hyn ydoedd erioed mewn gwirionedd. Ateb Godet yw fod y gair "cnawd" yn "dynodi cyfanrwydd ei natur ddynol, yn rhinwedd yr hon y gallai ddyoddef a mwynhau dedwyddwch . . . . fel ninau. Ni fuasai i'r frawddeg *ánthrōpŏs ĕgĕnētŏ, dyfod yn ddyn*, roddi mynegiad mor gywir i'r drychfeddwl. Desgrifiasai yr Iesu fel personoliaeth ddynol bendant; ond gallasai y Person hwn fod wedi cymeryd iddo ei hun sefyllfa eithriadol. Dymunai Ioan osod y drychfeddwl hwn o'r naill du, er mwyn haeru cyffelybrwydd hollol ei natur a'i ddull Ef o fodoli â'r eiddom ni." Ond ymddengys i ni fod Godet yn sefyll yn fyr ar drothwy y gwir eglurhâd, sef fod Ioan am ddysgu yma gyffelybrwydd hollol yr Arglwydd Iesu yn ei natur a'i amgylchiadau i ni, ond osgoa y gair "dyn" am ei fod yn enw personol, a defnyddir y gair "cnawd" am ei fod yn enw anmhersonol. Pe dywedasai fod y "Gair wedi ei wneyd yn ddyn," gallesid casglu iddo ddyfod yn berson dynol; ond wrth ddweyd iddo ddyfod yn "gnawd," tra yn dysgu iddo gymeryd y natur ddynol, y mae yn cau allan y drychfeddwl iddo gymeryd person dynol. Diau mai dyma y rheswm am unffurfiaeth iaith y Test. Newydd ar yr athrawiaeth bwysig hon.

Cytunai Philo i raddau pell â'r tair adnod ar ddeg flaenorol; ond yma amlygir y gwahaniaeth hanfodol rhwng Ioan a Philo. Yn marn yr olaf a'r athroniaeth a gynrychiolai, yr oedd y cnawd fel y mae yn fater yn hanfodol ddrwg; a rhwng Duw a mater yr oedd rhyfel diddechreu a diddiwedd. Yn ol ei gyfundrefn ef ni allasai Duw ddyfod yn gnawd heb ddyfod hefyd yn bechadur, yr hyn ni ellid ei feddwl am foment. Gan hyny, yr oedd ymgnawdoliad gwirioneddol o du Duw yn anmhosibl. Ond coledda Ioan syniadau cywirach am y "cnawd,"—creadur ydyw mater o waith Duw; am hyny ni all fod mater yn wreiddiol ddrwg. Gwna hyn ar dir moesoldeb yr Ymgnawdoliad yn bosibl. "Y Gair a wnaethpwyd yn gnawd." Crybwyllir y rhan faterol, isaf, o ddyn; nid i ddangos gwaeledd y natur ddynol, fel y dysga Calvin, na'i gwendid a'i bod yn agored i ddyoddef, fel y dysga Olshausen, Tholuck, a Hengstenberg; ond i ddangos gwirioneddolrwydd yr Ymgnawdoliad. Nid ymddangosiad mohono, ond hanes; nid ffug, ond ffaith.

2. Ond wrth ddyfod yn gnawd, ni pheidiodd y Gair a bod yr hyn ydoedd o'r blaen. Ymostyngiad sydd yma, ac nid dadblygiad,—Duw yn dyfod i lawr, ac nid dynoliaeth yn myned i fynu. Nid y cnawd a aeth yn Air, ond y Gair a ddaeth yn gnawd. Nid tyfu *o'r* cnawd, ond disgyn *i'r* cnawd, a wnaeth yr Arglwydd Iesu. Er hyny, parhaodd i fod yr hyn ydoedd o'r dechreuad. Y mae sefyllfa dduwinyddol yr oes yn galw am bwyslais arbenig ar y ffurf hon ar y gwirionedd. Megis yr oedd tuedd mewn rhai o'r duwinyddion henafol i ddysgu undod person y Gwaredwr trwy wadu iddo natur ddynol berffaith, felly dengys duwinyddion diweddar duedd i ddysgu ei undod trwy wadu cyfanrwydd ei Dduwdod. Dyna y ddysgeidiaeth a gysylltir ag athrawiaeth y Gwaghâd *(kenosis)*, yr hon y mae Godet, yn ei esboniad, yn ei sylfaenu ar y ferf "daeth"—"Y Gair a *ddaeth* yn gnawd," a daeth yn y fath fodd ag i amddifadu ei hun o rai o'i briodoliaethau cyntefig fel Duw. Nid yn unig daeth yr hyn nad ydoedd o'r blaen, ond peidiodd a bod, mewn ystyron pwysig, yr hyn ydoedd o'r dechreuad. Mỳn ef ac esbonwyr eraill o gyffelyb feddwl fod y priodoliaethau dwyfol a berthynent iddo yn eu hanfeidroldeb yn ei gyn-hanfodiad, yn yr Ymgnawdoliad wedi cymeryd terfyn dynol, meidrol. Nid yn unig haerant fod ei allu a'i wybodaeth yn derfynol, ond hefyd ei sancteiddrwydd a'i gariad. "Human holiness" y galwant ei sancteiddrwydd; ac y mae ganddynt yr un rhesymau dros roddi terfyn ar ei briodoliaethau moesol ag sydd dros roddi terfyn ar ei briodoliaethau naturiol. Ond y mae mwyafrif duwinyddion Prydain, ag sydd yn perthyn i'r adran hon o esbonwyr, yn hollol anathronyddol i'n bryd ni, am dynu llinell wahaniaethol rhwng y priodoliaethau naturiol a'r priodoliaethau moesol, ac yn dysgu iddo ymddihatru o'r rhai cyntaf, sef ei hollalluogrwydd, ei hollwybodaeth, a'i hollbresenoldeb; eithr iddo ddàl gafael yn y rhai moesol, sef ei gariad a'i sancteiddrwydd. Y maent trwy hyny yn rhanu Duw, ac nid yw Duw yr Ymgnawdoliad yn Dduw cyfan, perffaith. Er mwyn gwneyd y Duw-ddyn yn fwy amgyffredadwy i reswm dynol, gwedir rhan, a rhan helaeth, o'r dwyfol ynddo. Ond nid dadrys y cwlwm yw hynyna, eithr yn hytrach ei dòri. Gellir gofyn ar dir athroniaeth, Paham y dysgir fod y priodoleddau naturiol yn llai angenrheidiol i Dduw na'i briodoleddau moesol? Y mae yn wir fod cymeriad yn fwy pwysig na bodolaeth i Dduw yn gystal ag i ddynion; ond y mae cymeriad yn anmhosibl ar wahân i fôd fel sylfaen iddo. "Ysbryd yw Duw:" nid drychfeddwl, ond Bôd sylweddol; ac nis gall Bôd hanfodi, yn enwedig Bôd anfeidrol *berffaith* heb ei *berffeithiau*. Duw heb hollwybodaeth, hollalluogrwydd, a hollbresenoldeb sydd lai na Duw; nid Duw mohono, ond creadur. "Beth yw y priodoliaethau dwyfol? Ai nid ansoddau hanfodol *(essential qualities)* y Ddwyfol Natur? A all unrhyw un sydd a'i natur yn ddwyfol fod heb y priodoliaethau dwyfol? I Grist wâghau ei hun o'i briodoliaethau a fuasai iddo annwyfoli ei hun, ei wneuthur yn ddyn yn y fath fodd ag i fod yn *ddim mwy na dyn*. Os nad oedd Crist yn meddu ar briodoliaethau dwyfol, pa fodd y gallasai fod yn amgen na dyn? Dirgelwch yr undeb rhwng y dwyfol a'r dynol yn y Duw-ddyn nid ydym yn anturio ei egluro, yn gymaint nad ydym yn abl i'w amgyffred; ond y mae yn fater o ddatguddiad na ddarfu i Grist fel dyn beidio a bod yn Dduw, ac y mae ffydd, heb gecraeth, yn derbyn y datguddiad" (Proff. McCaig).

plith ni, (ac ni a welsom ei ogoniant ef, gogoniant megis

---

Nis gallwn symio i fynu athrawiaeth fawr yr Ymgnawdoliad yn well nag yn y dyfyniad canlynol o'r ysgrifenydd clir a dwfn, Richard Hooker (*Eccles. Pol.*, Bk. iv. 54): "Nid oes ond pedwar peth yn cyd-gyfarfod i wneuthur yn gyflawn yr oll ag ydyw ein Harglwydd Iesu Grist: ei Dduwdod, ei ddyndod, undeb y ddau, a gwahaniaeth y naill oddiwrth y llall wedi eu cysylltu yn un. Pedair o brif heresiau sydd yn bod, y rhai yn y pethau hyn a wrthsafasant y gwirionedd: Ariaid trwy osod eu hunain yn gryf *(bending themselves)* yn erbyn Duwdod Crist; Apollinariaid trwy anffurfio a chamddehongli yr hyn sydd yn perthyn i'w natur ddynol; Nestoriaid trwy rwygo Crist, a'i ranu yn ddau berson; canlynwyr Eutyches trwy gymysgu yn ei berson y naturiaethau hyny y dylent eu gwahaniaethu. Yn erbyn y rhai hyn cynaliwyd pedair o Gynghorau Cyffredinol tra enwog yn yr hen amseroedd: Cynghor Nicea i benderfynu yn erbyn yr Ariaid; Cynghor Caercystenyn yn erbyn yr Apollinariaid; Cynghor Ephesus yn erbyn y Nestoriaid; a Chynghor Chalcedon yn erbyn yr Eutychiaid. Mewn pedwar gair, *alēthōs*, *tĕlĕōs*, *adiairetōs*, *asunchutōs*,– yn wirioneddol, yn berffaith, yn anwahanol, yn ddigymysg; y cyntaf yn arwyddocau ei fod yn Dduw, yr ail ei fod yn ddyn, y trydydd ei fod o'r ddau yn un, a'r pedwerydd ei fod yn parhau yn yr un hwnw yn ddau; ni a allwn yn gyflawn mewn ffordd o dalfyriad gynwys pa beth bynag y mae henafiaeth wedi ei draethu naill ai mewn datganiad o'r ffydd Gristionogol, neu mewn gwrthwynebiad i'r heresiau rhagddywededig. O fewn cylch y pedwar pen yma, gallaf ddywedyd yn wirioneddol fod yn hawdd cynwys pob heresiau nad ydynt yn cyffwrdd ond â Pherson Iesu Grist, pa bryd bynag y cyfodasant, ai yn y dyddiau diweddaf hyn, neu mewn rhyw oes flaenorol."

**Ac a babellodd yn ein plith ni.** Pabellu yw y gair, yr hwn a ddefnyddir gan Ioan unwaith yn ei efengyl a theirgwaith yn y Datguddiad. Amlwg yw fod Ioan yn meddwl am Israel yn trigo mewn pebyll yn yr anialwch, ac am Dduw yn yr Ail Berson yn trigo yn eu plith yn Mhabell y Cyfarfod. Felly yn awr y mae y Tragwyddol Air yn tabernaclu yn mhlith dynion, mewn pabell bridd fel hwythau. Trigodd ar y ddaear, aeth i mewn ac allan yn eu plith fel brawd o gnawd y brodyr. Gan nad yw pabell yn golygu preswylfod barhaus, ond yn hytrach am dymhor byr, tybia rhai yr amcanai Ioan gyfeirio at fyrder ei drigiad ar y ddaear; ond o braidd y mae y dybiaeth yn wir. Diau fod "pabellu" yn ngeiriaduraeth Ioan wedi enill ail ystyr—preswylio, yn annibynol ar feithder neu fyrder yr amser; ac y mae yn deilwng o sylw, bob tro y dygwydd y gair yn ysgrifeniadau Ioan, ei fod yn golygu parhâd, sefydlogrwydd. Yr oedd undeb Duw a dyn yn yr Iesu yn nes nag undeb enaid a chorph mewn dyn; gall angeu ddatod y diweddaf, ond nid y blaenaf. Yr oedd Efe yn Dduw-ddyn yn angeu, yn ngwaelod bedd, yn adgyfodi, a phery yn Dduw-ddyn am byth. Y mae yr undeb yn dragwyddol annatodol, mor agos nid yn unig fel nas datodir ef, ond fel nas gellir ei ddatod.

**A ni a welsom ei ogoniant Ef.** Nid yw o bwys dadleu a ddylasai y frawddeg hon fod mewn cromfachau ai peidio; ynddynt neu hebddynt y mae y meddwl yr un. Yr oedd y cyfeiriad at Babell y Cyfarfod yn y frawddeg flaenorol yn naturiol yn dwyn i'r meddwl y Gogoniant a drigai

yr Unig-anedig oddi wrth y Tad,) yn llawn gras a gwirionedd.

---

ynddi, yr hwn a alwai y Rabbiniaid Iuddewig yn Shekinah,—Dysgleirdeb gweledig i lygad y corph. A phan y tabernaclodd y Gair yn y cnawd, ni ddaeth heb roddi amlygiadau achlysurol o'i ogoniant. Diamheu fod cyfeiriad cyntaf yr ymadrodd hwn at y gogoniant ar Fynydd y Gweddnewidiad. Ond ni ddylid mewn un modd gau allan y drychfeddwl moesol,—gogoniant ei gymeriad fel ei hamlygid yn ei fywyd, a gogoniant ei natur fel ei hamlygid yn ei wyrthiau (ii. 11). Ac y mae "gweled" yn golygu edrych yn graff, edrych nes meddwl, meddwl nes credu, fel ag i gau allan y posiblrwydd o lygad-dwyll neu gam-syniad mewn barn.

**Gogoniant megis unig-anedig oddiwrth Dad.** Desgrifir yma ansawdd y gogoniant, gogoniant cyfaddas i'r unig-anedig Fab, gogoniant ag oedd yn weddus i hwnw, ond na weddai i neb arall. "Y mae gwahaniaeth rhwng seren a seren mewn gogoniant"; ond gogoniant Haul a welodd Ioan a'i gyd-apostolion. (1) Yr un gair sydd yma am "unig-anedig" ac a ddefnyddir yn Luc vii. 12, a viii. 42, am "unig fab ei fam," ac "unig ferch" y canwriad. Oherwydd paham casgla rhai nad yw yr ymadrodd yn golygu yma mwy nag anwyldeb, *ethical sonship*,—Iesu Grist yn unig Fab yn rhinwedd ei foesoldeb uchel a dilychwin. (2) Ond dengys yr adnod mai nid dyfod yn Fab a wnaeth fel y mae y credinwyr yn dyfod yn feibion, ond ei fod yn Fab mewn rhyw ystyr unig, arbenig. Y mae i Dduw feibion eraill, y mae llawer yn y dosbarth; ond ffurfia hwn ddosbarth ar ei ben ei hun—"unig-anedig Fab oddiwrth Dad." Ac y mae yn deilwng o sylw fod "Unig-anedig" yn air nodweddiadol o Ioan, yr hwn a'i defnyddia bedair gwaith, sef yma: iii. 16; iv. 18; 1 Ioan, iv. 9, ac nas defnyddir ef yn unman arall yn y Test. Newydd. Gair cyfatebol Paul yw "Cyntaf-anedig," Col. i. 15, 18; Rhuf. viii. 29; Heb. i. 6: ac y mae yn hynod nad yw y naill yn defnyddio hoff air y llall. Beth yw y gwahaniaeth? Y mae "Unig-anedig" yn dynodi perthynas y Gair â Duw, "Cyntaf-anedig" ei berthynas â'r greadigaeth. Beth a ddywedir yma sydd oddiwrth y Tad? Dywed Dodds mai y "gogoniant," ond gwell genym ni ddeall mai yr Unig-anedig sydd "oddiwrth y Tad." Mewn man arall dywedir ei fod "o'r Tad," ond yma "oddiwrth y Tad." Y mae "o'r Tad" yn arwyddocau y tragwyddol Genhedliad, ac yn wirionedd, er nad dyna y gwirionedd a ddysgir yn uniongyrchol yma. Y mae "oddiwrth y Tad" yn golygu o'i ymyl, o ger ei fron, ac yn dynodi commissiwn oddiwrth y Tad; ac am hyny defnyddir yr un ffurf-ymadrodd am y Bedyddiwr yn adn. 6. "O'r Tad"=dwyfol genhedliad; "oddiwrth y Tad"=dwyfol awdurdodiad.

**Yn llawn gras a gwirionedd.** Cysyllta Godet y frawddeg hon â'r "Gair"; Meyer a Luthardt â'r geiriau "trigo" neu "ogoniant." Nid yw o bwys mawr pa fodd eu cysylltir, gan yr erys y gwirionedd ymarferol yr un; ond mwy naturiol, debygid, yw ei chysylltu a "thrigo"—"ac a drigodd yn ein plith ni yn llawn gras a gwirionedd." Bernir fod y ddau air hyn yn cyfateb i'r ddau air a ddefnyddir cyn yr Ymgnawdoliad,—gras yn cyfateb i fywyd, a gwirionedd i oleuni. Dyma yr unig enghraipht

Ioan a dystiolaethodd am dano ef, ac a lefodd, gan 15
ddywedyd, Hwn oedd yr un y dywedais am dano, Yr hwn
sydd yn dyfod ar fy ol i, a aeth o'm blaen i: canys yr oedd

---

o'r gair "gras" (yn adn. 14, 16, 17), yn ysgrifeniadau Ioan oddigerth yn y cyfarchiadau epistolaidd arferol. Hoff air Ioan yw "cariad," tra mai "gras" yw hoff air Paul. Edrycha Paul ar yr iachawdwriaeth yn benaf oddiar safle annheilyngdod dyn; ac o'r safle hono gras sydd yn benaf yn y golwg,—yr hyn a rydd Duw i bechadur, nid yn ol mesur haeddiant y pechadur, ond yn ol mesur ei drugaredd anfeidrol ei hun. Ond edrycha Ioan ar iachawdwriaeth yn benaf oddiar safle natur Duw; ac o'r safle hono cariad i gyd sydd yn y golwg. Felly oddiar yr ochr ddynol gras ydyw; oddiar yr ochr ddwyfol cariad. "Gwirionedd"—nid gwirionedd yn gyferbyniol i dwyll neu ffug, er fod hyny o angenrheidrwydd yn gynwysedig, ond yn llawn sylwedd, y ffaith yn gymaint â'r drychfeddwl. Gras,—llawn sylweddoliad o'r teimladau dwyfol; gwirionedd,—llawn sylweddoliad o'r arfaethau dwyfol. Yr oedd eraill yn meddu ar ychydig o râs a gwirionedd; ond y mae hwn yn llawn o'r ddau, ac y mae ei lawnder Ef yn cynwys yr oll o ras a gwirionedd ag sydd mewn bod. Y mae y gras i gyd, a'r gwirionedd i gyd, yn ei lawnder Ef.

**ADN. 15. Y mae Ioan yn tystiolaethu am dano Ef, ac yn llefain.** Y mae defnyddiad yr amser presenol mewn hanes yn dangos naill ai dychymyg byw neu gof cryf; yn yr efengylwr cydgyfarfyddai y ddau. Pan yn hen wr yn Ephesus galwai i gof ddull ac edrychiad Ioan; y mae megis yn ei weled ac yn ei glywed, y mae ei daran-floedd yn y diffaethwch gynt yn adsain yn ei glustiau yn Ephesus. Tair gwaith yn y benod hon (adn. 15, 27, 30) yr adroddir ei dystiolaeth, canys tystiolaeth Ioan y Bedyddiwr fu yn foddion troedigaeth Ioan yr Efengylwr. Ond paham y dygir i mewn yma eto dystiolaeth y Bedyddiwr? Yn yr adnod flaenorol y mae yr awdwr wedi gwneyd gosodiad mawr a phwysig—Ymgnawdoliad yr Uniganedig Fab yn y dyn Crist Iesu. Yma dwg yn mlaen dystiolaeth y Bedyddiwr fod ei osodiad yn wir; ac yn yr adnod ddilynol, dwg yn mlaen ei dystiolaeth ei hunan a'i gyd-ddisgyblion,—tystiolaeth eu calonau yn ychwanegol at dystiolaeth eu meddyliau.

**Hwn oedd yr un y dywedais am dano.** Pa pryd y dywedodd nis gellir penderfynu i fanylrwydd, ailadrodd y mae yma yr hyn a ddywedodd mewn pregeth yn flaenorol. Ond y mae yn amlwg iddo lefaru y geiriau sydd yn dilyn y tro cyntaf cyn y Bedydd, a'r ail dro ar ol y Bedydd. Y mae dau eglurhâd yn cael eu cynyg i'r geiriau, gramadeg y rhai sydd yn dra dyrys, ac felly yn rhanu y beirniaid yn fân ddosbarthiadau. Er hyny, gellir casglu eu rhediad cyffredinol gyda graddau o sicrwydd. **Yr hwn sydd yn dyfod ar fy ol i**: h.y., mewn amser, sef o ran ei enedigaeth a'i weinidogaeth. **A aeth o'm blaen i.** Yn mha ystyr? (1) Mŷn Chrysostom, Tholuck, Olshausen, ac eraill, mai o'i flaen ef mewn urddas a theilyngdod; ac felly gwnant i'r un geiriau perthynasol feddwl un peth yn y frawddeg gyntaf, a meddwl peth arall yn yr ail. Y mae hynyna yn tueddu ar unwaith i greu amheuaeth am gywirdeb yr esboniadaeth. (2) Mŷn eraill mai at amser y cyfeiria y frawddeg gyntaf, ac mai at amser hefyd y cyfeiria yr ail, gan esbonio

16 efe o'm blaen i. Ac o'i gyflawnder ef y derbyniasom ni

---

fel y canlyn: "Yr hwn sydd yn dyfod ar fy ol i"—mewn amser, "a aeth o'm blaen i"—mewn amser, gan gyfeirio at ddyfodiad y Gair at y genedl Iuddewig yn natguddiad yr H. D. Dyna y golygiad a gefnogir gan Luther, Meyer, a Godet. "Yn erbyn yr esboniad hwn y mae dwy wrthddadl bwysig. (1) Nid yw y gair a gyfieithir 'aeth' yn briodol am *ddyfod* yn yr ystyr hwn; gair hollol wahanol sydd am *ddyfod* yn adn. 7 a 11." Ond perthyn i ni gyfaddef nad ydym yn teimlo fod nerth mawr yn yr wrthddadl hon, yn gymaint a bod ysgolheigion Groegaidd o'r radd uchaf yn pleidio y naill esboniad a'r llall. "(2) Pe buasid yn cyfeirio at y dyfodiad hwn o'i eiddo," sef ei ddyfodiad at y genedl Iuddewig, "nid yn unig gair arall, ond amser arall hefyd allesid ddisgwyl, sef yr anmherffaith; ond y perffaith sydd yma. Yr un gair ydyw, ac yn hollol yr un ffurf, a'r gair diweddaf am a 'wnaethpwyd' yn adn. 3. Gan hyny, *sydd yn bod* neu *sydd wedi dyfod i fod o'm blaen i* ydyw y meddwl. Nid dyfodiad parhaol, ond dyfodiad penodol yn y gorphenol, sydd yn aros yn ffaith hyd amser llefariad y geiriau." Ond ymddengys i ni mai gwendid yr wrthddadl hon yw cymeryd yn ganiataol nad oedd dyfodiad pendant i'r Gair at y genedl Hebreig dan yr H. D., ond mai dyfodiad graddol, cynyddol, ydoedd. Ond fe ddaeth y Gair mewn modd mor benodol, bendant, at genedl yr Israel yn y Cyfamod a wnaeth Duw â hi ar Sinai ag y daeth at eglwys y Test. Newydd yn yr Ymgnawdoliad; ac arwydd o'r dyfodiad hwnw a'i drigiad yn eu plith oedd y Shekinah. Nid dyfod yr ydoedd, ond daeth, a pharhaodd i amlygu ei bresenoldeb hyd ddyddiau y Bedyddiwr. Yr oedd ei ddyfodiad yn ffaith hanesyddol, bendant, yn y gorphenol, yn gymaint o ffaith a'i ddyfodiad yn y cnawd, ond fod dull y ddau ddyfodiad yn wahanol. Oherwydd paham tueddir ni i gymeryd y ddwy frawddeg yn eu hystyr amseryddol. **Canys yr oedd Efe o'm blaen i.** Y mae y Groeg yma yn hynod,—y gradd uchaf *(superlative degree)* yn cael ei ddefnyddio lle y disgwyliem yn naturiol y gradd cydmarol *(comparative degree)*; ond y mae yr ystyr ieithyddol, er hyny, yn weddol eglur. Ond beth yw y meddwl duwinyddol? Ymrana y dysgedigion eto. Y mae y rhai sydd yn dàl mai urddas a olygir yn yr ail frawddeg yn dehongli y frawddeg olaf yn yr un modd—"Yr oedd Efe o'm blaen i," sef mewn urddas neu anrhydedd. Ar y llaw arall, y mae yr esbonwyr sydd yn glynu wrth y drychfeddwl o amser trwy yr adnod yn deall y frawddeg hon yn yr un goleu: "Aeth o'm blaen i" mewn amser, "canys yr oedd Efe o'm blaen i." Yn yr adnodau blaenorol dysga Ioan yr Efengylwr gyn-hanfodiad yr Arglwydd Iesu; yma coffhâ fod Ioan y Bedyddiwr yn dysgu yr un athrawiaeth. Fel pe dywedasai y Bedyddiwr: "Er iddo gael ei eni ar fy ol i, eto yr oedd Efe yn bod o'm blaen i; ac am ei fod o'm blaen i, daeth yn weinidog i Israel o'm blaen i." Y mae yn canlyn nad yw athrawiaeth Ioan yr Efengylwr ond dadblygiad cyflawn o athrawiaeth Ioan y Bedyddiwr. Ond pa fodd y dysgodd y Bedyddiwr am gyn-hanfodiad a dwyfol fawredd y Messiah? Strauss, Weisse, a De Wette a atebant yn ddibetrus mai yr efengylwr sydd yma yn priodoli ei syniadau ei hunan iddo. Ond y mae ffordd ragorach i gyfrif am hyn, sef fod y Bedyddiwr trwy efrydu Mal. iii. 1, a rhanau

eraill o'r Hen Destament, a thrwy ddatguddiedigaethau yr Ysbryd Glân, at y rhai y cyfeiria yn arbenig yn adn. 33, wedi cyrhaedd y tir uchel hwn. Cofier fod y Bedyddiwr yn fwy nag athraw, ei fod yn brophwyd; a chynwys hyn ei fod yn tystiolaethu megis ei cynhyrfid gan yr Ysbryd. Yr oedd yn ddyn llawer mwy goleuedig a diwylliedig nag y mae yn arferol genym ni ei bortreadu. Ac y mae y cyfeiriadau mynych yn yr efengyl hon ato fel yn tystiolaethu yn mblaid mawredd yr Arglwydd Iesu, yn gadael argraph ar y meddwl fod dysgyblion y Bedyddiwr yn blino yr eglwys ieuangc trwy ei ddercharfu ef ar draul darostwng yr Iesu, ac yn gosod y naill i fyny fel cydymgeisydd â'r llall. Nid oedd dim cydymgais *(rivalry)* rhyngddynt, ebe Ioan yr Efengylwr,—tystiolaethu i gyn-hanfodiad, ac felly i fawredd uwchraddol Crist oedd gwaith Ioan y Bedyddiwr.

**ADN. 16. Ac o'i gyflawnder Ef.** Beth yw swyddogaeth y cysylltair "ac"? Etyb rhai fod y cysylltiad yn uniongyrchol ag adn. 14: "yn llawn gras a gwirionedd," "ac o'i gyflawnder Ef," &c. Yn unol a hyn edrychir ar adn. 15 fel math o ychwanegiad cromfachol, ac yn tori ar gysondeb yr ymresymiad. Ond gwell yn ddiau yw edrych ar yr adnod hon mewn cysylltiad uniongyrchol â'r adnod flaenorol. Yn adn. 14, gesyd yr apostol i lawr y gwirionedd sylfaenol fod y Mab wedi ymgnawdoli a'i fod yn ddatguddiad cyflawn o'r Tad. I argymhell y gwirionedd hwn dwg yn mlaen yn adn. 15 dystiolaeth Ioan i ddwyfoldeb Iesu Grist, ac yn yr adnod hon dwg yn mlaen ei dystiolaeth ef ei hun a'i gyd-ddysgyblion, sylfaenedig ar eu profiad eu hunain. "Ac," fel prawf ychwanegol, "o'i gyflawnder ef y derbyniasom ni oll, a gras am ras." Gwyddent fod adn. 14 yn wir, am ei bod wedi gwirio ei hunan, nid yn unig i'w rheswm, ond i'w profiad. Gan hyny, tra y mae yr "ac" yn cysylltu tystiolaeth Ioan yr Efengylwr a thystiolaeth Ioan y Bedyddiwr, y mae hefyd yn cynwys rheswm dros wirionedd y gosodiad yn adn. 14, yr hyn feallai a gyfrif fod lluaws o'r prif lawysgrifau yn darllen "canys" yn lle "ac." Y mae Griesbach, Tischendorf, Meyer, a Westcott yn ffafrio "canys;" a dyna y darlleniad yn y Cyf. Diw. Y mae yr awdwr yn cymeryd gafael yn yr ansoddair "llawn" yn adn. 14, ac yn ei droi yn sylweddair, "cyflawnder," yn yr adnod hon. Yr oedd y term "cyflawnder" (*plērōma*) yn air digon cyffredin yn nuwinyddiaeth yr oes hono yn mhlith duwinyddion Alexandria a Gnosticiaid Asia Leiaf, y rhai a'i defnyddient i ddynodi cyfanswm y priodoliaethau dwyfol, y cyflawnder dihysbydd o egnion a rhinweddau a drigent yn eu tarddle yn y Natur Ddwyfol, ond y rhai a ddylifent i'r byd trwy gyfryngau lawer, y rhai a alwent hwy yn "eiriau" neu yn "eoniaid"—cadwen o is-dduwiau. Cymer Paul a Ioan afael yn y gair cynwysfawr hwn, gan ei gymhwyso at y Logos mawr ymgnawdoledig, a'r unig Logos oedd mewn bod—yr Unig-anedig oddiwrth y Tad. "Ynddo Ef y preswylia holl gyflawnder y Duwdod yn gorphorol."

**Y derbyniasom ni oll, a gras am ras.** Felly nid digon sydd ynddo, ond mwy na digon; nid cyflawnder llestr, ond cyflawnder ffynhon. Prawf o'i gyflawnder anfeidrol Ef yw, ein bod "ni oll" wedi derbyn o hono; ac nid yn brin, eithr mewn helaethrwydd,—"gras am ras." Rhaid fod llawnder ynddo cyn y medrai gyfranu i "ni oll." Y mae eisieu llawer i lanw un; ond y mae digon ynddo Ef i'n llanw "ni oll, a gras am ras." Llawer o ddyfalu sydd wedi bod am

17 oll, a gras am ras. Canys y gyfraith a roddwyd trwy
Moses, ond y gras a'r gwirionedd a ddaeth trwy Iesu

---

ystyr yr ymadrodd hwn. Dysg rhai mai y meddwl yw, megis y mae y baban yn meddu aelod am aelod i'r tad, felly y mae y credadyn yn derbyn gras i'w galon, cyfatebol i bob gras sydd yn mherson y Gwaredwr—gras tufewnol (*subjective*) yn y galon am bob gras gwrthddrychol (*objective*) sydd yn Nghrist, gras ar gyfer gras. Ond y mae esbonwyr diweddar yn unfryd mai tufewnol yw y ddau ras. "Y mae i ras am ras (*chárin antì cháritŏs*) yma ystyr arbenig, yr hwn, pa fodd bynag, a ellir ei olrhain i'w ystyr gyntaf: gras ar gyfer, mewn mesur cyfartal i, ras; mesur dilynol o ras yn lle yr un a'i blaenorai,—ac felly gras didor, yn cael ei adnewyddu yn ddiatal" (*Winer's Grammar of N.T. p. 382*). Yn boblogaidd gellir ei egluro yn ras ar ol gras, gras ar ben gras, digon o ras. Y mae cymaint o ras yn y Gair ymgnawdoledig fel y medr gyfranu mewn cyflawnder pob gras ag sydd ar bechadur ei anghen o ddechreuad ei yrfa ar y ddaear hyd ei berffeithiad yn y nefoedd. Medr ein cyflenwi a phob gras; nid pob gras sydd yn anghen ar un, eithr pob gras sydd yn anghen arnom "ni oll." Felly y mae yn gyffelyb mewn meddwl i Col. ii. 10, "Ac yr ydych chwi wedi eich cyflawni ynddo Ef," h.y. nid oes eisieu i chwi fyned at un athraw arall nac un gyfundrefn arall; y mae Iesu Grist yn cynwys pob peth sydd arnoch ei eisieu, pob gwirionedd a phob gras, oblegid ynddo Ef y mae cyflawnder y Duwdod yn preswylio yn gorphorol, ac ynddo Ef yr ydych wedi eich cyflawni,—nid oes eisieu ymofyn dim mewn un drysorfa arall. "**Y ni oll**;" "**gras am ras.**"

**ADN. 17. Canys y gyfraith a roddwyd trwy Moses.** Nid ganddo, ond trwyddo; gan Dduw, ond trwy Moses. Nid Moses oedd awdwr y gyfraith, ond Duw; nid oedd Moses amgen na chyfrwng ei throsglwyddiad i'r genedl. Os yn Nghrist y mae yr holl ras a'r holl wirionedd, gallasai yr Iuddewon meddylgar ofyn, Pa swyddogaeth ynte sydd yn aros i Moses, pa fudd oedd o'r Hen Oruchwyliaeth? Yn yr adnod hon, gan hyny, dygir Moses a Christ, yr Hen Oruchwyliaeth a'r Newydd, i gyferbyniad. Cyfundrefn y gofyn oedd eiddo Moses, cyfundrefn y rhoddi yw eiddo Crist. Gofyn oedd y gyfraith; yr oedd y ddeddf foesol a'r seremoniol yn "ein herbyn ni, yn wrthwyneb i ni." A oedd dim gras ynte yn cael ei estyn i bechadur dan yr H. D.? Oedd; eithr nid trwy gyfrwng y ddeddf, ond yn rhinwedd yr addewid a wnaethpwyd i Abraham; nid yn herwydd Cyfamod Sinai, ond yn rhinwedd y Cyfamod Gras a wnaethpwyd â'r patriarch (Gal. iii. 14—19). Yr oedd yr hen dduwinyddion yn berffaith gywir pan yn dysgu mai eiddo ar goel oedd bendithion yr Hen Oruchwyliaeth, nes i'r Arglwydd Iesu ymddangos a llanw y gofynion oll.

**Ond y gras a'r gwirionedd a ddaeth trwy Iesu Grist.** Dyma y tro cyntaf yr enwir Iesu Grist. Y mae un gwirionedd mawr fel gwythïen euraidd yn rhedeg trwy holl hanes y byd—Gair, Bywyd, Goleuni, Unig-anedig, Mab, Iesu Grist. "Gras a gwirionedd a ddaethant i fod trwy Iesu Grist"; hebddo Ef, y tu allan iddo Ef, ni fuasent ond drychfeddyliau gwâg. Cael ei rhoddi a wnaeth y ddeddf trwy Moses; ond yr oedd yn

Grist. Ni welodd neb Dduw erioed: yr unig-anedig Fab, 18

bod o'r blaen mewn egwyddorion mawr tragwyddol, yn annibynol ar Moses. Nid oedd y gyfraith yn dibynu ar Moses am ei bod na'i chyhoeddiad; gallesid ei rhoddi, pe gwelsai Duw yn dda, trwy ryw ddyn mawr arall, Josua neu Samuel; y mae Moses a'r gyfraith yn ddau beth gwahanol. Ond yr oedd gras a gwirionedd yn un (*identical*) â Iesu Grist,—nis gallent ddod trwy neb arall. Iesu Grist fel tragwyddol Fab y Tad a allasai roddi bod a mynegiad iddynt; daethant i fod ac eglurder trwyddo Ef. Drychfeddyliau oeddynt o'r blaen; ond yn Iesu Grist derbyniasant sylweddoliad llawn—daethant yn drefn iachawdwriaeth. Trowyd y teimladau o gariad rhad a'r meddyliau o hedd yn ffeithiau mawr anwadadwy yn hanes y byd.

**ADN. 18. Duw ni welodd neb erioed.** Yn y Groeg Duw yw y gair cyntaf yn y frawddeg i arwyddocau mai arno ef y dylid taflu y pwyslais. Beth yw ystyr y "gweled" yma? (1) Ni welwyd ef gan lygad corphorol. Darllenwn eilwaith a thrachefn am ymddangosiadau Duw (*theophanies*) i'r patriarchiaid a'r prophwydi; ond nid ydoedd yno wir sylwedd materol; ac nid Duw Dad ychwaith, ond y Duw Fab, oedd yn ymddangos. (2) Ni welwyd Duw erioed gan lygad y meddwl, ni chafodd neb trwy chwilio afael ar Dduw fel ag i fedru cyhoeddi gyda sicrwydd beth ydoedd a pha beth a fwriadai wneyd. Gan hyny daw yr adnod hon i mewn fel rheswm paham na ddaeth gras a gwirionedd trwy neb ond trwy Iesu Grist,—Efe yn unig a welodd Dduw yn llawn ystyr yr ymadrodd.

**Yr unig-genedledig Fab.** (1) Darlleniad arall yw "unig-genedledig Dduw." Dyna y darlleniad a ffafrir gan y tair llawysgrif henaf, sef llawysgrifau Sinai, Alexandria, a'r Vatican, y rhai a ystyrir y teilyngaf o ymddiried. Felly hefyd amryw o'r cyfieithiadau henafol, ynghyd a bron yr oll o'r Tadau Groegaidd. Oherwydd paham mabwysiedir ef yn ddibetrus gan Westcott a Hort, yr awdurdodau uchaf yn Mhrydain ar y mater hwn. Y mae y rhai sydd yn gwrthwynebu y darlleniad hwn yn awgrymu mai zel ormodol yn y canrifoedd cyntaf, dros yr athrawiaeth o dragwyddol genhedliad a barodd osod i lawr yma yr "unig-genedledig Dduw" yn lle yr "unig-genedledig Fab." Eithr, os gwnaed cyfnewidiad, nid o zel dduwinyddol o *blaid* athrawiaeth y Tragwyddol Genhedliad, ond o zel dduwinyddol yn ei *herbyn*, y tarddodd hyny, canys gwyddis fod Arius a'i ganlynwyr yn hollol foddlon i alw yr Arglwydd Iesu yn "unig-genedledig Dduw," oblegid felly profent mai ail-dduw oedd, ac nid y Duw cyntaf, gwreiddiol, di-genedledig; ond ni chytunent ar un cyfrif i'w alw yn "unig-genedledig Fab," canys buasai hyny yn gyfaddefiad o athrawiaeth y Drindod, a bod y Mab o'r un sylwedd â'r Tad. Profa hanesyddiaeth mai Athanasius, ac nid Arius, oedd yn wrthwynebol i alw yr Arglwydd Iesu yn "unig-genedledig Dduw." Y mae yn canlyn, os gwnaed cyfnewidiad yn y copïau gwreiddiol, iddo gael ei wneyd yn ffafr Ariaeth, ac nid yn ffafr uniongrededd. (2). Ar y llaw arall, y mae llu o ddysgedigion yn pleidio y darlleniad yn y Beibl Cymraeg a Saesonaeg a'r mwyafrif o'r llawysgrifau Lladinaidd, ac yn eu plith Scrivener, Tischendorf, Meyer, a Godet. Symia Scrivener ei ymresymiad i fyny gyda dyfyniad o Alford:

yr hwn sydd yn mynwes y Tad, hwnnw a'i hysbysodd *ef.*

---

"Buasem, wrth fabwysiadu 'unig-anedig Dduw,' ac nid 'unig-anedig Fab,' yn dwyn gerwinder i mewn i'r frawddeg, a therm newydd (i ni yn yr oes hon) a dyeithr i'r Ysgrythyr." Ein casgliad ni yw fod y profion allanol yn pleidio y darlleniad "unig-anedig Dduw;" ond fod y profion tufewnol, sylfaenedig ar arfer y Test. Newydd, yn pleidio y darlleniad "unig-anedig Fab." Am hyny, gwell ar y cyfan yw peidio aflonyddu ar ymadroddion arferol duwinyddiaeth. Yma, gan hyny, cawn y ddau air mawr, Mab a Thad, ag sydd megis allweddau yn datgloi dirgelion yr efengyl hon. Dywedir fod "y Tad" neu "Fy Nhad" yn dygwydd ynddi dros gant o weithiau, tra nad yw "Ein Tad" yn dygwydd unwaith,—yr hyn a awgryma fod perthynas neillduol ac arbenig rhwng Iesu Grist fel Mab a Duw fel Tad.

**Yr hwn sydd yn mynwes y Tad.** Y mae yr arddodiad "yn" (*ĕis*) yn golygu mudiad *tuagat* y Fynwes, a'r ferf "sydd" (*ōn*) yn dynodi gorphwysfa yn y fynwes—"*a preposition of motion connected with a verb of rest.*" Yn adn. 1 yr arddodiad yw *prŏs*, yma *ĕis*, a'r ddau yn golygu *tuagat*. Paham y cyfnewidiad? Am fod y cyntaf o flaen person, yr olaf o flaen lle; y cyntaf gyda neu tuagat Duw (person), yr olaf yn neu tuagat y Fynwes (lle). Beth ynte a feddylir yma wrth fod y Mab yn mynwes y Tad? Dadleua Meyer a Luthardt fod y cyfeiriad at yr Arglwydd Iesu ar ol ei esgyniad, yn mynwes y Tad, lle yr ydoedd pan yr ysgrifenai Ioan ei efengyl. Dealla eraill yr ymadrodd fel yn gosod allan berthynas angenrheidiol y Mab a'r Tad yn yr Hanfod Ddwyfol cyn ei Ymgnawdoliad. Ond gwell yn ddiau yw cymeryd y ferf "sydd" fel presenol didor (*timeless present*), yn gosod allan y cymundeb parhaus o ran bywyd a meddwl rhwng y Mab a'r Tad; ac felly dynoda gymhwysder hanfodol, gwreiddiol, yr Arglwydd Iesu i ddatguddio Duw. Yr oedd Efe cyn, yn, ac wedi yr Ymgnawdoliad yn mynwes y Tad, cartrefle y dwyfol gariad a'r dwyfol ddirgelion. Trigai y Mab lle y trigai y meddyliau o hedd—yn y fynwes, dan yr un gronglwyd a'u gilydd. Nid oedd neb a allasai ddyweyd pa beth oedd y tu fewn i'r fynwes ond yr hwn a ddaeth allan o honi: yn y dyfod allan y datguddiwyd pa beth oedd i mewn. Yr oedd y Mab yn y fynwes, yn symud tuag i mewn nes cyrhaedd i'w phellderoedd, a gwybod yr holl deimladau a'r holl feddyliau a gynwysai; gan hyny, pan y daeth allan meddai ar bob cymhwysder i'w datguddio; ac o holl breswylwyr nefoedd a daear, Efe yn unig a feddai y cymhwysder gofynol. Efe yn unig oedd yn gweled Duw; Efe yn unig oedd yn gweled Duw o'r tu fewn; Efe yn unig oedd yn gweled Duw trwyddo, i ddyfnderoedd ei fynwes a phellderoedd ei hanfod. Oherwydd paham yr oedd Ef yn abl i ddatguddio Duw, a'r oll o Dduw, yn ei ras a'i wirionedd.

**Hwnw a'i hysbysodd.** "Hwnw" yn bwysleisiol,—hwnw, a neb arall, am mai hwnw yn unig oedd wedi gweled Duw. Y mae y gair "hysbysu" (*ĕxtēnēsatŏ*) yn golygu, nid ymresymu, ond adrodd agor trwy adrodd, fel y gwelir yn Luc xxiv. 35; Act. xxi. 19; Act. xxv. 14. Adrodd am ei Dad wnai yr Arglwydd Iesu, nid ymresymu fel yr athronwyr na dyfalu fel y beirdd. Iesu Grist yn ei fywyd, ei weinidogaeth, a'i angeu,—hwnw a'i heglurodd Ef. Nid yw yr "Ef" yn y

A hon yw tystiolaeth Ioan, pan anfonodd yr Iuddewon 19

---

gwreiddiol, y mae yr ymadrodd yn ben agored. Beth ynte oedd y gwirionedd sylfaenol yn y datguddiad a wnaeth? Ei fod Ef yn Fab, a chan hyny fod Duw yn Dad. Yn y "dyfod allan" y gwelwyd beth oedd erioed i mewn. Pan y daeth Mab allan o'r Hanfod, gwelodd y byd y rhaid fod Tad i mewn; yna deallodd fod Tad a Mab yn bod yn dragwyddol o fewn cylch y Duwdod. Y mae Duw yn Dad yn nyfnderoedd ei natur. Nid oes le i'r Dadoliaeth dufewnol hon mewn Undodiaeth, am nad oes le ynddi i'r Ymgnawdoliad. Er fod Undodiaid yn ymhelaethu yn fwy na neb ar gymeriad tadol Duw, nid yw Duw Undodiaeth yn Dad yn yr ystyr ddyfnaf; nid yw yn Dad yn nyfnderoedd ei natur, dim ond yn ei berthynas â'r byd. Yn ol Undodiaeth cyn creu nid oedd Duw yn Dad; difoder y greadigaeth, a pheidia eto a bod yn Dad. Ond os credwn yn Ymgnawdoliad y Mab, rhaid i ni gredu yn Nhadoliaeth hanfodol Duw. O ganlyniad, y mae Duw Trindodiaeth yn anhraethol ragorach na Duw Undodiaeth. Y mae y cyntaf yn Dad o angenrheidrwydd, ac felly yn Dad yn nyfnderoedd ei fod, o dragwyddoldeb i dragwyddoldeb, tra nad yw yr olaf ond Tad yn ei berthynas â'i greaduriaid,—nid oedd yn Dad erioed; diflaned y cread, a pheidia a bod yn Dad eto.

---

## TYSTIOLIAETH IOAN FEDYDDIWR. ADN. 19—36.

Y mae tystiolaeth Ioan Fedyddiwr yn cael lle helaethach o lawer yn yr efengyl hon nag a fuasem yn ddisgwyl yn mlaen llaw, yr hyn a brawf fod rhyw amgylchiadau yn yr Eglwys y ganrif gyntaf yn galw am hyny, y rhai nad yw haneswyr eto wedi eu dwyn i lawn oleuni. Ymddengys yr edrychid ar hawliau Ioan yn anghyson a hawliau Crist. Y mae tystiolaeth bresenol Ioan yn estyn dros dri niwrnod dilynol, ac yn rhanu ei hun yn dair rhan. Yn gyntaf, tystiolaeth Ioan i'r ddirprwyaeth o Jerusalem y diwrnod cyntaf (19—29). Yn ail, ei dystiolaeth i'r gynulleidfa oedd yn ei wrandaw yr ail ddiwrnod (29—34). Yn drydydd, ei dystiolaeth anghyhoedd i ddau o'i ddisgyblion y trydydd diwrnod (35, 36).

### EI DYSTIOLAETH I'R DDIRPRWYAETH. ADN. 19—29.

**ADN. 19 A hon yw tystiolaeth Ioan.** Edrych Origen ar adn. 15—18, fel geiriau Ioan Fedyddiwr, ac felly cysyllta efe y frawddeg hon â'r adnodau blaenorol, gan roddi *full stop* ar ol Ioan. Ond gwell yn ddiau yw y darlleniad sydd yn edrych ar yr adnod hon fel dechreuad yr hanes dilynol. Ond paham y dechreuir yr hanes â'r cysylltair "a"? Gan fod cyfeiriad ddwywaith yn y Rhaglith, sef yn adn. 6 a 15, at dystiolaeth y Bedyddiwr, y mae yr efengylwr yma yn gosod y dystiolaeth yn ei hamgylchoedd hanesyddol, a thrwy hyny ei chysylltu mor agos ag oedd bosibl â'r hyn sydd eisoes wedi ei ysgrifenu.

**Pan anfonodd yr Iuddewon o Jerusalem offeiriaid a Lefiaid i ofyn iddo.** H.y. o Jerusalem yr anfonwyd hwynt. Defnyddir yr enw

"Iuddewon" dros 70 o weithiau yn yr efengyl hon, tra na ddefnyddir ef ond 4 gwaith yn yr holl efengylau eraill, unwaith gan Matthew (xxviii. 15), unwaith gan Marc (viii. 3), a dwywaith gan Luc (vi. 3; xxvii. 51). Meddwl cyntaf yr enw yw disgynyddion llwyth Iudah, fel y gwelir wrth argraphu y gair fel hyn, yr hon yw y ffordd briodol; ond gan mai hwn oedd y llwyth brenhinol, ac mai efe, ar ol gwasgariad y Deg Llwyth, oedd yn cyfansoddi mwyafrif y bobl, cymhwyswyd yr enw at yr holl genedl, eithr gyda chyfeiriad arbenig at drigolion Jerusalem a'r ardaloedd cyfagos. Ond nis gellir lai na theimlo fod yr enw yn yr efengyl hon yn meddu ar ystyr foesol yn gystal a chenedlaethol, ac yn awgrymu gwrthwynebrwydd y genedl, yn enwedig yn ei swyddogion, i'r Messiah. Y mae dau reswm dros fynychiad yr enw yn yr efengyl hon: (1) gweinidogaeth Crist yn Judea sydd yn cael ei brif sylw, tra mai ei weinidogaeth yn Galilea yw prif fater yr efengylau eraill; (2) ysgrifenwyd hi yn Ephesus, yn mhell o'r wlad lle y cymerodd y digwyddiadau a groniclir le, ac ar ol dinystr Jerusalem, pan nad oedd yr "Iuddewon" amgen nag enw yn hanesyddiaeth y gorphenol. Barn mwyafrif yr esbonwyr yw fod y ddirprwyaeth hon yn swyddogol, a rhydd hyn bwys arbenig ar dystiolaeth Ioan. Rhybuddiwyd y genedl yn ei swyddogion uchaf, yn gystal ag yn nghyfangorph ei haelodau, yn nechreuad ei weinidogaeth, o bresenoldeb y Messiah yn eu plith. Gwrthodasant Ef a llygaid agored (Ioan ix. 41). Ymddengys mai y Sanhedrin (ffurf Hebraeg ar y gair Groeg *sunĕdriŏn*), Cynghor uchaf y genedl mewn materion eglwysig, oedd yn awdurdodi y ddirprwyaeth i fyned. Faint oedd nifer aelodau y Sanhedrin sydd yn parhau yn gwestiwn o ddadl: mŷn rhai mai 72, eraill 70; ond y mwyafrif a ddywedant 71. Fel hyn y dywed y *Mishna* (San. i. 6): "Y Sanhedrin Fawr a gynwysai 71 o farnwyr. Pa fodd y profir hyn? Oddiwrth Num. xi. 16, lle y dywedir, 'Casgl i mi ddeng wr a thri ugain o henuriaid Israel.' At y rhai hyn chwaneger Moses, a ni a gawn 71. Er hyny, y Rabbi Judah a ddywed 70." Gwnaed yr aelodau i fynu, fel y tybir, o 24 o offeiriaid; 24 o henuriaid—cynrychiolwyr y bobl; a 22 o ysgrifenyddion neu gyfreithwyr, pobl hyddysg yn y cyfreithiau Mosenaidd; a'r archoffeiriad, yr hwn oedd yn llywydd yn rhinwedd ei swydd. Perthyn i'r Cynghor hwn oedd penderfynu pob achos o heresi a dyfarnu y gosb ddyledus. Y ddeddf gyda golwg ar hereticiaid neu brophwydi gau oedd hon: "Nid yw y cyfryw un i'w ddienyddio gan lys ei le genedigol, na chan y llys yn Jabne, ond gan y prif lys yn Jerusalem; y mae i'w gadw hyd yr ŵyl nesaf, ac i'w ddienyddio *yn yr wyl*, fel y mae yn ysgrifenedig yn Deut. xvii. 13, 'a'r holl bobl a glywant, ac a ofnant, ac ni ryfygant mwy'" (*Mishna:* San xi. 3, 4). Yn gyson a hyn dywed yr Iesu yn Luc xiii. 33: "Canys ni all fod y derfydd am brophwyd allan o Jerusalem." (Gwel hefyd, *Josephus' Ant.: xiv. 9—4*). "Offeiriaid a Lefiaid" oedd yn cyfansoddi y ddirprwyaeth. Ni ddefnyddir yr ymadrodd hwn o gwbl ond yn y fan hon; "yr ysgrifenyddion a'r henuriaid" yw yr ymadrodd arferol yn yr efengylau eraill. Ac ni chrybwyllir y Lefiaid o gwbl yn y Testament Newydd oddigerth yma, a Luc x. 32, a'r Act. iv. 36. Tybia rhai mai myned oedd y Lefiaid fel gweision i'r offeiriaid; ond gwyddom oddiwrth 2 Cron. xxxv. 3, a Neh. viii. 7—9, fod y Lefiaid "yn dysgu holl Israel,"—hwynthwy oedd, er nad efallai yn gyfangwbl, ysgolfeistriaid y genedl. Barna Hengstenberg yn mhellach mai hwynthwy oedd yr ysgrifenyddion—y bobl ag oedd

o Jerusalem offeiriaid a Lefiaid i ofyn iddo, Pwy wyt ti?
Ac efe a gyffesodd, ac ni wadodd; a chyffesodd, Nid myfi 20
yw y Crist. A hwy a ofynasant iddo, Beth ynte? Ai 21
Elias wyt ti? Yntau a ddywedodd, Nag ê. Ai y

---

yn copio y gyfraith, yn ei hastudio yn fanwl, fel ag i fedru ei hesbonio yn briodol i'r llysoedd barn, a'i dysgu i gorph y boblogaeth. Gan mai cwestiwn crefyddol oedd dan sylw y Sanhedrin, priodol oedd penodi dynion o gymhwysder arbenig i gyfansoddi y ddirprwyaeth. Ac y mae y ffaith fod y Cynghor uchaf a feddai y genedl wedi barnu yn angenrheidiol i ymofyn i'r achos yn brawf fod berw mawr yn y wlad. Gwyddai y genedl fod 70 wythnos Daniel ar derfynu, ac yr oedd disgwyliad cryf a brwd fod y Messiah ar ymddangos. "Yr oedd y bobl yn disgwyl, a phawb yn meddylied yn eu calonau am Ioan, ai efe oedd y Crist" (Luc iii. 15). Ni allai y barnwyr yn y Llys Uchaf ddiangc heb deimlo dylanwad y brwdfrydedd; a chyda pherffaith briodoldeb anfonasant ddirprwyaeth o'r dynion cymhwysaf i edrych i mewn i'r mater.

**Pwy wyt ti?** Nid *pwy* wyt ti, ond pwy wyt *ti?* Y mae y pwyslais ar y "ti." Gwyddent mai o lwyth Lefi oedd Ioan, eu llwyth hwy eu hunain, canys ni allasai eu bod yn anwybodus o'r weledigaeth a gafodd ei dad pan yn offeiriadu yn Jerusalem 30 mlynedd cyn hyny. Gwyddent hefyd mai o lwyth Judah yr hânai y Messiah; ac y mae ffurf eu cwestiwn yn awgrymu, gan nad pwy ydoedd, nad efe oedd y Messiah. (Defnyddiwn y term Messiah, gan fod Crist gyda ni yn enw personol, tra yn yr efengylau enw swyddogol ydyw). Edrych Westcott ar ofyniadau y ddirprwyaeth fel Temtiad Ioan, yn gyffelyb i, os nad yn gydamserol â, Themtiad Crist,—fod y ddirprwyaeth yn rhoddi cyfle, os nad cymhelliad iddo, i honi mai efe oedd y Messiah.

**ADN. 20. Ac efe a gyffesodd.** Yn dangos, yn ol Westcott, barodrwydd ei gyffes. **Ac ni wadodd.** Yn dangos llwyredd ei gyffes. **A chyffesodd.** Er mwyn dwyn i mewn sylwedd ei dystiolaeth. Ond tybiwn fod y cadarnhâd, a'r nacâd, a'r ail-adroddiad yn arwydd yn mhellach o deimlad zelog, cynhyrfus. **Nid myfi yw y Crist.** Taflai y ddirprwyaeth y pwyslais ar y "ti" yn y gofyniad; a thafl Ioan y pwyslais ar y "myfi" yn yr atebiad. Ni soniodd y ddirprwyaeth am y Messiah yn y cwestiwn; ond gwyddai Ioan mai dyna oedd y meddwl yn eu calonau. Cyhudda De Wette y Bedyddiwr o beidio ateb yn onest ac agored y cwestiynau a ofynwyd iddo; ond y mae gan y Bedyddiwr ffordd ragorach,—yn lle ateb eu geiriau, etyb eu calonau. Ffordd sâl yw ateb cwestiwn; y gamp ydyw ateb y dyn sydd yn ei ofyn, y meddyliau dyfnaf sydd yn ei gerdded. Yr un modd y gwna Crist,—nid ateb y cwestiynau, ond ateb y dynion.

**ADN. 21. A hwy a ofynasant iddo, Beth ynte?** Yn ol aralleiriad Meyer, Beth sydd yn bod? Pa beth rhyfedd sydd yn dygwydd? **Ai Elias wyt ti? Yntau a ddywedodd, Nage.** Yn Matt. xvii. 10—13 dysga Crist mai Elias oedd Ioan. Pa fodd y cysonir y ddau ateb? Y mae yn amlwg nad yw "Elias" yn cael ei ddefnyddio yn y ddau le yn yr un ystyr. Pan ofynodd y ddirprwyaeth i Ioan ai "Elias" ydoedd, deallent

22 Prophwyd wyt ti? Ac efe a attebodd, Nag ê. Yna y
dywedasant wrtho, Pwy wyt ti? fel y rhoddem atteb i'r
rhai a'n danfonodd. Beth yr wyt ti yn ei ddywedyd am
23 danat dy hun? Eb efe, Myfi *yw* llef un yn gwaeddi yn y
diffaethwch, Uniawnwch ffordd yr Arglwydd, fel y dywed-

---

hwy yr enw yn llythyrenol,—Elias y Thesbiad wedi ail-ymddangos yn ei berson ei hun, yn unol a dehongliad y Rabbiniaid o'r prophwydoliaethau am dano (Mal. iv. 5), a'r ateb priodol i'r gofyniad yn yr ystyr yna yw, "Nage." Ond pan y dywed yr Iesu mai Elias oedd Ioan, dealla Efe yr enw yn ffugyrol, un yn "ysbryd a nerth Elias" (Luc i. 17). **Ai y prophwyd wyt ti?** Y mae yn amlwg fod y bobl hyn yn dra chynefin â'r Hen Destament, ac yn medru dyfynu y prophwydoliaethau oeddynt yn rhag-ddangos arwyddion dyfodiad y Messiah. Gofynant yn awr, nid ai prophwyd, ond ai *y* prophwyd wyt ti—y prophwyd â'r fanod o'i flaen. Diamheu fod eu cyfeiriad at Deut. xviii. 15: "Yr Arglwydd dy Dduw a gyfyd i ti, o'th blith dy hun, o'th frodyr dy hun, brophwyd megis finau; arno ef y gwrandewch." Nid oedd enw ar y prophwyd hwn, ac y mae ei gymeriad yn anmhenodol. Tybiai rhai mai yr un ydoedd â'r Messiah (vi. 14), eraill mai un gwahanol (vii. 14): nid oedd unfrydedd yn mhlith esbonwyr yr oes hono yn fwy na'r oes hon. **Ac efe a atebodd, Nage.** Yr oedd Ioan yn brophwyd, ond nid efe oedd y prophwyd; Iesu Grist oedd hwnw. Sylwa Westcott fod ei atebion yn myned yn fwy swta bob tro: Nid myfi yw y Crist; Nage fi (*ὀuk εἰμί*); **Nage** (*oὔ*).

**ADN. 22. Yna y dywedasant wrtho, &c.** Nid "yna" o ran amser ond o ran ymresymiad: dyna rym y gair *οὖν* bron bob amser yn yr efengyl hon, yn gyfystyr a "gan hyny." Yr oeddynt hwy wedi gwneuthur tri dyfaliad, ac wedi methu bob tro; gan hyny, ceisiant ganddo ef ei hun i hysbysu iddynt beth oedd ei swyddogaeth a'i neges yn eglwys Dduw, fel y gallent wneyd adroddiad priodol i'r Sanhedrin.

**ADN. 23. Eb efe, Myfi yw llef un yn gwaeddi yn y diffaethwch, Uniawnwch, &c.** Dyfyniad sydd yma o Es. xl. 3. Yn Hebraeg Esaiah ac yn Nghroeg Ioan gellir cysylltu "yn y diffaethwch" â'r frawddeg gyntaf neu â'r ail: llefain yn y diffaethwch, neu unioni yn y diffaethwch. Pan yr ymholent yn ei gylch ef ei hun, rhoddai atebion byrion; pan yr ymholent yn nghylch ei genadwri, rhoddai ateb llawn a boneddigaidd. Nid oedd ef ei hun yn ddim amgen na Llef,—llef o flaen Un arall mwy a gwell. Gair oedd Crist, medd adn. 1. a'i feddwl ynddo ei hun; eithr Llef oedd Ioan, yn gorfod derbyn ei hystyr o'r Gair. Wrth y "diffaethwch" y meddylir lleoedd gwledig, anmhoblogaidd, na atdynent drigolion oherwydd diffrwythder y tir. **Uniawnwch ffordd yr Arglwydd.** Cyfeiriad at yr arfer ddwyreiniol o unioni a gwastatau ffyrdd cyn i'r cerbyd brenhinol ddyfod heibio. Yr oedd ystâd foesol ac ysbrydol yr Israel y pryd hwn yn anialwch; ac anfonwyd Ioan i barotoi y ffordd—arwydd i'r genedl fod y brenhin yn ymyl. **Fel y dywedodd Esaias y prophwyd.** Diau mai rhan o ateb y Bedyddiwr yw y frawddeg hon, ac nid geiriau eglurhäol a ychwanegwyd gan yr efengylwr. Cyfyd cwestiwn yn y fan

odd Esaias y prophwyd. A'r rhai a anfonasid oedd o'r 24
Phariseaid. A hwy a ofynasant iddo, ac a ddywedasant 25
wrtho, Paham gan hynny yr wyt ti yn bedyddio, onid
ydwyt ti na'r Crist, nac Elias, na'r prophwyd? Ioan a 26

---

hon. Ai prophwydoliaeth yw geiriau Esaias o Ioan Fedyddiwr, ynte cyfaddasiad o'r geiriau gan Ioan ato ei hun, megis ag y gallasai Luther wneyd yn Germani neu Howell Harris yn Nghymru? Etyb y bobl sydd yn gwadu yr elfen oruwchnaturiol yn y Beibl mai cyfaddasiad yn unig sydd yma; ond gan fod y pedwar efengylwr yn eu cymhwyso at Ioan, nis gallwn osgoi yr argraph fod yma ragfynegiad pendant. Y mae cyfeiriad cyntaf y brophwydoliaeth at ddychweliad Judah o gaethiwed Babilon; ond yr oedd ffeithiau yr H. D. yn gystal a'i eiriau yn brophwydol, a rhoddai ysrydoliaeth feddwl dyfnach i eiriau y prophwyd nag a wyddai y prophwyd ei hun (1 Petr i. 10, 11); a gwelai y Bedyddiwr a'r efengylwr y meddwl dyfnach hwnw yn ngweinidogaeth Ioan ac ymddangosiad dilynol yr Arglwydd Iesu.

**ADN. 24. A'r rhai a anfonasid oedd o'r Phariseaid.** Yn y llawysgrifau goreu gadewir allan y fanod yn y dechreu; ac oblegid hyny casgla Baumgarten-Crusius fod yr adnod hon yn nodi dyfodiad ail ddirprwyaeth oddiwrth y Phariseaid, yn annibynol ar y ddirprwyaeth flaenorol oddiwrth y Sanhedrin, yr hon oedd gyfansoddedig o'r Phariseaid a'r Sadduceaid. Ond nid yw y gramadeg yn galw am y dybiaeth yna; ac, heb y fanod, darllen yr adnod yn naturiol fel hyn: "Hwy a anfonasid oddiwrth neu o blith y Phariseaid," gan olygu fod mwyafrif y ddirprwyaeth, o leiaf, yn cynrychioli y sect hono,—y sect fwyaf blaenllaw a lluosog yn y wlad. Oherwydd paham ni chyfeirir yn y bedwaredd efengyl at y Sadduceaid o gwbl, yn gymaint nad hwynthwy oedd yn rheoleiddio crefydd corph y genedl.

**ADN. 25. A hwy a ofynasant iddo ac a ddywedasant wrtho.** Yn gyntaf ymholasant ynghylch ei genadwri, yna ynghylch ei fedydd. Y mae ychwanegu y "dywedyd" at y "gofyn" yn awgrymu anghymeradwyaeth, yn enwedig o'i fedydd. Hyd yma ymofynwyr yn unig oeddynt; yn awr y mae yr ymofynwyr yn troi yn feirniaid ac yn lled ddangos eu anghymeradwyaeth. "**Paham gan hyny yr wyt ti yn bedyddio, onid ydwyt ti na'r Crist, nac Elias, na'r prophwyd?**" Casglent oddiwrth Ezek. xxxvi. 25, a Zech. xiii. 1, y buasai teyrnas y Messiah neu "deyrnas nefoedd" yn cael ei dwyn i mewn trwy fedydd mawr cyffredinol. Pe buasai Ioan yn un o'r tri uchod, cydnabyddasent ei hawl i sefydlu defod newydd; ond gan nad oedd, paham gan hyny y bedyddiai? Pa le y cafodd ei awdurdod? Nid ydys yn sicr eto a oedd proselytiaid o'r crefyddau paganaidd at y grefydd Iuddewig yn cael eu bedyddio, yn gystal a'u henwaedu, y pryd hwn, er fod tebygrwydd eu bod. Nid y bedydd, o bosibl, oedd yn newydd, ond deiliaid y bedydd. Barnai yr Iuddewon mai gweddus oedd bedyddio cenedl-ddynion ar eu troedigaeth, i ddangos mewn arwyddlun olchi ymaith aflendid eu bywyd paganaidd; ond paham y bedyddid Iuddewon, pobl a dybient hwy oedd eisoes yn gysegredig i Dduw?

attebodd iddynt, gan ddywedyd, Myfi sydd yn bedyddio â
dwfr; ond y mae un yn sefyll yn eich plith chwi, yr hwn
27 nid adwaenoch chwi: Efe yw yr hwn sydd yn dyfod ar fy
ol i, yr hwn a aeth o'm blaen i; yr hwn nid ydwyf fi
28 deilwng i ddattod carrai ei esgid. Y pethau hyn a
wnaethpwyd yn Bethabara, y tu hwnt i'r Iorddonen, lle
yr oedd Ioan yn bedyddio.

---

**ADN. 26. Myfi sydd yn bedyddio â dwfr.** Dealla mwyafrif yr esbonwyr fod Ioan yma yn cyferbynu ei hun â Christ, a'i fedydd ef â bedydd Crist; yn nwylaw Westcott ä yr ymadrodd bron yn esgusawd *(apology)* am fedyddio. Eithr nid cyferbynu, ond yn hytrach cysylltu ei hun, â Christ y mae, fel y dengys absenoldeb y cysylltair "ond" yn y frawddeg ganlynol yn y llawysgrifau goreu. **Y mae un yn sefyll yn eich plith chwi, yr hwn nid adwaenoch chwi.** Y mae y "myfi" yn y frawddeg flaenorol a "chwi" yn y frawddeg hon yn bwysleisiol. "*Myfi* sydd yn bedyddio a dwfr; yn eich plith chwi y saif Un, yr hwn nid ydych *chwi* yn ei adwaen." Ymddengys felly mai rhwng y "myfi" a "chwi," rhwng y Bedyddiwr a'r Phariseaid, y mae y cyferbyniad, ac nid rhwng y Bedyddiwr a Christ. Myfi sydd yn bedyddio a dwfr, ac yr ydych chwi yn gofyn am y rheswm: yn eich plith chwi y saif Un yr hwn nid ydych chwi yn ei adwaen, ond yr ydwyf fi yn ei adwaen,—a dyna y rheswm paham yr ydwyf yn bedyddio. Felly sylfaena ei weinidogaeth a'i fedydd ei hun ar Grist. Y mae efe yn bedyddio â dwfr, am fod y Messiah wedi dyfod; ac felly, yn lle bychanu ei fedydd ei hun am mai bedydd dwfr ydoedd, yn ol Westcott a mwyafrif yr esbonwyr, dengys ei bwysigrwydd fel parotoad ar gyfer yr Un mwy.

**ADN. 27. Sef yr hwn sydd yn dyfod ar fy ol i.** Yn ystyr adn. 15. Y mae y frawddeg, "yr hwn a aeth o'm blaen i," wedi ei gadael allan yn y Cyf. Diw., gan ei bod yn eglur mai rhyw gopiwr a'i benthyciodd mewn camsyniad o adn 15. **Yr hwn nid ydwyf fi deilwng i ddatod carai ei esgid.** Nid oedd sandal y Dwyrain ond gwadn yn unig, yn cael ei gylymu wrth y droed a charai; a pherthyn i'r gweision iselaf oedd datod carai sandal y teithiwr, fel y gallai olchi ei draed ar ol gwres a llwch y brif-ffordd. Ond teimlai Ioan fod yr Iesu mor fawr fel nad oedd yn deilwng i gyflawni y gwasanaeth lleiaf iddo. Sut y cyrhaeddodd Ioan y gostyngeiddrwydd rhyfedd hwn? Trwy adael i'w feddwl redeg ar yr "Un." Gall dyn fyfyrio ar ei ddiffygion a'i waeleddau ei hun nes magu ryw fath o ostyngeiddrwydd; ond y mae yr un gweithrediad meddyliol yn meithrin ynddo falchder, canys os gwêl ei ddiffygion, cenfydd hefyd ei rinweddau. Nid hunan-adfyfyriad yw y drefn oreu i gynyrchu gwir ostyngeiddrwydd; ond myfyrio ar fawredd yr Arglwydd Iesu,—gwna hyn ni i gywilyddio, nid yn unig o'n diffygion, ond hefyd o'n rhagoriaethau; nid yn unig o'n pethau gwaelaf, ond hefyd o'n pethau goreu.

**ADN. 28. Y pethau hyn a wnaethpwyd yn Bethania, y tu hwnt i'r Iorddonen, lle yr oedd Ioan yn bedyddio.** Y mae yr efengylwr yn lleoli y dygwyddiad, oblegid, am ryw reswm nas gwyddom ni yn llawn

Trannoeth Ioan a ganfu yr Iesu yn dyfod atto; ac *efe* a 29
ddywedodd, Wele Oen Duw, yr hwn sydd yn tynnu ymaith

---

am dano, cysylltai ef y pwysigrwydd mwyaf â thystiolaeth Ioan i'r genedl yn ei chymeriad swyddogol. Yr oedd Ioan wedi symud y pryd hwn o ddiffaethwch Judea, y tu yma i'r Iorddonen, i ddiffaethwch Perea, y tu hwnt i'r Iorddonen. Pa le a feddylir wrth Bethania? "Y mae yr holl gopiau," meddai Origen, "yn darllen Bethania; ond yr wyf fi yn argyhoeddedig mai Bethabara a ddylid ddarllen." Daeth yr argyhoeddiad hwn iddo, oblegid methu o hono a darganfod lle o'r enw Bethania y tu hwnt i'r Iorddonen; ond cafodd le o'r enw Bethabara; ac o'i amser ef yn mlaen lluosogwyd copiau o'r Beibl yn cynwys Bethabara. Ond gan mai "Bethania" yw y darlleniad yn y tri chopi mwyaf eu bri, sef y Sinaitaidd, yr Alexandriaidd, a'r Vaticanaidd, y mae y Cyf. Diw. wedi adfer "Bethania." Nid Bethania, lle y trigai Mair a Martha a Lazarus, "yr hon oedd bymtheg ystâd o Jerusalem," fel y dadleua Schenkel, ond Bethania y tu hwnt i'r Iorddonen. Peth cyffredin yn Mhalestina fel yn Nghymru oedd fod dau le gwahanol yn dwyn yr un enw, megis Bethlehem Judah i'w gwahaniaethu oddiwrth y Fethlehem arall, a Chana Galilea i'w gwahaniaethu oddiwrth y Gana arall. Ond pa le yn gymhwys oedd Bethania sydd yn aros heb ei benderfynu yn derfynol. Barna llawer, wrth gydmaru yr adnod hon ag adnod 43, mai lle ydoedd yn uchel i fyny yr Iorddonen, ychydig filldiroedd islaw Môr Galilea. Tybia eraill mai lle yn is i lawr yr afon ydoedd, yr un a Bethabarah Llyfr y Barnwyr, viii. 24, tua chyfer Jericho, yn agos i'r rhyd lle y croesodd Israel i Ganaan ar y cyntaf. Y mae y golygiad hwn, mai yr un lle a ddynodir gan y ddau enw, yn cael ei ffafrio gan ystyron y ddau air, Bethabara yn meddwl Ty y Rhyd, a Bethania Ty y Bâd. Y mae cyfatebiaeth darawiadol iawn yn y grêd fod Israel yn myned drosodd i'r Ganaan ysbrydol yn yr un fan ag y croesodd drosodd i'r Ganaan ddaearol. Ond nis gellir penderfynu hyd sicrwydd yn sefyllfa bresenol ein gwybodaeth.

### TYSTIOLAETH IOAN I'R BOBL. ADN. 29—34.

**ADN. 29. Tranoeth Ioan a ganfu yr Iesu yn dyfod ato.** Sef y diwrnod ar ol yr ymddiddan rhyngddo â'r ddirprwyaeth o Jerusalem. Yr oedd hyn ar ol bedydd yr Iesu gan Ioan, sef ar ei ddychweliad o'r anialwch ar ol ei Demtiad am ddeugain niwrnod. Coffhâ yr efengylwyr eraill yr hyn a gymerodd le cyn ac ar y bedydd, ond yr efengylwr hwn yr hyn a gymerodd le ar ol y bedydd. Gwelodd Ioan yr Iesu yn dynesu at y gynulleidfa, a dygodd y dystiolaeth am dano yn ei glywedigaeth Ef ei hun. **Ac efe a ddywedodd, Wele Oen Duw.** Dengys y gair "Wele" gynhyrfiad meddyliol a difrifwch moesol, fel pe dywedasai,—Y mae yna o'ch blaen, edrychwch arno (Luc xxiv. 39, lle y defnyddir yr un gair). Yn y Groeg y mae y fanod o flaen yr Oen, yr hyn a brofa fod yr enw mewn rhyw gysylltiadau yn gyfarwydd i'r gwrandawyr yn gystal ag i'r siaradwr. Tybia Westcott fod ymddiddan wedi cymeryd lle rhwng Ioan a'i ddysgyblion yn ystod y nos o barth i'r aberthau Iuddewig, a'i fod yn awr yn cymeryd mantais ar yr ymddiddan i roddi ffurf neillduol i'w dystiolaeth, fel pe dywedai, "Buom yn siarad neithiwr am oen yr

aberth. Wele *yr* Oen." Ond fel rheol dywed yr awdwr yr oll sydd yn angenrheidiol i ddeall yr hanes; am hyny, nid oes angen am y dybiaeth i egluro yr ymadrodd. Paham ynte y geilw Ioan yr Arglwydd Iesu "yr Oen?" Barna Ewald ac awdwr *Ecce Homo* mai gweled cyffelybrwydd oedd Ioan rhwng addfwynder yr Iesu ag addfwynder Oen, megis ei gosidir allan yn Es. liii. 7. Er fod hynyna yn wirionedd, eto amlwg yw nad yw yn dihysbyddu y meddwl yma nag yn mhrophwydoliaeth Esaiah. Chwilia Bengel, Olshausen, a Hengstenberg am y rheswm yn Oen y Pasg, yn enwedig gan fod gŵyl y Pasg yn ymyl (ii. 23). De Wette, Meyer, Godet, a Westcott a gânt y rheswm yn Es. liii. 6, 10. Y mae y Bedyddiwr newydd ddyfynu o lyfr Esaiah, a gwyddis fod yr esbonwyr Iuddewig yn cymhwyso y prophwydoliaethau am Was yr Arglwydd at y Messiah, cyn i ddadleuon diweddarach â'r Cristionogion beri iddynt chwilio am eglurhâd arall. Ond paham y rhaid gwahaniaethu rhwng Oen y Pasg ac Oen y Brophwydoliaeth? Yr oedd Ioan yn fab i offeiriad, ac wedi ei fwriadu i'r offeiriadaeth ei hunan; ac fel y cyfryw yr oedd wedi ei hyfforddi yn drwyadl yn y gyfundrefn aberthol. Yr ydoedd hefyd wedi ei fagu mewn teulu duwiol, hyddysg yn yr Ysgrythyrau fel y dengys Luc i.; yr oedd yn llawn o'r Ysbryd Glân (Luc. i. 16), ac wedi derbyn ei hunan ddatguddiad pendant, uniongyrchol, o'r nef (adn. 33). Rhaid cymeryd hyn oll i ystyriaeth yn ein hymdrech i blymio dyfnder yr adnod hon. "Oen" yn unig ydyw mewn adnodau eraill; yn yr adnod hon yn unig y cysylltir Oen a Duw a'u gilydd—Oen Duw. Golyga (1) Oen o appwyntiad Duw, "Oen a ragordeiniodd Efe er cyn seiliad y byd;" (2) Oen cysegredig i Dduw, wedi ei ddiofrydu i wasanaeth Dduw; (3) ond gallasai fod yn Oen ordeiniedig gan Dduw, a chysgredig i Dduw, heb fod yn Oen o eiddo Duw. Am hyny, rhaid edrych arno fel *genitive of possession*. Oen o eiddo Duw, Oen a fagodd Duw ar ei fferm ei hun (Diar. viii. 30, 31).

**Yr hwn sydd yn tynu ymaith bechod**: neu, **Yr hwn sydd yn dwyn pechod.** Rhydd y Cyf. Diw. i ni ein dewis o'r naill ddarlleniad neu y llall. "Gall y gair Groeg *aírein*," ebe Westcott, "olygu naill (1) ai dwyn arno, neu (2) ddwyn ymaith." Ond pa un yw yr ystyr yma? "Dwyn ymaith" neu "dynu ymaith" yw yr ystyr yn Ngroeg y Deg a Thriugain, y rhai a ddefnyddiant air arall, sef *phĕrĕin*, am "ddwyn" neu gario. Dyna hefyd ystyr y gair yn mhob man arall yn ysgrifeniadau yr efengylwr (xi. 48; xv. 2; xvii. 15; xix. 31, 38; 1 Ioan iii. 5). Casglwn gan hyny fod y cyfieithiad Cymraeg yn gywir, ac mai "tynu" neu "ddwyn ymaith" bechod yw prif feddwl yr adnod,—ei symud ymaith, eithr ei symud, nid trwy sancteiddhâd, ond trwy faddeuant. Gwaith y Trydydd Person yw ei dynu ymaith trwy sancteiddhâd, ond gwaith yr Ail yw ei symud trwy faddeuant. Eithr nid oes ond un ffordd i Oen ddwyn ymaith bechod, sef trwy aberth; ac felly y mae "dwyn ymaith" bechod yn rhagdybied "dwyn" pechod—myned dan faich pechod. Dwyn ymaith bechod yw yr effaith; dwyn pechod yw yr achos; felly y mae y naill yn cynwys y llall—y mae yr effaith yn rhagdybied yr achos. Y gair cyfatebol yn yr Hebraeg yw *nasā'*, yn golygu yn gyntaf ddwyn neu gario, yna dwyn ymaith—maddeu trwy ddwyn neu gario. Maddeuai Duw bechod Israel, nid trwy ei anwybyddu, ond trwy ei ddwyn. "Jehofah, Jehofah, y Duw trugarog a graslawn . . . yn dwyn anwiredd a chamwedd a phechod" (Ex. xxxiv. 7),

ac, am ei fod yn eu dwyn, yn eu maddeu. "Pa Dduw fel tydi sydd yn dwyn pechod? (Mic. vii. 18), ac oherwydd ei fod yn ei ddwyn yn ei faddeu. Yr oedd duwiau y cenhedloedd yn maddeu pechod; pa beth arbenigol oedd yn nodweddu maddeuant Duw Israel? Tra nad oedd duwiau y cenhedloedd ond yn anwybyddu pechod, myned heibio iddo, yr oedd Duw Israel yn ei faddeu trwy ei ddwyn. Y mae yn ffaith lawn o arwyddocâd fod yr un gair gan yr Hebreaid i ddynodi "dwyn" a "maddeu," er fod ganddynt eiriau eraill megis *salach* a *kipper* i osod allan agweddau neillduol ar y gwirionedd hwn. Felly, yn gymaint a bod y "dwyn ymaith" yn effaith y "dwyn," gan na all Oen ddwyn ymaith bechod ond trwy farw dros bechod, dysga yr adnod fod trefn yr iachawdwriaeth yn sylfaenedig ar Iawn.

**Pechod y byd.** Nid pechodau y byd. Y mae pechod yn fwy na phechodau, megis y mae y natur ddynol yn fwy na phersonau dynol. Wrth bechodau y meddylir gweithredoedd neu feddyliau drwg ar wahân; ond wrth bechod yr holl ddrwg yn ei gyfanswm, yn ei hanfod neu ei egwyddor wenwynig; ac nid pechod Israel yn unig, ond pechod y byd. Felly tyr yr adnod hon dros ben bob terfynau cenedlaethol. Yr oedd crefydd yr H. D. wedi ei darpar ar gyfer Israel, er fod pyrth yn "nghanolfur y gwahaniaeth" i'r cenhedloedd oedd y tu allan i ddyfod i mewn, ond rhaid oedd iddynt ddyfod i mewn ar yr amod o enwaediad, h.y. dyfod yn rhan o'r genedl Iuddewig. Y mae yn wir fod prophwydoliaeth yn meddu ar wedd fwy cyffredinol, ac i raddau yn gwrthweithio dylanwadau cul, cyfyng, yr offeiriadaeth. Ond yma y mae yr hedyn yn cyrhaedd ei lawn dwf, yn cracio ei blisgyn, ac yn arddangos ffrwyth llawn ac addfed. Yn mhob cyfeiriad y mae gwirionedd sylfaenol yr H. D. —"ynot ti y bendithir holl genhedloedd y ddaear"—yn ymestyn i'r eithafion pellaf. Nid rhyw oen, ond yr Oen; nid oen dyn, ond Oen Duw; nid tynu ymaith yn arwydd-luniol, ond yn drwyadl a gwirioneddol; nid pechodau, ond pechod; ac nid pechod dyn neu genedl, ond pechod byd cyfan!

Ond yma rhaid gwynebu y gofyniad, Sut y cyrhaeddodd y Bedyddiwr, yr hwn a fu farw yn mhen tua chwe mis ar ol dechreuad gweinidogaeth gyhoeddus yr Iesu, y fath amgyffrediad clir, cryno, am amcan mawr ei fywyd a'i angeu? Gallwn ddeall i raddau pa fodd y cyrhaeddodd yr Apostolion, y rhai oeddynt yn byw ar ol i drefn yr achub gael ei gorphen, syniadau cyffelyb; ond pa fodd y cyrhaeddodd y Bedyddiwr hwy? Etyb De Wette, Keim, Strauss, a'r esbonwyr eraill sydd fel hwynthwy yn anghredu y goruwchnaturiol, mai Ioan yr Efengylwr sydd yma yn dyfeisio hanes i ategu ei ddamcaniaethau duwinyddol, ac o ganlyniad yn priodoli i Ioan y Bedyddiwr ei syniadau ei hun. Ond i ni sydd yn credu yn nilysrwydd yr hanes, y mae yr ateb yn hunan-gondemniol. Credwn i'r Bedyddiwr lefaru y geiriau, a derchafa hyn ar unwaith ein syniad am ddealltwriaeth y Bedyddiwr a'i oes. Fel yr awgrymwyd eisoes, dygwyd Ioan i fynu mewn awyrgylch grefyddol ac Ysgrythyrol; fel Timotheus, gwyddai yr Ysgrythyr Lân o'i febyd, ac yr ydoedd wedi ei hastudio gyda chynorthwy esboniadau dysgedigion ei genedl, ac eto yn rhy annibynol ei feddwl i ddilyn yr un esboniad. Yr oedd wedi derbyn datguddiedigaethau uniongyrchol oddiwrth Dduw, ac yn llefaru fel ei cynhyrfwyd gan yr Ysbryd Glân. Cofier yn mhellach fod y Crist hwn wedi ei fedyddio ganddo. Bedydd i edifeirwch oedd bedydd Ioan;

30 bechodau y byd. Hwn yw efe am yr hwn y dywedais i,
Ar fy ol i y mae gwr yn dyfod, yr hwn a aeth o'm blaen i:
31 canys yr oedd efe o'm blaen i. Ac myfi nid adwaenwn ef:
eithr fel yr amlygid ef i Israel, i hynny y daethum i, gan

---

ymostyngai y bobl iddo "gan gyffesu eu pechodau." Hyny yw, yr oedd Cyffes o Bechod yn amod y Bedydd. Ond dyma Un nad oedd ganddo bechod o'i eiddo ei hun i'w gyffesu; ac eto yn y Bedydd gwnaeth Gyffes,—nid o'i bechod ei hun, ond o bechod y ddynoliaeth, pechod y byd! Fel y myfyriai Ioan ar y Gyffes ryfedd a glywodd, yn ngoleuni yr H.D. a'r datguddiad newydd a gafodd o'r nef, a than dywysiad goleuni goruwchnaturiol yr Ysbryd Glân, ffurfiodd ei feddyliau cymysg, megis fflachiad mellten, yn un syniad mawreddog cyson "Wele Oen Duw, yr hwn sydd yn tynu ymaith bechod y byd." Dyma uchafnod ei weinidogaeth; ar ol hyn dechreua ei seren fachludo.

**ADN. 30. Hwn yw Efe am yr hwn y dywedais i.** Darllen un llawysgrif *pĕrì*, "am yr hwn;" darllen un arall, *hupĕr*, "ar ran neu o blaid yr hwn:" ond nid yw y naill ddarlleniad na'r llall yn gwneyd nemawr o wahaniaeth yn yr ystyr. Yna dyfyna Ioan ran o un o'i bregethau blaenorol (*gwel adn. 15*). Beth sydd yn yr adnod hon nad oedd yn adn. 15? Yn adnod 15, dyweyd y mae fod y Messiah yn ei ddilyn, wrth ei sodlau, fel y golyga yr ymadrodd, eithr heb enwi neb. Y mae Ef wrth y drws, meddai. ar sail y datguddiad ag ydoedd wedi ei dderbyn. Ond pwy oedd yr "Ef" hwn? Nid oedd neb yn gwybod, hyd yn nod Ioan ei hun, cyn y bedydd. Ond y mae yma yn nodi y person allan a'i fys—"Hwn yw Efe; wele y Messiah." Y mae yr Arglwydd Iesu yn clywed Ioan yn ei enwi, yn gweled Ioan yn cyfeirio ato a'i fys, yn gwrandaw ei dystiolaeth am dano! Rhoddodd Ioan ei *gredentials* iddo fel Messiah yn nghlyw ac yn ngolwg y dorf; ac yn y penodau dilynol gesyd yr Iesu y pwys mwyaf ar dystiolaeth Ioan, fel y profa ei gyfeiriadau mynych ati.

**ADN. 31. A myfi nid adwaenwn Ef.** Y "myfi" yn bwysleisiol. Er fy mod i yn rhagredegydd iddo ac yn gwybod ei fod wrth y drws, eto ni wyddai neb, hyd yn nod myfi fy hun, pwy ydoedd o holl bobl y byd. Diau ei fod wedi clywed gan ei rieni am amgylchiadau gwyrthiol ei enedigaeth ei hun a genedigaeth ei gefnder, mab Mair; a gyfarfyddasant ai peidio yn eu maboed nis gwyddom—anhawdd meddwl nad oedd eu rhieni wedi trefnu i'r ddau fachgen a aned dan y fath amgylchiadau eithriadol i gyfarfod yn y gwyliau yn Jerusalem. Ond os cyfarfyddasant, ni wyddai Ioan mai ei gefnder gwledig oedd y Messiah hirddisgwyliedig: yn y Bedydd y torodd y gwirionedd ar ei feddwl. **Eithr fel yr amlygid Ef i Israel**—yr enw ar y genedl yn ei gwedd grefyddol; **i hyny,** am y rheswm hyny, **y daethum i gan fedyddio a dwfr.** Nid bychanu ei fedydd ei hun y mae Ioan. wrth grybwyll "dwfr," fel y mŷn cynifer, os nad yr oll, o'r esbonwyr; nid oes yma gyferbyniad rhwng ei fedydd ef â dwfr a bedydd yr Iesu â'r Ysbryd Glan—nid yw eto wedi enwi y diweddaf. Ond y rheswm, eb efe, paham y daethum i gan fedyddio â dwfr oedd i ddarganfod pwy o'r genedl oedd y Messiah. Yr ydoedd wedi cael sicrwydd gan Dduw y dynodid iddo yn nwfr y bedydd pa un o drigolion y wlad oedd y Crist. Gan hyny, yr oedd i fedydd Ioan

fedyddio â dwfr. Ac Ioan a dystiolaethodd, gan ddywedyd, 32
Mi a welais yr Yspryd yn disgyn megis colommen, o'r nef,
ac efe a arhosodd arno ef. A myfi nid adwaenwn ef; eithr 33

---

ddau amcan: (1) parotoi pobl barod i'r Messiah; (2) darganfod y Messiah a'i ddynodi i'r bobl. Ond y mae y ddau amcan yn gymhlethedig a'u gilydd, oblegid nis gall gyfeirio y bobl at y Messiah heb ar yr un pryd ddynodi y Messiah i'r bobl.

**ADN. 32. Ac Ioan a dystiolaethodd, gan ddywedyd.** Ioan yr Efengylwr sydd yn dodi i mewn y frawddeg hon yn nghanol pregeth Ioan y Bedyddiwr, er mwyn cyfeirio sylw arbenig y darllenwyr at yr arwydd yn y Bedydd ag oedd i nodi allan pa un o'r miloedd oedd y Messiah. **Mi a welais yr ysbryd yn disgyn megis colomen, o'r nef.** Y mae Ioan newydd gydmaru yr Iesu i Oen; yma cydmara yr Ysbryd i Golomen (cyd. Gen. i. 2). Ond pa beth ydym i ddeall wrth fod yr Ysbryd yn disgyn megis colomen o'r nef? Mŷn De Wette, Dodds, ac eraill, mai gweledigaeth ysbrydol yn unig ydoedd, megis y gwêl dyn wrthrychau mewn breuddwyd heb fod dim yn y byd allanol yn cyfateb, neu ynte mai Ioan oedd yn cydmaru yn ei feddwl ddisgyniad yr Ysbryd i ddisgyniad colomen. Ond ymddengys i ni fod yma weledigaeth allanol, —Ioan yn gweled â llygaid ei gorph yr Ysbryd yn disgyn o'r nef yn ffurf colomen. Dyna yr argraph a gynyrcha darlleniad astud o'r pedair efengyl.

| MATT. iii. 16. | MARC i. 10. | LUC iii. 21, 22. | IOAN i. 32. |
|---|---|---|---|
| Ac wele y nefoedd a agorwyd iddo, ac efe a welodd Ysbryd Duw yn disgyn | Ac efe a welodd y nefoedd yn agored, a'r Ysbryd yn disgyn | A bu, agoryd y nef, a disgyn o'r Ysbryd Glân mewn rhith corphorol | Mi a welais yr Ysbryd yn disgyn o'r nef |
| fel colomen *ôsei pĕristĕrán* ac yn dyfod arno ef. | megis colomen *ôsei pĕristĕrán* arno. | megis colomen *ôsei pĕristĕrán* arno ef. | megis colomen *ôsei pĕristĕrán* ac efe a arhosodd arno ef. |

Afreidiol tybied fod yr Ysbryd wedi cymeryd corph colomen fyw, canys dywedir mai rhith corph ydoedd. Er hyny, yr oedd yno rith -gwnaeth yr Ysbryd ei hun i ffurf colomen, yr hyn oedd mor rwydd iddo Ef a gwisgo ei hun a goleuni. Oherwydd paham, defnyddia Ioan y ferf *tĕthĕamai*, yn yr amser perffaith, a golyga, nid edrychiad damweiniol, ond edrychiad meddylgar, sefydlog, gydag amcan penodol, fel ag i gau allan y posiblrwydd o dwyll neu gamsyniad. **Ac Efe a arhosodd arno Ef.** Nid disgyn am eiliad ac yna diflanu, ond aros am amser, hofran uwch ei ben (*ep' auton*, nid *ep' autou*), i arwyddo ei breswyliad parhaus. Yr un gair sydd am "aros" yma ag a gyfieithir yn "drigo" yn adn. 39. Trigai yr Ysbryd yn Nghrist fel y trigai Crist yn ei lety.

**ADN. 33. A myfi nid adwaenwn Ef.** Mai Efe oedd y Messiah. Gallasai fod yn ei adnabod fel dyn yn flaenorol, er nad oes genym

yr hwn a'm hanfonodd i fedyddio â dwfr, efe a ddywedodd wrthyf, Ar yr hwn y gwelych yr Yspryd yn disgyn, ac yn aros arno, hwnnw yw yr un sydd yn bedyddio â'r Yspryd

---

sicrwydd o hyny. **Eithr yr hwn a'm hanfonodd i fedyddio a dwfr,** sef Duw; **Efe a ddywedodd wrthyf**—yr "Efe" yn bwysleisiol. Pa bryd y dywedodd Duw wrtho? Y mae yn amlwg mai tua dechreu ei weinidogaeth. Nid o ewyllys y cnawd y dechreuodd Ioan bregethu, ond mewn ufudd-dod i gommissiwn dwyfol uniongyrchol. Pa fodd y gwnaeth Duw y datguddiad iddo? Nid yw yr efengylau yn ateb, na'r un o honynt ond hon yn cyfeirio at yr amgylchiad. Ond y mae yn amlwg iddo gael gweledigaeth eglur, bendant, ac i eiriau eglur, pendant gael eu llefaru wrtho. Mỳn Dodds fel arferol mai mewnol a meddyliol oedd y cyfan; ond nid oes dim yn anghyson ag amgylchiadau hynod y cyfnod hwn i gredu iddo gael gweledigaeth allanol. (Cyd. y gweledigaethau i'w dad, i'w fodryb, &c.) Beth a ddywedwyd wrtho yn y weledigaeth? Cafodd sicrwydd fod y Messiah wedi dyfod, a gwybodaeth beth a fuasai yr arwydd i'w nodi allan o blith pawb eraill. **Efe a ddywedodd wrthyf, Ar bwy bynag** (*ὅφ' ὃν*) **y gwelych yr ysbryd yn disgyn, ac yn aros arno, hwnw yw yr un sydd yn bedyddio â'r Ysbryd Glân.** Deallid yn y genedl ar y pryd mai yr hwn a fedyddiasai â'r Ysbryd Glân oedd y Messiah. Yma, ac mewn Ysgrythyrau eraill, dygir i mewn yr athrawiaeth am yr Ysbryd Glân fel un ag oedd i raddau yn adnabyddus i'r genedl, ac felly mewn gwirionedd yr ydoedd. Yr oedd gwybodaeth Ysgrythyrol wedi cyrhaedd safon uchel yn y wlad fel y prawf y benod gyntaf o efengyl Luc; a phrif nodwedd teyrnas y Messiah, yn ol y prophwydi a'r esbonwyr Iuddewig arnynt, oedd tywalltiad helaeth o'r Ysbryd Glân (Es. xviii. 3; Joel ii. 28; Ez. xxxvi. 27; Jer. xxxi. 31). Yr oedd bedydd â'r Ysbryd Glân yn ddrychfeddwl cyfarwydd i'r bobl; ond yr oedd bedydd Crist ag Ef, a bedydd Crist o hono Ef, yn cael ei nodweddu gan dri pheth. (1) Yr oedd yr Ysbryd yn disgyn ar y prophwydi, ond yn gyffredin mewn cynhwrf a chyffro: disgynodd ar Grist fel colomen—yn ddistaw a didrwst. (2) Ymweliadau byrion oedd eiddo yr Ysbryd â'r prophwydi (2 Bren. iii. 15); wedi iddynt gyflawni eu cenadwri dychwelai yr Ysbryd i'r nef; ond y mae yn "aros" ar Grist, er arwyddo preswyliad parhaus. (3) Rhanol oedd trigiad yr Ysbryd yn y prophwydi, ond triga mewn cyflawnder didrai yn Nghrist. Gwel Es. lxi. 1, 2, lle y desgrifir yr Ysbryd yn preswylio yn y Messiah mewn saith o weithrediadau—saith i ddangos cyflawnder dihysbydd. Gan fod yr Ysbryd wedi aros arno mewn cyflawnder, y mae yr Ysbryd ganddo i'w gyfranu i eraill; ac ar ddydd y Pentecost bedyddiwyd yr Eglwys â'r **Ysbryd Glân ac a thân.**

A oedd rhywrai eraill yn bresenol yn medydd Crist, ac felly yn dystion o ddisgyniad yr Ysbryd? Nid yw yr hanes yn dyweyd; ond braidd na thybiem fod Ioan a'r Iesu wrthynt eu hunain. A phe buasai eraill yn bresenol, ni fuasai y weledigaeth yn trosglwyddo yr un drychfeddwl iddynt mwy na'r amgylchiadau cyffelyb yn xii. 29, a'r Act. ix. 7, gan nad oeddynt hwy fel Ioan yn meddu ar yr allwedd i ddehongl y weledigaeth. Pa wahaniaeth a wnaeth disgyniad yr Ysbryd i'r Arglwydd Iesu ei hun? Daliai un sect fechan, a elwid y Valentiniaid, mai yn y Bedydd y disgyn-

odd y Gair—y Logos—i drigo yn y dyn Iesu; ac i'w drigiad barhau hyd ei angeu, pan y dychwelodd y Logos yn ol at Dduw. Tybir mai at yr heresi yna y cyfeiria Ioan yn 1 Ep. ii. 22, yr hon hefyd a ddysgid gan ei gydoeswr Cerinthus. Ond y mae yn amlwg mai nid dyna ddysgeidiaeth yr efengylau. Disgynodd y Logos i'r Iesu yn ei Genhedliad, a'r Ysbryd yn ei Fedydd. Pa wahaniaeth a wnaeth disgyniad yr Ysbryd iddo? Y mae yr atebion yn amrywiol iawn. (1) Ar un llaw, dysga Meyer na dderbyniodd yr Iesu ddim yn ei Fedydd nad oedd yn feddiannol arno o'r blaen, a dywed Westcott "nad yw Ioan yn llefaru am gyfraniad yr Ysbryd Glân i Grist." Yn ol hyn, arwydd i'r Bedyddiwr yn unig oedd disgyniad yr Ysbryd. (2) Ar y llaw arall, rhêd Godet i'r eithafion cyferbyniol a dysga mai yn awr y cyrhaeddodd Crist lawn ymwybyddiaeth o'i Faboliaeth Ddwyfol. (3) Rhwng yr eithafion yna, debygid, y gorwedd y gwirionedd. Cysylltir yr Ysbryd yn uniongyrchol a genedigaeth yr Iesu (Luc i. 35). Gwaith yr Ysbryd oedd uno y Logos â'r ddynoliaeth yn mru y Forwyn—pa fodd sydd ddirgelwch na fedrwn ei egluro. Ond a dyfodd Ef i fyny am 30 mlynedd heb breswyliad yr Ysbryd ynddo? Nis gallwn feddwl hyny (Luc ii. 40, 52). Megis nad oedd y Logos yn cymeryd lle enaid dynol yn Nghrist, felly hefyd nid oedd yn cymeryd lle yr Ysbryd yn nadblygiad sanctaidd ei ddynoliaeth. Trigai ynddo a gweithiai o'i fewn cyn ei Fedydd. Ai nid oedd disgyniad yr Ysbryd ynte yn ddim ond arwydd weledig o drigiad anweledig blaenorol? Yr ydoedd felly yn ddiamheu, ond anhawdd credu gyda Meyer a Westcott mai dyna y cwbl. Yn hytrach credwn fod yma ffaith newydd yn ymwybyddiaeth yr Iesu. Beth oedd y ffaith hono? Mŷn Godet, fel y gwelsom eisoes, oherwydd ei awydd gormodol i ganfod athrawiaeth y Gwâghad yn ei ffurf eithafol ddiweddar yn mhobman, mai yn awr y cyrhaeddodd yr Iesu i lawn ymwybyddiaeth o Ddwyfoldeb ei Berson Eithr nis gallwn gredu na wyddai yr Arglwydd Iesu ei fod yn Fab Duw cyn i'r Bedyddiwr ddarganfod hyny (Matt. iii. 14, 15; Luc ii. 49) Peth personol ac anghenrheidiol oedd ei ddwyfol Faboliaeth, ac am hyny meddai ymwybyddiaeth o honi o'r blaen; ond swyddogol oedd ei Fessiaeth—yr hyn a ewyllysiodd ei gymeryd arno ei hun; a chredwn fod disgyniad yr Ysbryd arno yn awr i'r perwyl o'i gymhwyso i'w waith swyddogol fel y Messiah. Gwyddai o'r blaen mai Efe oedd y Messiah; ond yn awr eneinir Ef i'w waith Cyfryngol (Act. x. 37, 38). Nid pan y mae etifedd y goron yn cael ei eneinio yn frenhin y cyrhaedda wybodaeth o'i waedoliaeth a'i hawliau brenhinol; ond dyna y pryd y daw i'w swydd. Person *private* yn Israel oedd yr Iesu hyd yr amser hwn; o hyn allan person cyhoeddus ydyw, yn llanw y swydd Fessianaidd neu Gyfryngol, ac wedi ei ddonio a phob cymhwysder ar gyfer y swydd trwy ddisgyniad yr Ysbryd arno. Creodd ei Fedydd gyfnod newydd yn ei brofiad a'i hanes. Y mae dirgelwch annhraethol yn yr athrawiaeth am breswyliad yr Ysbryd yn y credadyn, fel y gŵyr pawb sydd wedi talu dim sylw iddi; pa faint mwy y dirgelwch am breswyliad yr Ysbryd yn y Duw-ddyn, a dull ei weithrediad ynddo?

"Os bwriedir i'r dygwyddiad," meddai Luthardt, "fod yn gyfraniad gwirioneddol o'r Ysbryd i Grist, ac os yw yr Ysbryd o'r cychwyn yn preswylio yn yr Iesu fel egwyddor ei fywyd personol mewn cymundeb â Duw, yna y mae yn rhaid edrych ar ddisgyniad yr Ysbryd yma fel ar gyfer cylch amgen na'r bywyd moesol. Y mae Kahnis wedi

34 Glân. A mi a welais, ac a dystiolaethais mai hwn yw Mab Duw.
35 Trannoeth drachefn y safodd Ioan, a dau o'i ddisgyblion:
36 A chan edrych ar yr Iesu yn rhodio, efe a ddywedodd,

---

dangos yn llawn fod yr Ysbryd Glân dan yr H. D. nid yn unig yn egwyddor bywyd ond swydd hefyd. Felly gallwn ddyweyd gydag ef, 'fel ewyddor bywyd yr oedd yr Ysbryd Glân yn yr Iesu o'i enedigaeth'; fel Ysbryd swydd, yn awr y mae yn cael ei roddi. Dyma yr eneiniad â'r Ysbryd Glân, am yr hwn y llefara Petr yn Act. x. 38. Dyma osodiad y Dwylaw nefol, a gwelir peth cyffelyb yn nhywalltiad yr Ysbryd ar y Pentecost. Yn gymaint a bod y rhai hyn eisoes yn gredinwyr, er nad yn berffaith yn eu ffydd, nid oedd arnynt anghen am yr Ysbryd sydd yn gweithio ffydd, ond am yr Ysbryd sydd yn cymhwyso i wasanaeth. Felly yma. Os yw Bedydd yr Iesu yn gysegriad effeithiol, llawn, i'w swydd, ac os gwaith y swydd yw tystiolaethu a dangos i'r byd mewn gair a gweithred yr hwn ydyw, yna y mae rhoddi yr Ysbryd iddo yn golygu rhoddi iddo allu i hyn . . . Yn y bedydd gwneir ei natur ddynol yn gymhwys i ddangos trwy wyrthiau a'r cyffelyb y "gogoniant" a berthyn iddo fel Mab Duw. Y mae y gwahaniaeth yr un ag sydd yn cymeryd lle yn y Cristion, rhyngddo fel plentyn Duw, yr hyn y gwneir ef yn yr enedigaeth newydd, ac fel gwasanaethwr Duw, yr hyn y gwneir ef trwy ddawn a chymhwysder arbenig ar gyfer gwasanaeth Duw. Y cyntaf yw gweithrediad yr Ysbryd yn y bywyd personol; yr olaf ar y gallu naturiol." Y mae Luthardt yn gosod allan y cymhwysder i swydd yn gryf a goleu; ar yr un pryd, y mae perygl i edrych ar y mater yn rhy beiriannyddol. Cymerodd rhyw dderchafiad arbenig le yn ddiamheu yn mhrofiad personol yr Arglwydd Iesu cyfatebol i'r cyfnewidiad yn ei sefyllfa swyddogol. (Cyd. Luc iv. 18, 19; 1 Ioan ii. 20).

**ADN. 34 "Ac mi a welais ac a dystiolaethais."** Ailadroddiad yn yr amser perffaith. **Mai hwn yw Mab Duw**. Gwelir hedyn y gwirionedd hwn yn 2 Sam. vii. 14: "Myfi a fyddaf iddo ef yn Dad, ac yntau a fydd i mi yn Fab." Ond yr oedd greddf yr eglwys yn teimlo fod y geiriau yn rhy ehang a chyfoethog i gael eu dihysbyddu yn Solomon, ac nad yw Duw yn llefaru geiriau heb fwriadu eu llanw a meddwl. O ganlyniad, cawn yr ymadrodd hwn yn adsain i lawr y canrifoedd yn Ps. ii. 7; lxxxviii. 27; Is. vii. 14; ix. 6. Yn raddol daeth yn enw cynefin yn y genedl, a chyfyngid ef at y Messiah (Matt. xxvi. 63; Marc iii. 5; v. 7); o'r diwedd deallodd Ioan Fedyddiwr ei lawn ystyr—clywodd lef o'r nef yn dywedyd, "Hwn yw fy anwyl Fab, yn yr hwn y'm boddlonwyd." Adsain y llef hono o'r nef yw ei lef ef yn awr ar lân yr Iorddonen, "Hwn yw Mab Duw," gan adael i oesau dilynol i ddadansoddi y gwirionedd a darganfod ei gynwys.

TYSTIOLAETH IOAN WRTH EI DDYSGYBLION. ADN. 35—37.

**ADN. 35. Tranoeth drachefn.** Y trydydd dydd. **Y safodd Ioan gyda dau o'i ddisgyblion.** Nid sefyllach i dreulio amser rywfodd, ond sefyll yn ystyriol ac yn llawn disgwyliad.

**ADN. 36. A chan edrych.** Yr un gair ag yn adn. 42, ac yn golygu edrych yn graff ac awchus, nes gweled yr hyn sydd y tu fewn i berson

Wele Oen Duw. A'r ddau ddisgybl a'i clywsant ef yn 37
llefaru, ac a ganlynasant yr Iesu. Yna yr Iesu a droes; 38
a phan welodd hwynt yn canlyn, efe a ddywedodd wrthynt,
Beth yr ydych chwi yn ei geisio? A hwy a ddywedasant
wrtho ef, Rabbi, (yr hyn o'i gyfieithu yw, Athraw), pa le

---

neu weithred. **Ar yr Iesu yn rhodio.** Nid tuag ato fel y diwrnod blaenorol, ond oddiwrtho, -i arwyddocau ei fod yn awr yn dechreu ar ei waith ar ei gyfrifoldeb ei hun. **Efe a ddywedodd, Wele Oen Duw,** gan adael allan y frawddeg ddesgrifiadol yn adn. 29, am fod ganddo amcan gwahanol, sef awgrymu i'r ddau ddysgybl ei adael ef a dilyn yr Iesu. Dyma yr adeg fwyaf profedigaethus yn hanes y Bedyddiwr,—aberthu ei boblogrwydd ei hun er mwyn arall. Ofer yw tybiaeth De Wette a Dodds nad oedd y ddau ddysgybl ddim yn bresenol i glywed ei dystiolaeth y diwrnod blaenorol: am eu bod wedi ei chlywed y maent yn barod heddyw i weithredu yn ei hôl. Disail hefyd yw y dybiaeth fod Ioan a'r Iesu wedi cyfarfod yn y nos, fel y dysga Lange, ac wedi dyfod i ddealldwriaeth â'u gilydd am y cynllun yn ol pa un i weithredu. Rhaid cyfaddef fod yn anhawdd credu na fanteisiodd Ioan ar bresenoldeb yr Iesu yn yr ardal i ymddiddan ag Ef am "deyrnas nefoedd": ond nid oes genym un sail i ddysgu hyny.

**ADN. 37. A'r ddau ddysgybl a'i clywsant ef yn llefaru.** Clywed, a sylwi wrth glywed. **"Ac a ganlynasant yr Iesu."** Paham na archodd Ioan hwy mewn geiriau diamwys i'w ddilyn? Diau fod Luthardt yn rhoddi yr ateb cywir, sef fel y byddai i'w gwaith yn ei ganlyn darddu o u hewyllys rydd eu hunain, ac nid mewn ufudd-dod i orchymyn allanol. Barna Westcott eu bod wedi dyfod yn awr i'r penderfyniad i fod yn ddysgyblion i'r Iesu; ond barnwn ni yn hytrach, gyda Meyer, iddynt ei ddilyn er cyrhaedd gwybodaeth fanylach, gyda y bwriad, ond eto heb lwyr benderfynu, i fod yn ddysgyblion iddo, yn ol dymuniad amlwg eu hen athraw. Daw canlynwyr cyntaf yr Iesu o blith dysgyblion Ioan. Yn ol yr esgob Waltham How: "'Rhaid i Elias ddyfod yn gyntaf. Pregethwr llym edifeirwch sydd i arwain pechaduriaid at Grist." Yma gwelwn afon fawr yr Eglwys Gristionogol yn tarddu yn ddyferynau bychain dan riniog yr Hen Oruchwyliaeth.

CASGLU DYSGYBLION. ADN. 38-51.

**ADN. 38. Gan hyny yr Iesu a droes.** Clywai o bosibl swn eu traed. Neu feallai fod rheswm dyfnach,—fod natur yr Iesu mor *sensitive* fel y teimlai yn reddfol bresenoldeb eraill. **Beth yr ydych yn ei geisio.** Nid pwy ond beth: anogaeth iddynt i gychwyn yr ymddiddan. Gair cyhoeddus cyntaf yr Iesu oedd ofyniad i'r ddynoliaeth beth oedd arni ei eisieu. **Rabbi**: yn golygu yn llythyrenol, Fy Mawredd, yn gyffelyb i'r teitl "Fy arglwydd" wrth gyfarch pendefig. Yr oedd tri gradd o ddysgawdwyr y pryd hwn yn mhlith yr Iuddewon—Rab, Rabbi, a Rabbon neu Rabboni, yr olaf yn dynodi y radd uchaf. Teitl ydyw a ddaeth i arferiad yn amser Hillel, llywydd y Sanhedrin, tua 30 mlynedd cyn geni Crist. **Pa le yr wyt ti yn trigo?** Atebasant ofyniad â gofyniad, am y rheswm, debygid, na allasent ddywedyd yn bendant beth

39 yr wyt ti yn trigo? Efe a ddywedodd wrthynt, Deuwch,
a gwelwch. A hwy a ddaethant. ac a welsant lle yr oedd
efe yn trigo, ac a arhosasant gyd âg ef y diwrnod hwnnw:
40 ac yr oedd hi ynghylch y ddegfed awr. Andreas, brawd
Simon Petr, oedd un o'r ddau a glywsent *hynny* gan Ioan,

---

oeddynt yn ei geisio. Yn unig dymunent ei gymdeithas ef; nid unrhyw fendith neillduol ond Efe ei hun.

**ADN. 39. Deuwch a chwi a gewch weled.** Dyna ddarlleniad y prif lawysgrifau, a mabwysiadir ef yn y Cyf. Diw. Hwyrach y lletyai mewn pabell yn yr awyr agored neu mewn amaethdy neu bentref yn y gymydogaeth. Nid oes un ystyr dduwinyddol i'r ymadrodd; ond y mae sylw Dodds yn brydferth—"Y mae drws Crist bob amser ar y glicied," drws agored, byth yn nghlo. **Ac a aroshasant gydag ef y diwrnod hwnw.** Diwrnod i'w gofio byth ganddynt, y diwrnod y cyfarfyddasant gyntaf â Cheidwad y byd. Pa ymddiddan a gymerodd le yn nhawelwch y llety ni chroniclir; ond gwyddom yr argraph a adawodd—mai Efe oedd y Messiah, Eneiniog Duw. **Ac yr oedd hi ynghylch y ddegfed awr.** Er fod Ioan yn henafgwr yn Ephesus yr amser hwn, ni anghofiai yr awr ryfedd hono, awr ei droedigaeth mewn rhyw ystyr,—yr awr bwysicaf yn ei hanes. Dadleua Westcott ac eraill mai y dull Rhufeinig o gadw amser a ddilyna Ioan yn ei efengyl, y diwrnod yn dechreu ganol nos, yr hwn hefyd yw ein dull ni. Gan mai y Rhufeiniaid oeddynt lywodraethwyr Asia Leiaf yr adeg hon, y mae yn bosibl eu bod wedi dwyn i mewn, oherwydd eu cariad at drefnusrwydd, yr un dull o gyfrif amser trwy yr holl ymherodraeth. Os cywir hyn, deg o'r gloch y boreu a feddylir. Ond dadleua Calvin, Bengel, Meyer, Alford, a Dodds mai y dull Iuddewig a ddilynai, sef o godiad haul hyd ei fachludiad, o chwech i chwech. Tueddir ni yn gryf i fabwysiadu y golygiad hwn. Diau fod Westcott yn gywir pan yn dal fod y diwrnod *cyfreithiol* yn dechreu ganol nos; ond yn aml y mae gwahaniaeth rhwng diwrnod cyfraith a diwrnod gwaith—y mae gwahaniaeth hyd yn nod yn ein gwlad ein hunain. Ar hen ddeialau (*dials*) y Rhufeiniaid, y rhai a ddarganfyddwyd ar ol i Westcott ysgrifenu ei Esboniad, y mae y canolddydd yn cael ei nodi gan VI. Hyny yw, lle ar ein clociau ni y mae XII., y mae VI. ar eu clociau hwy. Felly yn ymarferol yr oedd y dull Rhufeinig a'r dull Iuddewig o gadw amser yr un. Casglwn, gan hyny, mai tua phedwar o'r gloch y prydnhawn ydoedd. Cymeradwyir y farn hon gan y Proff. Ramsay, yr awdurdod uchaf yn ein hoes ni ar arferion henafol Asia Leiaf.

**ADN. 40. Andreas, brawd Simon Petr, oedd un o'r ddau.** Y mae distawrwydd Ioan am y llall yn awgrymu mai efe ei hun oedd hwnw. Andreas, fel Phylip a Nicodemus, sydd enw Groegaidd, ac felly yn profi fod dylanwad concwest Alexander Fawr wedi treiddio yn nerthol trwy yr holl fyd gwareiddiedig. Rhoddai hyd yn nod yr Hebreaid enwau Groegaidd ar eu plant. Paham y gelwir Andreas yn "frawd Simon Petr"? Oblegid fod yr olaf wedi cyrhaedd enwogrwydd mwy, ac o ganlyniad yn fwy adnabyddus, pan yr ysgrifenai Ioan. Ni enillodd

ac a'i dilynasant ef. Hwn yn gyntaf a gafodd ei frawd 41
ei hun Simon, ac a ddywedodd wrtho, Nyni a gawsom y
y Messïas; yr hyn o'i ddeongl yw, Y Crist. Ac efe a'i 42
dug ef at yr Iesu. A'r Iesu wedi edrych arno ef a

---

Andreas glod mawr; ond, fel y gofyna Plummer, Onibai am Andreas a fuasai gan yr eglwys Apostol Petr? Efrydydd didalent a symbylodd Paley i weithgarwch. Pregethwr dinod, nad oes sierwydd am ei enw, a fu yn foddion troedigaeth Spurgeon. Ond er na feddai Andreas allu meddyliol cryf, na thraddodiad grymus, eto yr oedd yn llawn defnyddioldeb yn ei gylch. Pob tro y cyfarfyddir ag ef, arwain dynion at Grist yw ei waith (i. 41; vi. 8; xii. 22).

**ADN 41. Hwn yn gyntaf a gafodd ei frawd ei hun, Simon.** Barna rhai fod yr adnod hon a'r ddilynol yn profi mai deg y boreu ydoedd, gan na chawsai y ddau ddysgybl hamdden i chwilio am eu brodyr pe pedwar o'r gloch y prydnawn ydoedd. Ond nid felly: anhawdd coelio iddynt dreulio yr holl ddydd, o ddeg o'r gloch y boreu, yn llety yr Iesu, gan mai dyma eu hymweliad cyntaf,—nid yw yn naturiol. Y tebyg yw na pharhaodd yr ymddiddan presenol ond am awr neu ddwy, yr hyn a roddai amser digonol i'r ddau ddysgybl fyned i chwilio am eu brodyr, y rhai a gydletyent a hwy yn yr un ardal. Y mae ychydig o anhawsder yn mrawddegiad yr adnod hon. Darllena rhai *prôtos*, cyntaf: os felly y meddwl yw fod y ddau ddysgybl wedi myned allan i chwilio am Simon, ond mai Andreas oedd y cyntaf i lwyddo. Dyna yr ystyr a fabwysiedir gan Hengstenberg, De Wette, a Tholuck. Darllena eraill *prôtos*, a dyna yw y darlleniad Cymraeg. Y meddwl gan hyny yw,—fod y ddau ddysgybl wedi prysuro i ffwrdd, pob un i geisio ei frawd ei hun; ond cafodd Andreas afael ar Simon cyn i Ioan gael gafael ar Iago. Ni fuasai Andreas "yn gyntaf," oni buasai fod Ioan yn "ail"—y mae "cyntaf" heb amser yn golygu "ail." "Y prawf goreu," ebe yr Hybarch Bede, "ein bod ni wedi cael Crist mewn gwirionedd yw ein bod ninau yn ceisio ein brawd ac yn ei ddwyn at Grist. Trwy ofalu am eneidiau ein brodyr yr ydym yn cael Crist." **Ac a ddywedodd wrtho, Nyni a gawsom y Messias, yr hyn o'i ddehongl yw, Y Crist.** Gan fod Ioan yn ysgrifenu ar gyfer pobl yn siarad yr iaith Roeg, barna yn ddoeth i gyfieithu Messias (Hebraeg) i Grist (Groeg), y naill a'r llall yn golygu yr Eneiniog. Gwna yr un peth yn iv. 25. Y mae y gair "cawsom" yn rhagdybied chwilio yn gyntaf; nid ei gael yn ddamweiniol a wnaethant, ond ar ol hir ddyheu ac ymofyn. Pa fodd y daeth Andreas i gymhwyso yr enw Messias at yr Iesu, gan nad ydoedd wedi clywed y Bedyddiwr yn ei ddefnyddio? Naill ai am fod yr enw wedi ei ddefnyddio yn yr ymddiddan dirgel rhwng y ddau ddysgybl ag Ef, neu ynte fel casgliad o'i eiddo ei hun mewn canlyniad i'r ymddiddan. *Eurêkamen* ni a gawsom! Dyma "gael" mwy nag *eurêka* Archimedes. Cawsant yr hwn yr oedd yr holl fyd wedi bod yn ei geisio!

**ADN. 42. Ac efe a'i dug ef at yr Iesu.** Yn hwyrol yr un dydd. **A'r Iesu wedi edrych arno ef.** Gair yn golygu edrychiad craff, treiddgar, meddylgar, nes y teimla yr hwn yr edrychid arno fod dirgelion ei galon

ddywedodd, Ti yw Simon mab Jona: ti a elwir Cephas,
**yr hwn a gyfieithir, Carreg.**
43 Trannoeth yr ewyllysiodd yr Iesu fyned allan i
Galilea; ac efe a gafodd Phylip, ac a ddywedodd wrtho,

---

yn agored i'r Llygad gloew, pur. Yr un "edrychiad" llonydd, dwfn, cariadus, a'i gyrodd allan ar ol hyn i wylo yn chwerw dost. **Ti yw Simon, mab John.** Fel yna yn y prif lawysgrifau, ac a fabwysiedir yn y Cyf. Diw. Pa fodd y gwyddai yr Iesu ei enw? Etyb rhai, megis Plummer, i Andreas roddi ei enw, ac enw ei dad, wrth ei gyflwyno i sylw yr Athraw. Etyb eraill, megis yr Esgob How, mai yn rhinwedd yr un gwybodaeth oruwchnaturiol ag y gwybu am Nathanael dan y ffigysbren. Ond gan fod y naturiol yn ateb y dyben yma, afreidiol yw dwyn i mewn y goruwchnaturiol. **Ti a elwir Cephas, yr hwn a gyfieithir Careg.** Ar ymyl y ddalen, Petr. Rheol y cyfieithwyr yw dodi y gair Groeg yn nghorph yr adnod, a'r gair Cymraeg ar ymyl y ddalen; ond am ryw reswm, neu yn hytrach heb reswm, ymadawsant a'u harfer yma, gan iddynt roddi y Cymraeg "Careg" yn nghorph yr adnod, a'r Groeg "Petr" ar yr ymyl. Gair yn perthyn i'r iaith Aramaeg yw Cephas, un o'r canghen-ieithoedd Semitaidd, yr hon a ddysgodd y genedl yn y caethiwed yn Babilon, a'r hon a ddaeth yn raddol yn iaith gysefin Palestina. Oherwydd paham cyfieitha Ioan y gair i iaith ei ddarllenwyr. Edrychodd yr Iesu yn ddifrifol ar Simon; darllenodd ei natur, a gwelai ynddo ddefnyddiau amrwd apostol a merthyr; a thrwy gyfnewid ei enw, arwyddoca y cyfnewidiad cyfatebol a gymerai le yn ei gymeriad. O fod yn Simon, dadblygai yn Betr—yn graig o ddyn, sefydlog a phenderfynol yn ngwyneb pob erledigaeth. Nid yw yr enw yn cael ei gyfnewid yn weithredol yn awr,—"ti a elwir Petr," yn yr amser dyfodol. Rhagfynegiad ydyw o'r cyfnewidiad a gymerai le yn yr enw mewn canlyniad i'r cyfnewidiad a gymerai le yn y carictor. Yn nhueddau Cæsarea Philippi (Matt. xvi. 18) cyfarcha yr Iesu ef drachefn, "Ti yw Petr"; nid am ei fod eto wedi troi yn graig, ond am ei fod wedi cael gafael cryf ar wirionedd a'i gwnai yn graig yn y man. Ar ddydd y Pentecost craig oedd, a chraig a fu weddill ei oes. Ond Simon ydyw yn yr efengylau; Simon yw yr enw wrth ba un y cyferchir ef yn ddieithriad gan yr Iesu (Marc xiv. 37; Matt. xvii. 25; Luc xxii. 31; xxi. 15–17); a dilys genym mai wrth yr un enw yr adwaenid ef gan ei gyd-ddysgyblion hyd y Pentecost, pan yr ychwanegwyd Petr.

**ADN. 43. Tranoeth.** Y pedwerydd dydd o adn. 19. Defnyddir yr un gair bedair gwaith, sef yn adn. 19, 29, 35, a 44. **Yr ewyllysiodd yr Iesu fyned allan i Galilea.** Sef o gymydogaeth Bethania, lle yr oedd Ioan yn bedyddio. Nid yw yr efengylwr yn crybwyll y rheswm paham yr ewyllysiodd fyned; a gawn ni awgrymu mai am ei fod yn addawedig yn mhriodas ei gyfathrach yn Cana? Fodd bynag, Galileaid oedd y pedwar dysgybl ag oedd Ef eisoes wedi enill, ac ä yn mlaen i enill eraill o'r un wlad, yr hyn a ddengys fod trigolion Galilea yn fwy syml eu bywyd a'u meddwl na thrigolion Judea, ac felly yn debycach o dderbyn ei genadwri. **Ac Efe a gafodd Phylip.** Nid ei gael yn ddamweiniol, ond, fel y golyga y gair, mewn canlyniad i chwilio.

Dilyn fi. A Phylip oedd o Bethsaida, o ddinas Andreas a 44
Phetr. Phylip a gafodd Nathanäel, ac a ddywedodd 45
wrtho, Cawsom yr hwn yr ysgrifenodd Moses yn y
gyfraith, a'r prophwydi, am dano, Iesu o Nazareth, mab

---

Daeth y pedwar cyntaf i geisio yr Iesu; ond yma ä yr Iesu i geisio y pumed. Daw yr Iesu a dynion i gyffyrddiad â'u gilydd mewn amryfal ffyrdd. **Ac a ddywedodd wrtho, Dilyn fi.** Dyma y tro cyntaf i'r Iesu lefaru y geiriau pwysig hyn, "awdurdodol eiriau'r nef." Ond profa hyn fod Phylip yn gwybod rhywbeth am yr Iesu yn gystal a bod yr Iesu yn gwybod rhywbeth am Phylip, fel y dengys yr adnod ganlynol.

**ADN. 44. A Phylip oedd o Bethsaida, o ddinas Andreas a Phetr.** Defnyddir yma ddau air gwahanol am "o." Y cyntaf (*apò*) yn golygu "o" Bethsaida yn yr ystyr ei fod yn byw ynddi ar y pryd; yr ail (*ek*), "o" ddinas Andreas a Phetr yn golygu fod y ddau yn enedigol o Bethsaida, ond nid eu bod yn trigo yno yn awr, am eu bod wedi symud i Capernaum (Matt. viii. 5—14; Marc i. 21, 29; Luc iv. 31, 38). Gan hyny ymddengys fod Phylip a hwythau yn hen gydnabod, a diau ei fod ef fel hwythau yn mhlith canlynwyr Ioan. Siglai yn ei feddwl beth i wneyd, -dilyn esiampl ei gyfeillion a myned ar ol yr Iesu, ynte parhau i lynu wrth y Bedyddiwr. Gwyddai yr Iesu ystâd ei feddwl; am hyny, aeth allan i'w geisio cyn gadael y gymydogaeth, ac a ddywedodd wrtho, "Dilyn fi." Gan na allai dori y ddadl ei hunan, torodd Crist hi iddo. Y mae un gair caredig ond awdurdodol yn help mawr i ddynion sydd yn cloffi rhwng dau feddwl.

**ADN. 45. Phylip a gafodd Nathanael.** Rhyfedd fel y mae y dysgyblion yn chwilio am, ac yn cael gafael yn, eu gilydd. Ceir yr enw Nathanael yn yr Hen Destament (1 Cron. xv. 24; Ez. x. 22); ac felly, yn wahanol i "Phylip," enw Hebraeg yw. Brodor o Cana oedd Nathanael (xxi. 2), ac y mae yn dra thebygol ei fod yntau hefyd o nifer dysgyblion Ioan, yr hyn a gyfrif am y ffaith eu bod oll, hyd y medrwn ni gasglu, tua chymydogaeth "Bethania, y tu hwnt i'r Iorddonen." Y mae un frydedd go lwyr yn mhlith esbonwyr mai yr un oedd Nathanael a Bartholomeus,—y cyntaf yn enw personol, yr ail yn enw teuluol. Bar-Tholomew = Bar-Tolomai = mab Ptolemy. Yr oedd Bar yn yr Aramaeg yn gyffelyb i Ap neu Ab yn y Gymraeg ac i Ben yn yr Hebraeg. Y rhesymau dros gredu mai yr un yw Nathanael a Bartholomeus yw y rhai canlynol: (1) Y mae Ioan yn cyplysu Phylip a Nathanael â'u gilydd, tra y mae yr efengylwyr eraill (Matt. x. 3; Marc iii. 18; Luc vi. 14) yn cyplysu Phylip a Bartholomeus, yr hyn a awgryma mai dau enw ar yr un person yw Nathanael a Bartholomeus. (2) Os nid yr un yw y ddau, yna nis darllenwn yn unman am alwad Bartholomeus. (3) Llefara yr efengylwyr eraill am Bartholomeus ond nid am Nathanael, tra y llefara Ioan am Nathanael ond nid am Bartholomeus. (4) Enwa Ioan (xxi. 2) Nathanael, Phylip, Tomos, Iago, a Ioan yn pysgota gyda'u gilydd; y mae y pedwar olaf yn apostolion, ac nid annhebyg fod y cyntaf hefyd.

**Yr hwn yr ysgrifenodd Moses am dano . . . ni a gawsom.** Dyna drefn y geiriau yn y gwreiddiol, er mwyn rhoddi y pwyslais ar y person ac nid ar y "cael." Y mae yn bosibl hefyd y taffa yr ymadrodd oleuni

46 Joseph. A Nathanäel a ddywedodd wrtho, A ddichon
dim da ddyfod o Nazareth? Phylip a ddywedodd wrtho,
47 Tyred, a gwel. Iesu a ganfu Nathanäel yn dyfod atto;

---

newydd ar yr ymddiddan cyfrinachol rhwng yr Iesu a'i ddysgyblion cyntaf, sef iddo, fel ar ol hyn, egluro iddynt yr Ysgrythyrau am dano ei hun. Ni chyfeirir yma at un adran arbenig, ond at rediad cyffredinol yr H. D. Y Messiah, y Crist, yw pwngc mawr y Datguddiad. Yn hyn cyfeiliorna yr uwchfeirniaid: trwy anghofio mai Crist yw mater yr H. D., collant olwg ar yr unoliaeth dwfn a red trwyddo. Dywed Calfin fod Phylip yn gwneyd dau gamgymeriad: sef fod Crist yn anedig o Nazareth yn lle o Fethlehem; ac yn fab Joseph, tra nad oedd ond "mab, fel y tybid, i Joseph"; ond fod ei ddau wàll yn cael eu maddeu oblegid ei awydd i ddwyn eraill ato. Pa fodd y daeth Phylip i wneyd y ddau gamgymeriad? Yn gyntaf, am mai newydd ddyfod at yr Iesu yr ydoedd, ac felly heb gael hamdden i ddysgu yn well; ac yn ail, am y llefarai yn ol ymddangosiad pethau ar y pryd. Ni wyddai neb o'r dysgyblion eto am y Cenhedliad gwyrthiol,—dirgelwch oedd hwn i'r dyfodol. Tybiaeth ffol, fodd bynag, ydyw eiddo Baur a Strauss na wyddai hyd yn nod Ioan, pan yn ysgrifenu yr efengyl hon, am ei enedigaeth wyrthiol. Nid ysgrifenu yr oll a wyddai y mae yr efengylwr, ond adrodd yn onest yr hyn a ddywedodd Phylip, a thrwy hyny adlewyrchu ystâd ei feddwl y diwrnod cyntaf neu yr ail ar ol ei ymrestriad yn mhlith canlynwyr yr Iesu.

**ADN. 46. A ddichon dim da ddyfod o Nazareth?** Fod y Messiah wedi dyfod o Nazareth a ymddengys i Nathanael yn anhygoel am dri rheswm. (1) Nid Nazareth, ond Bethlehem, a enwai prophwydoliaeth fel tref enedigol y Messiah. (2) Yr oedd argraph ar feddwl y cyhoedd na chododd ac na chodai prophwyd o Galilea (vii. 52). Pa fodd y cynyrchwyd yr argraph hon nis gallwn ddyfalu yn ngwyneb y ffaith fod Jonah, Hosea, Nahum, Amos, ac feallai Elias ac Eliseus wedi codi yn y rhanbarth hono. (3) Am yr ymddengys mai tref go ddinod ydoedd, mor ddinod fel na chafodd ei henwi unwaith yn yr H. D. na Josephus na'r Talmud, a bod iddi anair yn y wlad. Y mae rhai yn amheu yr haeriad diweddaf; ond yn sicr pob tro y crybwyllir hi yn yr efengylau dangosir hi mewn goleuni tra anffafriol. Symudodd yr Iesu oddiyno i Capernaum i fyw (Matt. iv. 13); "ni wnaeth Efe nemawr o weithredoedd nerthol yno, oherwydd eu hanghrediniaeth hwynt" (Matt. xiii. 58); ac unwaith ceisiasant ei ladd Ef trwy drais (Luc iv. 29). I Judea yr edrychai hyd yn nod Galilea am y Messiah.

**Tyred a gwel.** Ni fedrai Phylip yn ystâd ei wybodaeth y pryd hwnw ymresymu y pwngc; ond ni adawai i anhawsderau y deall siglo sicrwydd ei ffydd, sylfaenedig ar ei brofiad. Meddwl ymarferol, ac nid athrawiaethol, oedd yr eiddo Phylip; a dwg ei dystiolaeth, medd Luthardt, yn adn. 45 fel pe bai yn ysgrifenu *certificate* i'r Messiah.

**ADN. 47. Iesu a ganfu Nathanael yn dyfod ato.** Ac yn y man Efe a ddarllenodd ei gymeriad. Y mae greddf bur yn fedrus i ddarllen cymeriadau; dyna y rheswm, o bosibl, paham y mae gwragedd yn gywirach beirniaid carictor na gwŷr. Eithr nid greddf naturiol yn unig oedd yn

ac a ddywedodd am dano, Wele Israeliad yn wir, yn yr
hwn nid oes dwyll. Nathanäel a ddywedodd wrtho, Pa 48
fodd y'm hadwaenost? Iesu a attebodd ac a ddywedodd
wrtho, Cyn i Phylip dy alw di, pan oeddit tan y ffigysbren,
mi a'th welais di. Nathanäel a attebodd ac a ddywedodd 49

---

Nghrist, ond greddf oruwchnaturiol. Adnabu yn drwyadl Simon (42), Phylip (43), Nathanael (47), Nicodemus (iii. 1—10), a'r wraig o Samaria (iv.). **Wele Israeliad yn wir.** Nid Israeliad yn ol braint a defod yn unig, ond un oedd felly trwy enwaediad y galon. **Yn yr hwn nid oes dwyll.** Cyfeiriad at Gen. xxxii. 24—29. Hynodid Jacob yn rhan gyntaf ei hanes gan gyfrwystra i dwyllo—"disodlwr" oedd ei enw; ond ar ol yr ymdrech galed yn Peniel difawyd ei dueddfryd dwyllodrus—daeth yn ddyn gonest, unplyg. Y mae cyffyrddiad bywiol â Duw yn gwneyd y cymeriad yn loew a goleu; ac fel arwydd o hyn newidiwyd ei enw o Jacob i Israel, o fod yn ddisodlwr i fod yn dywysog gyda Duw. Un felly oedd Nathanael—calon onest, natur loew, amcan unplyg.

**ADN. 48. Cyn i Phylip dy alw di, pan oeddit dan y ffigysbren, mi a'th welais di.** Nid, Myfi a'th welais di mewn rhywle arall, cyn i Phylip dy alw di pan oeddit dan y ffigysbren; ond, Cyn i Phylip dy alw di, mi a'th welais di dan y ffigysbren. Pren canghenog, deiliog yw y ffigysbren, ac oblegid hyny arferai teuluoedd yn Israel gyrchu tano i ddiangc gwres yr haul (1 Bren. iv. 25; Mic. iv. 4; Zech. iii. 10); ac o ganlyniad gofelid fod pren o'r fath yn tyfu bron yn mhob gardd. Am yr un rheswm arferai y Rabbiniaid Iuddewig a'u hefrydwyr ymgasglu dan gysgodion ei ganghenau tewfrig. Dysga Wordsworth fod *hupo tên*, ac nid *hupo tê*, yn cael ei ddefnyddio yma i arwyddo fod Nathanael wedi ymneillduo dan y ffigysbren gydag amcan arbenig, i ymdrech â Duw i ryw ddyben neillduol. A diau i rywbeth rhyfedd gymeryd lle rhyngddo a Duw yr adeg hon, cyffelyb i'r hyn a gymerodd le rhwng Jacob a Duw yn Peniel. Pa le yr oedd y ffigysbren? Os yn Cana y cafodd Phylip afael ar Nathanael fel y mýn Alford ac eraill, diamheu mai y ffigysbren yn ngardd ei dŷ a feddylir. Ond gan y credwn ni fod yr hanes yn dysgu fod Nathanael yn agos i'r lle yr oedd Ioan yn bedyddio, gwelwn lawer o brydferthwch a naturioldeb yn nhybiaeth Schaff mai dan ryw ffigysbren yn y gymydogaeth hono yr ydoedd, y ffigysbren, yn twyaf tebyg, yn Peniel, yr hon a nodai y lle y bu Jacob mewn ymdrech â Duw ynddo. Yr oedd Nathanael wedi bod, feallai, mewn ymdrech gyffelyb ar yr un darn o dir; ac fel ei gyndad enwog enillodd fuddugoliaeth ar ryw lygredd yn ei galon. Y mae yn amlwg fod rhywbeth rhyfedd wedi cymeryd lle, canys y mae cyfeiriad yr Iesu ato yn cynhyrfu ei holl enaid. **Myfi a'th welais di.** Y "myfi" yn bwysleisiol. Nid gwelediad meddyliol yn unig, ond gwelediad allanol hefyd,—yr Iesu, yn rhinwedd y goruwchnaturiol ynddo yn ei weled o bell. Ond beth oedd y goruwchnaturiol hwn ynddo? Ai gweithrediad yr Ysbryd Glân ar enaid yr Arglwydd Iesu cyffelyb i'w weithrediadau ar y prophwydi megis yn 2 Bren. v., ynte gweithrediad uniongyrchol ei natur ddwyfol? Y mae cefnogwyr athrawiaeth y Gwâghad yn ei ffurf eithafol am briodoli yr oll i'r Ysbryd; ond dyogelach yn ein bryd ni yw cyfuno y ddau. Pan yr oedd yr Ysbryd yn dylanwadu ar

wrtho ef, Rabbi, ti yw Mab Duw; ti yw Brenhin Israel.
50 Iesu a attebodd ac a ddywedodd wrtho ef, O herwydd i mi
ddywedyd i ti, Myfi a'th welais di dan y ffigysbren, a
ydwyt ti yn credu? ti a gei weled pethau mwy na'r rhai

---

y prophwydi, teimlent eu bod yn cael eu derchafu uwchlaw eu hystâd arferol; ond nid oedd dim derchafiad gwyrthiol yn ymwybyddiaeth yr Iesu—y mae y "gweled" a'r "adnabod" ar lefel ei fywyd. Nid oes un awgrym nad y sefyllfa hon oedd ei sefyllfa arferol *(normal)* Ef.

**ADN. 49. Rabbi.** Ni ddywedodd y gair hwn yn ei ateb cyntaf, ond yn awr dechreua weled fawredd yr Iesu. **Ti yw Mab Duw.** Clywodd Nathanael o bosibl eiriau y Bedyddiwr yn adn. 34; ond ni allasai y pryd hwnw afael ynddynt i bwrpas. Ond y mae y datguddiad annisgwyliadwy a gafodd o wybodaeth oruwchnaturiol yr Iesu yn ei daraw a syndod addoliadol, "Ti yw Mab Duw." Beth a feddyliai wrth yr ymadrodd? Y mae yn anhawdd dyweyd gyda manylder, y mae yn amheus a wyddai ei hunan. Duwinyddiaeth y galon sydd yma yn hytrach na duwinyddiaeth y deall; ac y mae y gyntaf yn aml yn ddyfnach a chywirach na'r ddiweddaf. Mewn munydau o dderchafiad meddyliol ac ysbrydol, rhydd dynion ddatganiad i wirioneddau na wyddant eu hunain yn iawn eu cynwys. (1) Meddyliai yn ddiau mai yr Iesu oedd y Messiah, y Messiah ar ei ochr ddwyfol. Gelwid y Messiah gan yr Iuddewon weithiau yn Fab Dafydd, ac weithiau yn Fab Duw (xi. 27; Matt. xxvi. 63; Marc iii. 11; v. 7; Luc iv. 41). (2) Tebygol nad oedd ganddo amgyffrediad am Dduwdod priodol yr Iesu; dwyfoldeb, feallai, oedd uchaf yn ei feddwl. (3) Ond er nad oedd ei ddealldwriaeth yn myned yn mhellach na hyn, eto meddai, yn y gyffes a wnaeth, y gwirionedd mawr a gyrhaeddodd ei addfedrwydd yn y deunaw adnod cyntaf o'r benod hon. Y mae sylw Luthardt yn gywir na feddiannai ffydd Nathanael byth *fwy* o wirionedd nag a gofleidiai yn awr, a sylw Godet fod y mwngloddiwr, pan yn gosod ei law ar fàr o aur, yn meddu cymaint o aur a phan y bydd y bàr wedi ei droi yn arian bathol—nid ydyw mor hylaw, ond y mae yn llawn mor werthfawr. Y mae ffydd yn y dechreu yn meddiannu yr oll o Grist; ond cymer oesoedd iddi wybod cynwys ei meddiant. Aiff yn ffydd fwy goleuedig, ond nid mwy cyfoethog. **Brenhin Israel** Tra y mae yr ymadrodd cyntaf yn dangos y Messiah yn ei berthynas a Duw, y mae hwn yn ei osod allan yn ei berthynas â'r genedl. Cysylltai ef y Messiah a phobl yr Israel. Cymerodd flynyddoedd i ddysgu y dysgyblion mai brenhin ysbrydol ar Israel ysbrydol oedd y Crist i fod. Y mae eu syniadau ar y cychwyn, fel y gellid disgwyl, yn gymysg o oleuni a thywyllwch; ond gan fod ganddynt galonau gonest a da, aiff y goleuni ynddynt yn gryfach gryfach.

**ADN. 50. A ydwyt ti yn credu?** Y ffordd ofyniadol i amlygu syndod, ebe Meyer; i ddatgan cerydd, ebe De Wette. Ond ymddengys i ni nad yw y gofyniad yn amlygu y naill na'r llall, ond yn ganlyniad naturiol i gyffes Nathanael. Cyn amser Chrysostom, y ffurf fwyaf arferol oedd yr osodiadol,—"yr ydwyt ti yn credu;" ond nid yw y naill ffordd na'r llall yn gwneuthur fawr o wahaniaeth yn y meddwl. **Ti a gei weled pethau**

hyn. Ac efe a ddywedodd wrtho, Yn wir, yn wir, meddaf 51
i chwi, Ar ol hyn y gwelwch y nef yn agored, ac angelion
Duw yn esgyn ac yn disgyn ar Fab y dyn.

---

**mwy na'r rhai hyn.** Amlygiadau mwy dwyfol o fawredd fy Mherson na'r wybodaeth a ddangosais o ddirgelion dy hanes di. Y mae goleuni bach, o'i iawn ddefnyddio, yn arwain i oleuni mwy. "Cred fel y dealli," meddai Awstin.

**ADN. 51. Ac Efe a ddywedodd wrtho, Yn wir, yn wir, meddaf i chwi.** "Yn wir, yn wir;" yn y gwreiddiol, Amen, amen. Y mae "Yn wir," neu "Amen" unwaith, yn dygwydd 30 o weithiau yn Matthew, 14 yn Marc, 7 yn Luc, ond yn ei ffurf ddyblyg ddim unwaith. Ar y llaw arall, ceir ef yn ei ffurf ddyblyg 25 o weithiau yn efengyl Ioan. Beth yw swyddogaeth yr "Amen" dyblyg yn ngenau yr Iesu? Cyfrana y sicrwydd mwyaf i'r gwirionedd sydd yn dilyn. "Fel hyn y dywed yr Arglwydd" oedd sel y prophwydi; derbynient eu hawdurdod a'u nerth oddiwrth y Jehofah. "Yn wir, yn wir, meddaf i chwi" oedd sel yr Iesu; llefarai Ef yn ei enw ei hun, a derbyniai ei awdurdod o'i bersonoliaeth ei hun. Derchafa hyn Ef o ddosbarth y prophwydi i'r un dosbarth ag Arglwydd y prophwydi. Nid llefaru trwy yr Ysbryd Glân yn unig yr ydoedd fel y prophwydi, yn yr ymwybyddiaeth fod ffynhonell ei awdurdod y tu allan iddo ei hun; ond yn hytrach llefarai yn y llawn ymwybyddiaeth o'i Dduwdod personol, ac o ganlyniad yn ei enw ei hun. Nag Efe ei hun nid oes awdurdod uwch yn bod. "Amen, amen;" a thrwy hyny cysyllta ei hun a "Duw yr Amen" yn Es. lxv. 16 (yn ein cyfieithiad ni, "Duw y gwirionedd"). Ond pa fodd y cyfrana yr "Amen, amen" sicrwydd i feddyliau y gwrandawyr neu y darllenwyr? Oblegid fod yr Iesu yn yr ymadrodd hwn ar ei lw. Cadarnhaodd Duw Gyfamod Sinai, eithr nid â llw; ond cadarnha y Cyfamod Gras, pa un ai ag Abraham ai a chredinwyr yn gyffredinol, â llw. Cymaint yw awydd yr Iesu i roddi sicrwydd i'r ddynoliaeth ar byngciau mawr bywyd tragwyddol, fel y cymer ei lw drachefn a thrachefn fod yr hyn a ddywed yn wirionedd. Trwy efengyl Ioan yr ydym yn anadlu awyr y Dwyfol Lw. **Ar ol hyn.** Gadewir y geiriau hyn allan yn y prif lawysgrifau, ac felly yn y Cyf. Diw.

**Chwi a welwch y nef wedi ei hagor.** Agorwyd y nef wybrenol mewn rhyw ystyr i olygiad Stephan dan y gawod geryg nes gweled o hono Fab y Dyn yn sefyll ar ddeheulaw Duw (Act. vii. 56),—agoriad gwyrthiol, ac mewn rhyw ystyr anianyddol; ond yma agoriad ysbrydol. Cynwys hyn fod y nef yn nghau o'r blaen, y cymundeb rhwng nefoedd a daear wedi ei atal yn herwydd pechod. Agorid y pyrth yn achlysurol, ond fel rheol pyrth cauedig oeddynt. Ond darfu i'r Arglwydd Iesu trwy ei Ymgnawdoliad, ei Iawn, a'i Esgyniad, eu hail-agor o led y pen. "Derchafwch eich penau, o Ddrysau Tragwyddol, a Brenhin y Gogoniant a ddaw i mewn;" ac ni chauwyd y pyrth ar ol hyny. **Ac angelion Duw yn esgyn ac yn disgyn ar Fab y Dyn.** Cyfeiriad amlwg at weledigaeth Jacob yn Bethel (Gen. xxviii. 12). Ar ol dechreu gyda yr "Israel yn wir" yn adn. 47, y mae yr Iesu yn sylfaenu gweddill yr ymddiddan ar hanes yr Israel cyntaf. Gellid meddwl am yr angelion mai "disgyn" yn nghyntaf a ddywedid, ac "esgyn" wedi'n. Ond

nid felly yn mreuddwyd Jacob nac yn ymadrodd yr Iesu. Diau fod rheswm am hyn: beth ydyw? (1) Y mae gagendor fawr rhwng Duw a'i greadigaeth, hyd yn nod a'r angel uchaf. Y mae Duw i fynu fry, a'r greadigaeth i lawr yma; y mae yr angelion yr un ochr i'r gagendor a dynion. Rhaid iddynt hwy felly, fel ninnau, gychwyn o waelod yr ysgol. (2) Yr Iesu yn unig sydd yn pontio yr agendor. Efe yw yr ysgol a welodd Jacob; o ganlyniad, ar hyd-ddo Ef y rhaid hyd yn nod i'r angelion dramwyo i gyrhaedd Duw. Efe yw yr unig un a fedr ddisgyn cyn esgyn (Eph. iv. 9, 10); rhaid i bob creadur esgyn cyn y medr ddisgyn. (3) Yr Arglwydd Iesu yw canolbwynt y cread; "ynddo Ef y mae pob peth yn cydsefyll;" a phan y symudodd y *centre* o'r nefoedd i'r ddaear, daeth y planedau i gyd i'w ganlyn. Lle yr oedd Ef, yno yr oedd yr angelion; gan hyny, os oeddynt i esgyn i'r nefoedd, rhaid oedd iddynt gychwyn o'i berson Ef. **Mab y Dyn.** Mab Duw, meddai Nathanael; Mab y Dyn, meddai yr Iesu. Hwn yw ei hoff enw Ef arno ei hun: dygwydd 30 o weithiau yn Matthew; 13 yn Marc; 25 yn Luc. Ond ni ddygwydd ond 12 gwaith yn Ioan--gwell gan Ioan yr enw Mab Duw. Nis ceir yr enw arno o gwbl ar ol yr adgyfodiad. Nid yw Act. vii. 56, a Dat. i. 13, ond eithriadau ymddangosiadol. Nid oes neb ond ei hunan yn ei gyfenwi wrth yr enw hwn. O ba le y cafodd yr enw? Wrth ofyn y cwestiwn nid ydym yn awgrymu na allasai yr Iesu ddyfeisio enw newydd; ond ei arfer Ef yw grafftio y newydd ar yr hen. Tybia rhai fod yr Iuddewon yn achlysurol yn galw y Messiah yn Fab y Dyn; ac, os yw yr adranau yn Llyfr Enoch yn ddilys, nis gall fod amheuaeth ar y pwngc. Dywedir hefyd yr arferent ei alw yn Ddyn y Cymylau, oddiwrth Dan. vii. 13. Gelwir dyn yn aml yn yr H. D. yn Ben-Adam, sef dyn yn ei wendid, yn ei iselradd; ac yn Ben-Ish, sef dyn yn ei gryfdwr, yn ei uchelradd; ond yn Llyfr Daniel vii. 13, yn Bar-Enash—enw Aramaeg yn cyfateb i Ben-Adam yn yr Hebraeg. Gwelir felly fod Mab y Dyn yma yn cymeryd gafael mewn termau cyffelyb yn yr H. D. Darllener Daniel vii. 13, lle yr enwir yn bendant Fab y Dyn (Bar-Enash), ac hefyd yr angelion, sef y "gwylwyr" nefol, y rhai a'i dygasant Ef ger bron yr Hen Ddihenydd. Ai damwain hollol yw y cyffelybrwydd hwn? Cyfeiria Crist yn arbenig at y brophwydoliaeth hon o eiddo Daniel yn Matt. xxiv. 30, ac yn Matt. xxvi. 64, lle y cysylltir Mab y Dyn a'r Cymylau â'u gilydd. Ai damwain yw hyn hefyd? Yna nid yw damwain yn ddamwain mwyach. Haera yr uwchfeirniaid mai cyfaddasiad sydd yma o'r geiriau gan yr Iesu ato ei hun. Ond paham cyfaddasiad? Ai nid dyogelach a llawnach o'r parchedigaeth sydd yn gweddu i ni wrth drin yr Ysgrythyrau Sanctaidd yw cymeryd mai esboniad yw y geiriau yn ngenau yr Iesu, ac mai yr uwchfeirniaid sydd yn cyfaddasu pan yn eu cymhwyso at ryw lywydd archoffeiriadol yn amser y Maccabeaid. Yn yr adran flaenorol o'r benod, cydmerir llywodraethwyr gwladol i fwystfilod yn codi y naill ar ol y llall o fôr gwleidyddiaeth y byd, i arwyddo fod eu tarddiad o'r ddaear yn ddaearol, a'u hysbryd yn fwystfilaidd, ac y teyrnasent trwy *brute force*. Ond cynrychiolir y pumed teyrnas gan Fab y Dyn yn dyfod ar gymylau y nef, i ddangos fod ffynhonell ei awdurdod o'r nefoedd yn nefol, a bod ei hysbryd yn ddynol, ac yn enill ufudd-dod trwy apelio at reswm a chydwybod. Darllener yr adnodau yn Daniel yn araf ac ystyriol, a theimlir fod y wisg yn rhy fawr i unrhyw urdd o archoffeiriaid llywodraethol yn

## PENOD II.

A'R trydydd dydd yr oedd prïodas yn Cana Galilea: a 1
mam yr Iesu oedd yno. A galwyd yr Iesu hefyd a'i 2

---

oes y Maccabeaid—y mae *scope* ehang y geiriau yn cyfeirio y meddwl yn anwrthwynebol at ryw Un mawr. Gwir y dywedir y rhoddir y llywodraeth i saint y Goruchaf, pa un ai yr Israel gynt, ai yr Israel ysbrydol yn awr; ond yn lle hunaniaethu Mab y Dyn â'r saint, mwy priodol yw hunaniaethu y saint â Mab y Dyn,—llywodraethant hwy ynddo a thrwyddo Ef. Credwn ni, gan hyny, fod yr Iesu a'i olwg ar brophwydoliaeth Daniel pan yn hawlio yr enw hwn iddo ei hun. Mab y Dyn: beth yw cynwys yr enw? Dyn (*ánthrōpos*) yw y gair, nid gwr (*anēr*), yn golygu dyn cyn dechreu ymranu o hono yn rywiau, ac felly cyn i unrhyw wahaniaeth arall gyfodi. Golyga y ddynoliaeth yn y dyfnder lle y mae pawb yn un, dynoliaeth yn ei gwraidd cyn dechreu o honi ymgangheni. Brigau ar ganghenau y ddynoliaeth ydym ni; ond nid brigyn ar ganghen yw yr Arglwydd Iesu, eithr "planhigyn o *gyff* Jesse"—tyf allan o wraidd y ddynoliaeth. Cynwysa hyn dri pheth. Yn gyntaf, yr oedd yn ddyn perffaith, cyflawn. Yn ail, yr oedd yn ddyn cyffredinol—yr holl ddynoliaeth wedi ei hail-gasglu ynghyd ynddo Ef. Efe oedd yr ail Adda; ac felly, nid yn unig yn fwy dyn, ond yn fwy o ddyn, na neb arall. Yn drydydd, pa fodd y cyfrifir am gyflawnder, cyfanrwydd, a chyffredinolrwydd ei ddynoliaeth Ef rhagor eiddo pawb eraill? Nid oes ond un eglurhad—yr oedd yn Fab Dyn am ei fod yn Fab Duw. Adn. 34 yw yr unig eglurhâd boddhäol ar adn. 49.

---

## PENOD II.

### YR ARWYDD GYNTAF. ADN. 1—11.

**ADN. 1. A'r trydydd dydd.** Y trydydd ar ol cyfarfyddiad yr Iesu a Nathanael (i. 44—51), er y mŷn rhai y trydydd ar ol ymuniad Andreas a Ioan ag Ef (i. 38—40). Arferid cynal y ddefod briodasol mewn cysylltiad â morwyn ddydd Mercher; ac os morwyn a briodid yma, fel y mae yn debygol, gellir olrhain symudiadau yr Iesu wythnos gyntaf ei fywyd cyhoeddus yr un modd ag y gellir yr wythnos olaf. Cymerodd yr ymddiddan rhwng y ddirprwyaeth o Jerusalem a'r Bedyddiwr le dydd Iau; dydd Gwener dychwela yr Iesu o demtiad yr anialwch, a dwg Ioan dystiolaeth iddo fel Oen Duw; dydd Sadwrn, y Sabbath Iuddewig, ymddengys yr Iesu i Ioan yr ail waith, a'r un diwrnod ymrestra Andreas a Ioan, Petr ac Iago, yn ddysgyblion iddo; Dydd Sul, y Sabbath Cristionogol, geilw yr Iesu Phylip, a phenderfyna gymeryd taith i Galilea; cychwyna Ddydd Llun ac enill Nathanael ar y ffordd; teithia Ef a'i chwe' dysgybl ddydd Mawrth; a chyrhaeddant Cana Galilea ddydd Mercher, diwrnod y briodas,—pellder o tua 50 neu 60 milldir. **Yr oedd priodas.** Aeth yr Iesu i briodas, am fod priodas yn rhan o drefn ordeiniedig Duw, ac felly yn perthyn i'r ddynoliaeth mewn sefyllfa ddibechod; ond ni ddarllenwn am dano yn myned i angladd, am fod

3 ddisgyblion i'r brïodas. A phan ballodd y gwin, mam yr
Iesu a ddywedodd wrtho ef, Nid oes ganddynt mo'r gwin.

---

angeu yn droseddiad ar drefn wreiddiol y greadigaeth. Nid gweddus i'r Adgyfodiad a'r Bywyd ymuno yn ngorymdaith y bedd. **Yn Cana Galilea.** I'w gwahaniaethu oddiwrth Cana yn llwyth Aser (Jos. xix. 28), ac hefyd oddiwrth Cana yn Perea (Jos. *Vita.* xvi. 1). Dywed traddodiad mai yr un ydyw a Kefr Kenna (Kefr, Arabaeg am bentref), tua phedair milldir a haner i'r gogledd-ddwyrain o Nazareth. Ond flynyddoedd yn ol darganfyddodd Robinson le a elwid Kenna-el-Jelil, tuag wyth milldir i'r gogledd-orllewin o Nazareth, a chan ei fod yr un â'r enw Ysgrythyrol, dadleua mwyafrif yr esbonwyr diweddar o blaid y lle hwn. Ond yr ydys wedi methu, er pob ymchwiliad, a darganfod unrhyw bentref yn dwyn yr enw hwn, ac felly bernir i Robinson gael ei gam-hysbysu gan ryw Arab awyddus i roddi boddhâd i'r ymchwiliwr ar draul y gwirionedd. Rhaid gan hyny syrthio yn ol ar Kefr Kenna. **A mam yr Iesu oedd yno.** Tybia rhai fod Mair yn byw yn awr yn Cana, ac mai ei mherched priod yn unig a drigent yn Nazareth, ac felly mai Cana oedd gartref presenol yr Iesu. Ond pe felly, y mae yn debyg y buasai Nathanael, cartref yr hwn oedd yn Cana (xxi. 2), yn ei adnabod, ac na fuasai arno eisieu hysbysrwydd Phylip am dano, yr hwn a'i geilw yn "Iesu o Nazareth." Nid yw Ioan unrhyw amser yn galw Mair wrth ei henw priodol,—gwaherddid ef, o bosibl, gan ledneisrwydd teimlad i grybwyll neb o'i dylwyth wrth eu henwau. Neu, feallai, mai y rheswm yw mai yn ei chymeriad fel mam yr Iesu, ac nid yn ei chymeriad personol, y dygir hi i mewn o gwbl. Cesglir oddiwrth bresenoldeb Mair, a'i phryder am anrhydedd y teulu, ei bod yn berthynas i deulu y briodas.

**ADN. 2. A'r Iesu hefyd a alwyd.** Y mae y ferf "galwyd" yn y rhif unigol, yn dangos mai yr Iesu fel cyfaill neu gâr oedd gwrthrych y gwahoddiad. Gellid tybied fod yr Iesu wedi derbyn y gwahoddiad wythnosau yn ol, cyn cychwyn o hono i fedydd Ioan; ac mai dyna y rheswm yr ewyllysiai adael Bethania i fyned i Galilea, sef i fod yn bresenol yn y briodas yn ol ei addewid. Gan fod ganddo yn awr chwech o ddysgyblion buasai yn groes i reolau caredigrwydd a moesgarwch eu gadael hwy allan. Gan hyny, dyma chwech o bobl yn fwy nag a ddisgwyliai y teulu bach, yr hyn a gyfrif am brinder y darpariaethau. Dylesid gwahodd yr Iesu i bob priodas, "yr hon wynfydedig ystâd a addurnodd ac a brydferthodd Efe a'i gynrychioldeb ei hun, a'r wyrth gyntaf a wnaeth Efe yn Cana Galilea."

**ADN. 3. A phan ballodd y gwin.** Parhâi gwledd priodas am tua saith niwrnod, er nad oedd un rheol bendant i benderfynu ei hyd. **Mam yr Iesu a ddywedodd wrtho Ef, Nid oes ganddynt mo'r gwin.** Paham y dywedodd Mair hyn wrtho? (1) Barna Bengel, ac nid yw Calfin yn gwahaniaethu ond ychydig, mai awgrym ydoedd i'r Iesu i gymeryd mesurau i derfynu y wledd; ond o'r braidd y mae hynyna yn sail ddigonol i'r ateb a rodda yr Iesu iddi yn yr adnod nesaf. (2) Tybia Meyer mai apel syml sydd yma am help, heb gyfeiriad o gwbl at y gwyrthiol, am yr arferai ddibynu llawer ar ei bwyll a'i gyfarwyddyd Ef yn y cylch cartrefol, ac felly i'r Iesu, wrth gyflawni gwyrth, wneyd mwy nag a ddis-

Iesu a ddywedodd wrthi, Beth sydd i mi *a wnelwyf* â thi, 4

---

gwyliai ei fam. (3) Barna Tholuck fod Mair wedi gweled arddangosiadau gwyrthiol o'r blaen yn ei gartref, ac felly yr erfyniai am ymyriad gwyrthiol ar ei ran yn awr. Ond gwrthddyweda hyn osodiad pendant yr efengylwr yn adn. 11. (4) Westcott a Godet a farnant mai cymhelliad yw y geiriau i'r Iesu ddangos ei hun fel Messiah, gwneyd ei hun yn hysbys i'r byd fel y Crist addawedig; ac o ganlyniad fod yr Iesu wedi gwneyd llai nag a ddisgwyliai ei fam. Yn ol yr esboniad hwn, gogoniant ei Mab, ac nid dedwyddwch y teulu bach, oedd yn llanw meddwl Mair; ond nid dyna yr argraph a edy yr hanes ar y darllenwyr. (5) Gwell genym ni ochel y ddau eithafion. Diau fod profiad teuluol wedi dysgu Mair i ymddiried yn noethineb ei Mab mewn amgylchiadau dyrys; ond nis gallwn osgoi yr argraph fod rhywbeth mwy yn yr amgylchiad presenol. Wrth ei weled a disgyblion yn ei ddilyn, ni allasai lai na dyfod i'w chof amgylchiadau gwyrthiol ei enedigaeth a'i febyd, a'r prophwydoliaethau a gerddasant am dano y pryd hwnw. Ac ni allasai ei chywreinrwydd lai na holi ei neiaint, Ioan a Iago, am hanes yr wythnosau diweddaf, a'r pethau rhyfedd a gymerasant le ar làn yr Iorddonen. Teimlai y fam dduwiolfrydig yn reddfol fod awr ei ymddangosiad i Israel yn ymyl; diau fod gallu goruwchnaturiol yn eiddo iddo! A hi a ddywedodd wrtho, Nid oes ganddynt mo'r gwin,—awgrym iddo ddefnyddio ei adnoddau i gynorthwyo ei berthynasau.

**ADN. 4. Beth sydd i mi a wnelwyf a thi, wraig?** Ni fedrai yr hen esbonwyr Protestanaidd, yn eu gwrthwynebiad i Fair-addoliad, wrthsefyll y demtasiwn i ddefnyddio y geiriau hyn i ddiraddio Mair. Ar y llaw arall, arferai yr esbonwyr Pabyddol bob ystryw i'w gwaghau o'u llawn ystyr. (1) Y mae y defnydd a wneir o'r ymadrodd yn y Beibl bob amser yn dangos mwy neu lai o anghydnawsedd teimlad neu farn (Jos. xxii. 24; Barn. xi. 12; 2 Sam. xvi. 10; 1 Bren. xviii. 18; 2 Bren. iii. 13; Matt. viii. 29; xxvii. 19; Marc i. 24); ond y mae natur foesol lednais yn gwrthod yr esboniad sydd yn troi y geiriau yn gerydd. Nid oes dim yn holl hanes Mair yn awgrymu cymhellion annheilwng, fel ag i alw am gerydd ar law ei Mab. Ni allwn ni weled dim anmhriodoldeb yn y sylw presenol o'i heiddo; ac y mae yr eglurhâd fod yr Iesu yma yn gweini cerydd i'w fam yn dolurio teimladau goreu y Cristion, nid yn gymaint am fod hyny yn adlewyrchu yn anffafriol ar y fam a'i fod yn taflu ystaen ar garictor ei Mab. Ac yn wir defnyddia ysgrifenwyr Germanaidd yr esboniad Protestanaidd arferol i brofi nad oedd yr Iesu yn ddibechod. Nid oedd y term "gwraig," wrth yr hwn y cyfarcha hi, yn swnio mor arw i bobl yr oes hono; y mae bron yn gyfystyr a "*madam*," neu "*lady*," yn yr iaith Saesonaeg. Dywed Don Cassius yn ei Hanes (li. 12) i Augustus gyfarch y frenhines Cleopatra yn y geiriau,—"Bydd wrol, o wraig, a chadw galon gref." (2) Yr oedd Efe wedi arfer rhoddi ufudddod i'w fam; ond yn awr dengys yn garedig, trwy gwestiwn cyffredin, fod yr ufudd-dod hwnw i derfynu. "Beth sydd i ti a mi?" H.y. "Beth sydd gyffredin i ti a mi? Cyn fy medydd wyth wythnos yn ol yr oedd llawer yn gyffredin rhyngom ni ein dau—perthynai i ti i erchi, ac i minau i ufuddhau. Ond fel person cyhoeddus, yn fy swydd fel Messiah, nid oes i mi gydnabod cyfathrach ddaearol; nid yw dy ewyllys di fel fy mam i

5 wraig? ni ddaeth fy awr i etto. Ei fam ef a ddywedodd
wrth y gwasanaethwyr, Beth bynnag a ddywedo efe
6 wrthych, gwnewch. Ac yr oedd yno chwech o ddyfr-

---

benderfynu fy ngwaith i fel Cyfryngwr. Nid yw cylch dy ddylanwad di i gyrhaedd i gylch iachawdwriaeth, nid ewyllys fy mam, ond ewyllys fy Nhad, sydd i'm llywodraethu i yn awr; dyma yr unig ewyllys y rhaid i mi ei chydnabod yn y deyrnas Gyfryngol." Y mae yma hyfforddiant ond dim cerydd. Yn ol Awstin, "Mewn pethau dwyfol, beth sydd i mi a wnelwyf a thi, wraig? Gan hyny nid ydwyt yn awr o fewn dy diriogaeth dy hun." Yr un egwyddor a ysbrydolodd ei ateb yn Matt. xii. 49, 50. **Ni ddaeth fy awr i eto.** A osododd Ef bwyslais ar yr "eto"? Os do, gallwn ddeall y disgwyliad a greodd yn nghalon ei fam, a'r cyfarwyddiadau a roddodd hithau i'r gwasanaethwyr. "Fy awr": ymadrodd pwysig yn yr efengyl hon, ac yn golygu awr ei farwolaeth, neu yn hytrach awr ei ogoneddiad trwy farwolaeth. "Daeth yr awr; gogonedda dy Fab." Ond tra y gall fod yma gyfeiriad anuniongyrchol at yr awr ryfedd hono, eto credwn fod y cyfeiriad cyntaf at yr hyn oedd i gymeryd lle yn y briodas hon, yr awr iddo Ef egluro ei ogoniant trwy wyrth. Nid oedd yr amgylchiadau pan y llefarodd Mair wedi cyrhaedd yr addfedrwydd priodol iddo Ef ymyryd. Ond yn fuan clywodd y clôc yn taraw yr awr, y dwyfol lais o'i fewn, a dygodd yntau yr ymwared. Ond gwyddai fod yr "awr" gyntaf yn gysylltiedig anwahanol â'r awr ddiweddaf, fod awr eglurhâd ei ogoniant trwy wyrth yn sicr o arwain i eglurhâd ei ogoniant trwy ddyoddefaint—yr oedd y gwrthdarawiad rhyngddo Ef a'r genedl yn awr i ddechreu. Gwell, gan hyny, cysylltu y ddwy "awr" a'u gilydd. Cawn yr un peth yn y paragraph nesaf yn ei gyfeiriad at deml Herod a theml ei gorph.

**ADN. 5. Ei fam a ddywedodd wrth y gwasanaethwyr.** Gwasanaethwyr (*diákonoi*), nid gweision (*doûloi*). Y mae yn debyg nad oedd gan y teulu bach weision, gan fod ei sefyllfa gymdeithasol yn rhy isel. Pwy ynte yw y gwasanaethwyr? Etyb rhai mai dysgyblion yr Iesu, ac y mae gwr mor synwyrgall a'r diweddar Dr. Reynolds o Goleg Cheshunt yn mabwysiadu y dybiaeth. Ond llawer mwy rhesymol yw tybied mai rhai o bobl ieuaingc y dref oeddynt—cydnabod y teulu. **Beth bynag a ddywedo Efe wrthych, gwnewch.** Dengys hyn nad oedd y fam wedi ei thramgwyddo, ond yn hytrach fod ei gobaith am ymwared wedi cyneu. Y mae dyfaliad Alford fod ymddiddan dirgelaidd wedi cymeryd lle rhwng yr Iesu a'i fam, a dyfaliad Maldonatus fod yr Ysbryd Glân wedi sibrwd wrthi yr hyn na sibrydodd ei Mhab, yn hollol afreidiol. Ateb yr Iesu yn adn. 4 a roddodd i Mair yr ymddiried a welir yn yr adnod hon.

**ADN. 6. Ac yr oedd yno chwech o ddyfrlestri meini.** Crêd Meyer fod y gair "yno" yn dynodi ystafell y wledd; ond mwy tebyg mai y ty a feddylir, ac o bosibl y porth iddo,—y man mwyaf cyfleus i gadw llestri o'r fath ynddo at wasanaeth y gwahoddedigion. Llestri meini, am fod meini yn cadw yn *sweet* yn hwy na llestri pren; a dywedir fod olion llestri meini i'w gweled mewn cyflawnder yn adfeilion y pentref hyd heddyw. Nid oes rhaid credu mai y ddeuddyn ieuangc oedd perchen y

lestri meini wedi eu gosod, yn ol defod puredigaeth yr
Iuddewon, y rhai a ddalient bob un ddau ffircyn neu dri.
Iesu a ddywedodd wrthynt, Llenwch y dyfr-lestri o ddwfr. 7
A hwy a'u llanwasant hyd yr ymyl. Ac efe a ddywedodd 8
wrthynt, Gollyngwch yn awr, a dygwch at lywodraethwr

---

y chwe llestr; ar achlysur o'r fath benthycid iddynt gan eu ceraint a'u gwehelyth. **Yn ol defod puredigaeth yr Iuddewon.** Sef arfer yr Iuddewon o buro eu hunain trwy amryw olchiadau; eu camsyniad oedd edrych ar y golchiadau hyn fel rhan hanfodol o ddeddfau crefydd yn lle fel rhan o ddeddfau iechyd. **Y rhai a ddalient bob un ddau ffircyn neu dri.** Bernir fod ffircyn yn 7½ galwyn, ychydig yn llai na *metretes* y Groegiaid; yn ol hyn cynwysai y chwe llestr o gylch 130 galwyn. Sylfaenir dwy wrthddadl yn erbyn y wyrth a gofnodir yma ar y swm mawr a gynwysai y llestri. Yr wrthddadl gyntaf yw eiddo Strauss—mai gwyrth o *luxury* ydyw—i gyflenwi danteithion ac nid angenrheidiau bywyd, a bod swm y dwfr a drowyd yn win mor enfawr ag i ddangos gwastraff o du y Gallu Dwyfol. Y mae ateb Meyer, fodd bynag, yn tynu y colyn o'r wrthddadl,—nad oedd râid iddynt yfed yr oll ar unwaith; gwasanaethai fel cynysgaeth briodasol yn y misoedd dyfodol i'r ddeuddyn ieuangc. Felly o fod yn wyrth o wastraff, fel y dysga Strauss, try yn wyrth o garedigrwydd, fel y dysga Tholuck. Dygir yn mlaen yr ail wrthddadl gan lwyr-ymwrthodwyr,—nas gallant gredu y cynyrchai yr Iesu mewn dull goruwchnaturiol y fath gyflawnder o win, os ydoedd yn feddwol. Am natur y gwin, ai meddwol ai anfeddwol ydoedd, nis gall esboniadaeth benderfynu. Y mae llwyr-ymwrthodiad yn ganmoladwy a Christionogol, yn enwedig yn ystâd bresenol cymdeithas yn ein gwlad ein hunain; ond meddyginiaeth arbenig ydyw ar gyfer drwg arbenig. Yn y dyn ei hun yr arfaethodd Duw i eisteddle dirwest fod. Y mae hunan-lywodraethiad yn gynwysedig, nid yn mhrinder bendithion y tu faes, ond yn mhenderfyniad diysgog yr ewyllys y tu fewn; o ganlyniad, ffordd yr Efengyl o ddinystrio pechod yw, nid gwadu i ni y cyfleusdra, ond lladd ynom y duedd, i'w gyflawni; nid gwella yr amgylchoedd, ond gwella y dyn. A ydyw yr Efengyl gan hyny yn erbyn llwyr-ymwrthodiad? Na ato Duw. Amcan yr Efengyl yw iachau y gwreiddiau drwg yn ein natur, a chynygia Dirwest i dori ymaith y canghenau hyd nes yr iacheir y gwreiddiau. Y mae hunanlywodraethiad yn dda, fel ei hargymhellir gan gymedrolwyr; ond y mae hunan-ymwadiad yn well, fel ei hanogir gan lwyr-ymwrthodwyr, ac yn fwy cydnaws ag ysbryd Cristionogaeth.

**ADN. 7. Llenwch y dyfr-lestri o ddwfr.** Yr oedd yr awr wedi dyfod. Cyfyngdra dyn, cyfleusdra Duw. **A hwy a'u llanwasant hyd yr ymyl.** Sef, o ddwfr y ffynhon gerllaw y pentref, o'r hon y ffrydia dwfr gloew hyd heddyw.

**ADN. 8. Gollyngwch yn awr.** Y mae "yn awr" yn bwysleisiol. Gellir deall yr adnod mewn tair ffordd. Yn gyntaf, y ffordd arferol, sef i'r holl ddwfr yn y llestri gael ei droi yn win. Yr ail, fod y dwfr oedd yn y llestri yn parhau yn ddigyfnewid, ac mai yn ei drosglwyddiad yn y

9 y wledd. A hwy a ddygasant. A phan brofodd llywodr-
aethwr y wledd y dwfr a wnaethid yn win, (ac ni wyddai o
ba le yr ydoedd, eithr y gwasanaethwyr, y rhai a ollyng-
asent y dwfr, a wyddent,) llywodraethwr y wledd a alwodd

---

*decanters* i ystafell y wledd y troai yn win, canys yn yr adnod nesaf dywedir, y "gwasanaethwyr y rhai a ollyngasant y dwfr," nid a ollyngasant y gwin. Yr ydoedd y gweithrediad gwyrthiol felly yn estyn dros oriau, os nad dros ddiwrnodau. Dyma yr esboniad a fabwysiedir gan Westcott a Watkins. Y trydydd, na thynwyd dim o'r dyfrlestri o gwbl, ond o'r ffynhon. Dros yr eglurhâd hwn dygir dau reswm: y mae "yn awr" yn bwysleisiol, ac felly gollwng yn awr mewn cyferbyniad i ollwng blaenorol; hefyd y mae y gair Groeg am "ollwng" (*antléô*) yn meddwl "tynu dwfr" o ffynon, ac nid o lestr. Y mae amddiffynwyr dysgedig i'r tri eglurhâd, ond y cyntaf a ymddengys i ni y mwyaf naturiol. **Llywodraethwr y wledd.** Yr oedd gan yr henafiaid ddau swyddog mewn gwleddoedd; yr hwn a elwid *architriklinos*, sef yr hwn oedd yn arolygu yr ystafell a'r bwydydd; a'r hwn a elwir *sumposiarchos*, sef yr hwn a etholid gan y gwahoddedigion o'u plith eu hunain i lywyddu a chadw trefn. Mŷn Alford, Trench, a Wordsworth mai y swyddog diweddaf a feddylir; ond gan mai yr enw cyntaf a ddefnyddir yma, callach yw ei ddeall fel yn golygu yr *head-waiter*, yr un oedd yn gyfrifol am lendid yr ystafelloedd a threfnusrwydd y bwydydd.

**ADN. 9. A phan brofodd y dwfr oedd wedi dyfod yn win.** "Wedi dyfod," yr un gair ag a ddefnyddir yn adn. 3. am greadigaeth y byd. Y mae y gair yn gwrthbrofi damcaniaeth Paulus mai gweithred chwarëus o eiddo yr Iesu ydoedd, yr hwn oedd wedi trefnu a masnachwr i ddyfod a chyflenwad o win yn rhodd briodasol i'r pâr ieuangc; a damcaniaeth Gfrörer mai Mair oedd wedi gwneuthur y ddarpariaeth i ddangos ei hewyllys da; a damcaniaeth Ewald a Lange mai gwyrth ydoedd ar feddyliau y gwahoddedigion dan ddylanwad hyawdledd yr Iesu, yn peri iddynt gredu eu bod yn blasu gwin pan nad oeddynt yn drachtio ond dwfr; a damcaniaeth Strauss mai cyfaddasiad sydd yma at yr oruchwyliaeth newydd o hanesion yr H. D., megis cynydd yr olew yn ystên y wraig weddw. Dywed Olshausen, ar ol Awstin, mai gweithrediad Natur wedi ei gyflymu sydd yma—*an accelerated process of nature.* Megis y mae y dwfr yn cael ei drawsnewid yn win bob blwyddyn yn y winwydden, felly y trowyd y dwfr yn win yn y briodas. Ond nid yw dull y cyfnewidiad yr un; trwy offerynoliaeth y winwydden y troir y dwfr yn win yn yr enghraipht gyntaf, tra mai trwy weithrediad creadigol ewyllys Crist y trowyd y dwfr yn win yn yr enghraipht olaf. Y mae yr effeithiau yn gyffelyb, ond nid yw y gweithrediad yr un. Yr un gallu ag a greodd y byd yn i. 3 sydd yma yn troi y dwfr yn win.*

---

* "Unde rubor vestris, et non sua purpura, lymphis?
Quæ rosa mirantes tam nova mutat aquas?
Numen, convivæ, præsens agnoscite Numen:
Lympha pudica Deum vidit et erubuit."
(The conscious water saw its God, and blushed).

ar y prïod-fab, Ac a ddywedodd wrtho, Pob dyn a esyd y 10
gwin da yn gyntaf; ac wedi iddynt yfed yn dda, yna un a
fo gwaeth: tithau a gedwaist y gwin da hyd yr awrhon.
Hyn o ddechreu gwyrthiau a wnaeth yr Iesu yn Cana 11

---

**ADN. 10. Pob dyn a esyd y gwin da yn gyntaf**: pan y mae yr archwaeth yn bur, ac felly yn medru gwahaniaethu rhwng y gwych a'r gwael. **Ac wedi iddynt yfed yn dda, yna un a fo gwaeth.** Y mae y gair gwreiddiol (*mĕthusthōsi*) yn mhobman arall (Matt xxiv. 49; Act. ii. 15; 1 Cor. xi. 21; 1 Thess. v. 7; Dat. xvii. 26) yn golygu *meddwi*, a gwelir fod y Groeg a'r Gymraeg yr un yn ei sill cyntaf, yr hwn yw y gwreiddyn. Dyna hefyd oedd gyfieithiad Tyndall a Cranmer. Ond ofnai y cyfieithwyr Cymraeg a Saesonaeg roddi i mewn air mor gryf; er hyny, dyna yw yr ystyr. Gallwn fod yn sicr nad oedd meddwdod yn y briodas hon, er fod ynddi lawenydd; canys ni oddefai yr Iesu lygredigaeth o'r fath yn ei bresenoldeb sanctaidd. Sylw anghoeth, cellweirus y pen-gwasanaethwr ydyw, yn datgan ei brofiad mewn priodasau yn gyffredin. **Ond ti a gedwaist y gwin da hyd yr awr hon.** Yr hyn a brawf fod gwin y wyrth mor berffaith a gwin goreu natur. Llawer o dduwinyddion a ymhelaethant yma ar y gwelliant mewn crefydd fel y mae hi yn myned yn mlaen,—yr hyn nad oedd ond dwfr dan yr H. D. yn troi yn win dan y Test. Newydd, &c. Ond tra y gellir cyfaddasu yr adnod i amcanion fel yna, y mae yn amlwg, pan y cofir mai yr *head-waiter* a'i llefarodd, nad priodol chwilio ynddi am wirioneddau duwinyddol.

**ADN. 11. Y dechreuad hwn o'i wyrthiau.** H.y., dyma y wyrth gyntaf a gyflawnodd. Gofyna yr Esgob Hall gyda syndod addoliadol—"A all fod gwyrth fwy na hyn, sef ddarfod i'r Arglwydd Iesu oedi ddeng mlynedd ar hugain heb gyflawni un gwyrth, ac yntau yn meddu y gallu i'w chyflawni?" Y gair gwreiddiol yma am wyrth yw *sēmĕiōn* = arwydd, *sign*. Nid yw Ioan o gwbl yn defnyddio ansoddeiriau megis "nerthol" mewn cysylltiad a'r gwyrthiau. I Ioan Iesu Grist oedd creawdwr y byd; am hyny i Ioan nid gweithredoedd "nerthol" oedd y gwyrthiau, ond gweithredoedd. Yma geilw hwy yn "arwyddion." Y mae gwyrth yn myd gallu yr hyn yw dameg yn myd llenyddiaeth,—arwydd anianyddol o ryw ffaith fawr ysbrydol, a dylesid gofyn mewn cysylltiad a phob gwyrth yn gystal a phob dameg, Pa wirionedd ysbrydol a bortreadir ganddi? Nid rhyfeddodau yn unig ydyw gwyrthiau i beri syndod, ond gwersi i gyfranu gwybodaeth. Dethola Ioan wyth allan o nifer gwyrthiau yr Iesu, ac edrych ar bob un fel arwydd i ddynion "mai Iesu yw y Crist (y Messiah), Mab Duw." Pan oedd athroniaeth yn teyrnasu, ymresymai Hume oddiwrth unffurfiaeth deddfau natur yn erbyn y grêd mewn gwyrthiau; haws, meddai, i ddwsin neu gant o edrychwyr gamsynied nag i ddeddfau natur gyfnewid. Ond heddyw, nid athroniaeth, ond gwyddoniaeth sydd ar yr orsedd; ac y mae gwyddoniaeth yr oes hon yn sylfaenedig, nid ar unffurfiaeth, ond ar amrywioldeb, nid ar *uniformity* ond ar *variability*, deddfau natur. Tra yr oedd Hume yn sylfaenu ei gyfundraeth ef ar unffurfiaeth deddfau natur, y mae Darwin yn sylfaenu ei ddamcaniaeth ef ar eu hamrywiol-

Galilea, ac a eglurodd ei ogoniant; a'i ddisgyblion a gredasant ynddo.
12 Wedi hyn efe a aeth i waered i Capernaum, efe, a'i fam,

---

deb. Oherwydd paham, cyfaddef Tyndall, dysgybl galluocaf Darwin, nad priodol gwadu gwyrth ar gynseiliau athronyddol, fel y gwnai Hume, ac mai mater o dystiolaeth neu hanesyddiaeth ydyw. Beth ynte yw natur y dystiolaeth anghenrheidiol i brofi gwirioneddolrwydd gwyrth? Gadawn i'n darllenwyr ateb. **Ac a eglurodd ei ogoniant.** Pan gyflawnai y prophwydi wyrthiau, dangos gogoniant Duw oeddynt; ond Hwn ei ogoniant ei hun. Yr oedd dwyfol ogoniant yn trigo yn yr Arglwydd Iesu dan orchudd ei gnawd megis y trigai y Shekinah yn y Cysegr y tu hwnt i'r llen, ac yn y gwyrthiau tanbeidiai allan y gogoniant goruwchddynol. Yr oedd y person a'r gwyrthiau ar lefel eu gilydd; iddo Ef yr oedd cyflawni gwyrthiau mor naturiol ag adeiladu ty neu blanu gardd i ni. **A'i ddysgyblion a gredasant ynddo.** Y mae yr arddodair "ynddo" yn golygu symudiad o'r naill le i'r llall, y dysgyblion yn symud eu hymddiried o honynt eu hunain ac yn ei ddodi arno Ef. Credasant ynddo i ddechreu ar dystiolaeth Ioan; yna yn rhinwedd ei ymddiddan Ef â hwy; ond credasant ynddo yn awr yn gryfach mewn canlyniad i'r amlygiad hwn o'i ogoniant. Nid yw ffydd yn cael ei geni mewn cyflawn faintioli; ac y mae yn gysur i'r Cristion fod ffydd wan yn achub yn gystal a ffydd gref.

PURO Y DEML. ADN. 12—22.

**ADN. 12. Wedi hyn.** Ymadrodd yn Ioan sydd yn gosod allan ddilyniad amgylchiadau, heb un cyfeiriad at hyd neu fyrder amser. Felly gall yr Iesu, ei fam, a'i ddysgyblion ymweled â Nazareth yn y cyfwng hwn. **Efe a aeth i waered i Capernaum.** Yr oedd Cana a Nazareth yn sefyll ar ucheldir; ond yr oedd Capernaum ar lân Môr Galilea, tua 680 troedfedd islaw lefel y Môr Mawr. Capernaum = Caphar-Nahum: yr Aramaeg Caphar yr un a'r Arabaeg Kefr (Kefr-Kenna yn yr adran flaenorol) yn golygu pentref. Pentref Nahum. Pa le ydoedd? Dadleuir dros dri lle: Khan Minyeh, Ain Madawarah, a Tell-Hum. Ymwelodd Josephus â'r pentref a dywed fod yno ffynhon gref o ddwfr gloew. Am y lle cyntaf nid oes ynddo yr un ffynhon; am yr ail y mae ffynhon ond dim adfeilion; am y trydydd dywedir fod yno ffynhon ac adfeilion, ac am hyny y mae mwyafrif yr esbonwyr yn ei ffafrio. Yn Tell-*Hum* a Chapharna-*Hum* gwelir fod y ddau sill olaf yr un. Am y rhesymau hyn dywed Westcott fod "safle Capernaum wedi ei ddangos y tu hwnt i bob amheuaeth resymol yr un a Tell-Hum." Ar y llaw arall, ysgrifena Dodds yn ddiweddar fod "opiniwn yr awdurdodau yn benderfynol o blaid Khan Minyeh." Pan y mae dysgedigion o'r gradd uchaf a theithwyr manylgraff yn gwahaniaethu, pwy a all benderfynu? Ond nid yw yr ansicrwydd hwn am safle Capernaum yn cyffwrdd ag un gwirionedd. Yn ddiweddarach yn ei hanes symudodd yr Iesu i Capernaum i fyw; am hyny, gelwir hi yn Matt. ix. 1 "ei ddinas ei hun." Paham yr aethant yno yn awr fel teulu, rhyw ddeunaw milldir o bellder, nis gwyddom; feallai ar ymweliad at berthynas, neu am fod rhai o'r

a'i frodyr, a'i ddisgyblion : ac yno nid arhosant nemmawr o ddyddiau.

---

dysgyblion yn cyfaneddu yno, neu am fod yn gyfleus iddynt fyned trwy y dref ar eu taith i'r ŵyl genedlaethol yn Jerusalem. **Efe, a'i fam, a'i frodyr, a'i ddysgyblion.** Cawn grybwylliad am ei frodyr naw gwaith yn yr efengylau, ac unwaith yn yr Actau. Gofyniad ag y mae cyfrolau lawer wedi ei hysgrifenu arno yw, Beth oedd perthynas wirioneddol y rhai a elwir yma yn "frodyr" â'r Iesu? Rhoddir tri ateb. 1. Mai ei frodyr naturiol, cyflawn oeddent—meibion Joseph a Mair. Y mae Matt. i. 25, a Luc ii. 7, yn ol rheolau manylaf beirniadaeth, yn dysgu fod ganddynt blant eraill. "Hi a esgorodd ar ei mab cyntafanedig"—nid uniganedig; ac y mae cyntaf yn awgrymu ail. Gwir fod y term "brodyr" yn cael ei ddefnyddio yn y Beibl mewn dull anmhenodol; ond paham ddeng waith pan oedd yn yr iaith Roeg air am "gefnderwyr," os cefnderwyr oeddynt? Dealla Alford, Godet, a Farrar y gair yn ei ystyr lythyrenol fel y mwyaf cydweddol â synwyr cyffredin. 2. Mae haner brodyr oeddynt, meibion Joseph o'i wraig gyntaf. Nid oes dim yn yr Ysgrythyr na'r Tadau Apostolaidd yn awgrymu hyn. Gwir y gadewir argraph ar y meddwl fod Joseph grŷn lawer yn hŷn na Mair, yr hyn a gyfrif fod arluniaeth bob amser yn ei bortreadu mewn gwth o oedran; a diau ei fod wedi marw cyn y Croeshoeliad, onite ni chyflwynasid Mair i ofal Ioan, ac y mae yn debyg cyn dechreuad gweinidogaeth gyhoeddus yr Iesu, yn gymaint na chrybwyllir ei enw yn yr hanes o gwbl. Hon yw y farn a ffyna yn y tair eglwys—y Roegaidd, y Babaidd, a'r Anglicanaidd. Ond pa bryd y cododd y gred yn morwyndod parhaol Mair? Pan yr oedd mynachaeth yn dyfod i fri yn yr eglwys, ac y dysgid fod bywyd unig yn fwy pur a dwyfol na bywyd priodasol. Ond pa le yn y Beibl y dysgir yr athrawiaeth hon? Yr ail farn hon a fabwysiada Lightfoot a phrif esbonwyr Eglwys Loegr. 3. Mai ei gefnderwyr oeddynt, meibion Alpheus,—golygiad Jerome ac Awstin yn groes i gred y Tadau a'u rhagflaenent. Tebygrwydd yn yr enwau yw sylfaen y dybiaeth hon:

| Enwau brodyr Crist yn ol Matt. xiii. 55, a Marc vi. 3. | Enwau meibion Alpheus yn ol Matt. xxvii. 5, 6; Ioan xix. 25; Luc vi. 14—16. |
|---|---|
| Iago | Iago |
| Joses | Joses |
| Simon | Simon |
| Judas | Judas |

Dywed Hegesippus, mewn dyfyniad o'i eiddo a gawn yn ngweithiau Eusebius, mai Simon, mab Alpheus, ydoedd ail esgob Jerusalem; ac felly dodasom ef yn y rhestr uchod. Yn ol hyn, yr oedd pedwar brawd yr Arglwydd a phedwar mab Alpheus yn dwyn yr un enwau, yr hyn a arweiniodd Jerome ac Awstin i gredu mai yr un personau oeddent. Ond y mae ymchwiliadau yr isfeirniadaeth yn ein dysgu am Joses yn Matt. xiii. 55 mai Joseph yw y darlleniad cywir, ac am Judas brawd Iago mai Judas mab Iago a ddylasai fod. Ac felly nid oes ond dau enw yn aros yr un yn y ddau deulu, yr hyn nad yw yn annhebyg; yn enwedig pan y

13 A phasc yr Iuddewon oedd yn agos: a'r Iesu a aeth i

---

cofiom fod yr un enwau yn dygwydd yn aml yn y Test. Newydd,—yr enw Simon, er enghraipht, ar ddeg o wahanol bersonau. **Ac yno nid aroshasant nemawr o ddyddiau.** Oblegid fod eu gwynebau ar y Pasg, yn Jerusalem, yr hwn oedd wrth y drws.

**ADN. 13. A Phasg yr Iuddewon oedd yn agos.** Prawf fod Ioan yn ysgrifenu ar ol dinystr Jerusalem, pryd nad oedd gŵyl y Pasg ond ffaith yn hanesiaeth y gorphenol. Barna Westcott y bwriada Ioan wahaniaethu yma rhwng Pasg yr Iuddewon a Phasg y Cristionogion; ond y mae lle cryf i amheu a oedd y Pasg Cristionogol yn cael ei gadw mor foreu a hyn. Cyfeiria Ioan at dri Phasg wrth eu henwau, yn vi. 13; vi. 4; xviii. 39. Yn v. 1 cyfeirir at "ŵyl yr Iuddewon," a barnwn ni gyda mwyafrif yr esbonwyr mai y Pasg a feddylir. Sieryd felly am bedwar Pasg yn ystod gweinidogaeth gyhoeddus yr Iesu, tra na lefara yr efengylwyr eraill ond am yr olaf yn unig. Ond nid oes yma ddim anghysondeb fel y mŷn yr esbonwyr anghrediniol i ni gredu. Y rheswm na lefara yr efengylwyr eraill ond am un Pasg yw, eu bod yn cyfyngu eu hunain bron yn hollol at weinidogaeth Crist yn Galilea, nes yr aeth i fynu i Judea i Basg y Croeshoeliad. Cymerer Matthew fel enghraifft: cymerir y penodau iv.—xix. i fynu i gyd gan weinidogaeth yr Iesu yn Galilea; gan hyny, nid oes dim yn galw arno gyfeirio at unrhyw Basg yn Jerusalem, ond y Pasg ar yr hwn y rhoddwyd yr Iesu i farwolaeth. Ond prif gynwys efengyl Ioan yw gweinidogaeth yr Iesu yn Judea; am hyny arweinir ef yn naturiol i lefaru am y gwyliau blynyddol. Cynwysa y pedwar Pasg y sonia Ioan am danynt dair blynedd; ac o adeg ei Fedydd hyd y Pasg hwn tybir fod tua chwe mis, yr hyn a wna barhâd ei fywyd cyhoeddus yn 3½ blynedd. **A'r Iesu a aeth i fynu i Jerusalem.** Yn ol arfer holl wŷr defosiynol y genedl. Myned i fynu, nid i lawr, am yr arferir dweyd myned i fynu i'r brifddinas, ac am fod Jerusalem yn sefyll ar fryniau 2,500 troedfedd uwchlaw lefel y môr. Ar y Pasg hwn, a llefaru yn fanwl, y dechreuodd ei weinidogaeth gyhoeddus, ac ar y Pasg dair blynedd ar ol hyn y croeshoeliwyd Ef. Gweddus oedd iddo yn awr gynyg ei hun fel y Messiah addawedig i'r genedl yn gynulledig yn yr ŵyl fawr genedlaethol. Er mai yr Iesu ei hunan a enwir fel wedi myned i fynu i Jerusalem, eto dengys adn. 22 fod y dysgyblion wedi canlyn.

**ADN. 14.** Yma dilyn hanes Puredigaeth y Deml, yr hyn ni chroniclir yn y tair efengyl arall. Ond cawn ynddynt hwy hanes am buredigaeth y Deml yn y Pasg diweddaf (Matt. xxi. 12, 13; Marc xi. 15; Luc xix. 45). Mŷn lluaws o esbonwyr mai yr un dygwyddiad a ddesgrifir yn yr holl efengylau. Dàlia Strauss ac eraill o gyffelyb feddwl fod Ioan wedi camsynied wrth roddi y dygwyddiad ar y Pasg cyntaf. Mŷn De Wette, Ewald, ac hyd yn nod Neander, fod y camgymeriad o du y tri efengylwr cyntaf wrth osod y dygwyddiad yn y Pasg diweddaf. Ond cytuna y ddau ddosbarth mai unwaith, nid dwywaith, y purodd yr Iesu y Deml. Ond doethach yn ddiau ydyw cymeryd yn ganiatäol y gwyddai yr efengylwyr, y rhai oeddent yn byw yn yr un oes a'r un wlad, yr hanes yn well na Germaniaid y dyddiau presenol; ac os cymharwn y Glanhâd

fynu i Jerusalem; Ac a gafodd yn y deml rai yn gwerthu 14
ychain, a defaid, a cholommennod, a'r newidwyr arian yn

---

cyntaf a'r Glanhâd diweddaf, canfyddwn eu bod, tra yn cytuno yn y prif wirionedd, yn gwahaniaethu digon i'n cyfiawnhau ni i edrych arnynt fel dau ddygwyddiad.

**Ac Efe a gafodd yn y deml.** Cymerodd y puredigaeth le, wrth bob tebyg, ddiwrnod cyntaf yr ŵyl, pan y disgwylid i bob penteulu chwilio ei breswylfod er taflu allan bob surdoes (Ex. xii. 15); a naturiol, yr amser yr oedd yr Iuddewon yn glanhau eu tai eu hunain, i'r Arglwydd Iesu ymgymeryd a phuro Tŷ ei Dad. Defnyddir dau air yn y Test. Newydd am deml: *hiĕrŏs*, yn dynodi yr holl adeilad ar fynydd Seion; a *náŏs*, yn golygu y Cysegr Sanctaidd a'r Cysegr Sancteiddiolaf, rhanau pwysicaf y deml. Y gair cyntaf a ddefnyddir yn yr adnod hon, a'r olaf yn adn. 19. Nid anmhriodol galw i gof fod tair teml yn cael sôn am danynt yn y Beibl. 1. Teml Solomon, yr hon a adeiladwyd mewn saith mlynedd (1 Bren. vi. 38), ac a agorwyd tua 1,005 C.C. Cynlluniwyd hi yn ol y Tabernacl, ond fod eu mesurau yn gymhwys yn ddau cymaint â'r Tabernacl. Felly er ei bod yn adeilad gwych a drudfawr, nid oedd ond cydmarol fechan. Llosgwyd hi yn 586 C.C. 2. Teml Zerubbabel, yn mhob mesuriad tua'r drydedd ran yn fwy na'r deml gyntaf, eithr yn llawer llai costfawr ac addurniadol. Yr oedd yn gynwysedig o ddwy ran, y Cysegr Sanctaidd a'r Cysegr Sancteiddiolaf, yr hwn oedd yn awr yn Gysegr gwâg, gan fod Arch y Cyfamod wedi ei dinystrio a'r Shekinah wedi ymadael. O ran maint cyffelyb ydoedd i eglwysi plwyfol Cymru. 3. Teml Herod. Oddeutu 19 C.C. amlygodd Herod ei fwriad, er cymodi yr Iuddewon, i helaethu ac addurno yr ail deml. Tra mai Teml Zerubbabel oedd cnewyllyn teml Herod, gwariodd Herod y fath olud arni, fel mewn maint a gorwychedd y tra ragorai ar ddim a fu yn Jerusalem o'i blaen. Yn gysylltiedig â'r deml yr oedd adeiladau eraill, megis tai yr offeiriaid, y swyddfeydd, ac ystafell y Sanhedrin. Yn nes i lawr y llethr, eithr yn gysylltiedig a'r prif adeilad yr oedd Cyntedd y Cenhedloedd, yn agored i bobl o bob cenedl, yn addurnedig gan golofnau o'r marmor drutaf, y rhai a ddalient i fyny y nenfwd, ond heb fod yn amgauedig gan furiau. Yn y cyntedd allanol hwn y dygid yn mlaen y fasnach a ddesgrifir yn yr adnodau dilynol.

**Rai yn gwerthu ychain, a defaid, a cholomenod.** Rhaid oedd wrth anifeiliaid difai a pherffeithgwbl i fod yn aberthau; ac amlwg mai trafferthus iawn i bobl o Galilea a gwledydd pellenig eraill oedd dwyn anifeiliaid gyda hwy; ac, feallai wedi eu dwyn, eu cael yn wrthodedig. Cyfleustra mawr, gan hyny, oedd cael yr anifeiliaid am dâl yn nghymydogaeth y deml. **A'r newidwyr arian yn eistedd.** Wrth y byrddau cyfnewid. Ar ol gwasgariad y genedl mewn canlyniad i'r Caethiwed Babilonaidd, deuai Iuddewon o Persia a Babylonia, o'r Aipht ac Ethiopia, o Rufain a Groeg, i Jerusalem i'r gŵyliau arbenig; a chan na dderbynid arian tramor at wasanaeth y deml, cyfleusdra arbenig oedd cael dynion yn Jerusalem i gyfnewid yr arian tramor i'r sicl Iuddewig. Ond nid yn unig hwynthwy, eithr trigolion Palestina hefyd, oblegid arian Rhufeinig neu Roegaidd a arferid ganddynt hwy dan lywodraeth Rhufain. A chan na dderbynid arian at wasanaeth y deml ag arnynt ddelw Cæsar neu eilun

15 eistedd. Ac wedi gwneuthur fflangell o fân reffynau, efe
a'u gyrrodd hwynt oll allan o'r deml, y defaid hefyd a'r
ychain; ac a dywalltodd allan arian y newidwyr, ac a
16 ddymchwelodd y byrddau: Ac a ddywedodd wrth y rhai
oedd yn gwerthu colommennod, Dygwch y rhai hyn oddi
17 yma; na wnewch dŷ fy Nhad i yn dŷ marchnad. A'i

---

paganaidd, rhaid oedd iddynt hwythau hefyd wrth gyfleusderau i gyfnewid eu harian masnachol i'r sicl Iuddewig. Am hyny y mae y gair am gyfnewidwyr arian yn yr adnod hon yn golygu cyfnewidwyr arian mwy i arian mân. Yr oedd y fasnach a grybwyllir yma wedi eu chreu bron o angenrheidrwydd gan amgylchiadau neillduol yr oes.

**ADN. 15. Ac wedi gwneuthur fflangell o fân reffynau.** Y rheffynau gwellt neu frwyn ag oedd yn gorwedd o amgylch i rwymo yr anifeiliaid. Yn Actau xxvii. 32, defnyddir yr un gair am "raffau" bâd. Paham? Nid i fod yn offeryn i'w defnyddio, medd Godet, ond fel arwyddlun o awdurdod. Ond ymddengys yr eglurhâd yna yn hanerog a chloff. Gwell yw y golygiad iddo wneyd y fflangell gyda'r amcan o'i defnyddio, os byddai amgylchiadau yn galw; nid yw yr Iesu byth yn chwareu *mock heroics.* **Efe a'u gyrodd hwynt oll allan o'r deml, y defaid hefyd a'r ychain.** Beth sydd yn gynwysedig yn yr "oll"? Etyb Alford a Watkins mai yr anifeiliaid yn unig, gan sylfaenu eu hateb ar gyfieithiad llythyrenol—"*all, both the sheep and the oxen.*" Ond dysga Westcott a Godet fod y dynion yn gynwysedig yn gystal a'u hanifeiliaid, ac nis gallwn osgoi yr argraph mai hwynthwy sydd iawn. Cliriodd y Cyntedd o honynt oll. Ni ddarllenwn am dano yn defnyddio *force* i yru neb i mewn i'w dŷ, ond yma defnyddia *force* i yru annuwiolion allan.

**Ac a dywalltodd allan arian y newidwyr.** Gair arall a ddefnyddir yma am newidwyr, sef gair yn tarddu o wreiddyn sydd yn golygu y tâl a godai y bobl hyn am gyfnewid yr arian. Gosodasai yr Iuddewon dreth i gynal i fynu wasanaeth drudfawr y deml, sef haner sicl y pen, mewn arian Iuddewig (Ex. xxx. 13—16), yn gyfartal i 1*s.* 3*c.* o'n harian ni; ac am gyfnewid sicl i ddau haner yr oedd y tâl yn 2*c.* Hawlid y dreth hon oddiwrth yr Iesu ei hun, a chan y gellid ei thalu yn y wlad yn gystal ag yn y brif-ddinas, talodd hi yn Capernaum (Matt. xvii. 24).

**ADN. 16. Dygwch y rhai hyn oddiyma.** Paham na ddymchwelodd y rhai hyn? Etyb De Wette, am mai offrymau y tlawd oedd y colomenod, ac felly iddo ddangos tynerwch mwy tuag atynt. Ond diau mai y gwir reswm yw eu bod mewn cawellau, ac felly priodol oedd i'r perchenogion eu symud. Pe agorai y cawellau ei hunan, gan adael y colomenod i hedfan ar hyd y Cyntedd, byddai yr hyn oedd Ef yn fwriadu fel math o *tragedy* ar unwaith yn troi yn *comedy*, ac yn achlysur crechwen. **Na wnewch dŷ fy Nhad i yn dŷ marchnad.** Pan y glanhaodd y deml yr ail waith, defnyddia ymadrodd cryfach, "ogof lladron." Yn y ddau ymadrodd hyn cawn eglurhâd ar ei weithred. Yr oedd gwerthu anifeiliaid a chyfnewid arian yn hollol gyfreithlon, ac yn anghenrheidiol yn yr oes hono. Pa le ynte yr oedd y drwg? (1) Fod y farchnadfa, yn lle yn y ddinas, yn y deml. Yr oedd yr hyn fuasai yn gyfreithlon yn y dref yn bechadurus yn y deml. (2) Ymddengys fod mantais annheilwng

ddisgyblion a gofiasant fod yn ysgrifenedig, Zêl dy dŷ di
a'm hysodd i.

Yna yr Iuddewon a attebasant ac a ddywedasant wrtho 18
ef, Pa arwydd yr wyt ti yn ei ddangos i ni, gan dy fod yn

---

yn cael ei gymeryd ar yr addolwyr i godi crôgbris arnynt. Codai awdurdodau y deml ardreth uchel ar y masnachwyr, y rhai drachefn a godent bris anghyfiawn ar y prynwyr. Yr oedd pris dwy golomen, offrwm y tlawd, un adeg yn 15*s.* 3*c.*; yr hyn a barodd i Simeon, ŵyr Hillel, i ymyryd, a gorfodi y gwerthwyr i ostwng y pris i 4*c.* Troseddent gyfiawnder masnachol.

**ADN. 17. A'i ddysgyblion a gofiasant.** Pa bryd? Yr un diwrnod, oblegid y mae Ioan yn fanwl i grybwyll os nad oeddynt yn cofio hyd ar ol yr adgyfodiad. **Zêl dy dŷ di a'm hysa i.** Fel yna yn y llawysgrifau goreu. Dyfyniad ydyw o'r Salm lxix. 9, y Salm a ddefnyddir amlaf yn y Test. Newydd, oddigerth y xxii. Nis gellir, feallai, ei hystyried yn Salm Fessianaidd yn yr ystyr fanylaf; ond portreada sant yn dyoddef yn ngwasanaeth yr Arglwydd, yr hyn a gyrhaeddodd ei gyflawn sylweddoliad yn y Gweithredydd a'r Dyoddefydd Messianaidd. Yr hyn oedd wir am eraill sydd arbenigol wir am dano Ef. Yr oedd zêl danbaid yr Iesu dros addoliad ei Dad yn difa ei nerth. Nid cyfeiriad sydd yma at ei farwolaeth fel canlyniad gwrthdarawiad rhyngddo â'r Iuddewon; ond at zêl ei ysbryd yn ei waith Cyfryngol, yr hyn oedd yn bwyta nerth ei gorph. Pe na laddesid Ef gan ei elynion, y mae yn anhawdd meddwl na fuasai yn marw yn ddyn ieuangc, ei nerth wedi ei ysu gan ei zêl. Pe derbyniasid Ef gan ei genedl ni chawsai ei ladd; ac os na leddid Ef, pa fodd y gwnai iawn dros bechod? Nid lladd oedd hanfodol i Iawn, ond marw; a phe y derbyniasid Ef gan ei eiddo ei hun, eto buasai farw yn gydmarol gynar, - nerth ei gorph wedi ei ddifa gan angerdd ei enaid. A buasai marw o zêl yn gymaint Iawn a marw dan hoelion - feallai! Ac onid yw y geiriau hyn yn ateb gofyniad arall,—Pa fodd y darfu i'r gwerthwyr a'r newidwyr arian – pobl anhawdd eu trin yn mhob oes – ildio a myned allan, gan eu bod yn y deml yn ol trefniant yr awdurdodau? Y mae rhyw gymaint o wirionedd yn ateb Hengstenberg, fod ganddo gynorthwywr yn nghydwybodau y masnachwyr. Ond y mae yr ateb yn annigonol, gan fod eu cydwybodau wedi hir galedu trwy gynefindra. Dilys fod rhyw edrychiad dwyfol, rhyw awdurdod goruwchddynol, yn nodweddu ei ymddangosiad a'i eiriau,—rhywbeth a daflodd ddychryn i'w heneidiau, gan beri iddynt ddiangc mewn *panic*. Yr oedd zêl y tŷ yn treiddio o'r tu fewn i faes nes chwareu fel gwenfflam ar ei wyneb ac yn ei lygaid.

**ADN. 18. Yna yr Iuddewon a atebasant.** Sef, swyddogion y deml fel cynrychiolwyr y genedl. "Ateb" yn ystyr ddyfnaf y gair, nid i ofyniad, ond i weithred yr Iesu, a'r ysbryd oedd yn treiddio trwy y weithred. **Pa arwydd yr wyt ti yn ei ddangos i ni?** Ymddengys fod argraph ar feddwl y genedl y byddai i'r Messiah, pan ddelai, ddwyn i mewn ddiwygiadau mawrion i wasanaeth y deml, yn ol Mal. iii. 1 – 3. H.y., amlygai ei hun, yn ol y prophwyd, nid trwy allu, ond trwy sanct-

19 gwneuthur y pethau hyn? Yr Iesu a attebodd ac a ddy-
wedodd wrthynt, Dinystriwch y deml hon, ac mewn tridiau
20 y cyfodaf hi. Yna yr Iuddewon a ddywedasant, Chwe
blynedd a deugain y buwyd yn adeiladu y deml hon; ac a

---

eiddrwydd. Dyma yn awr weithred ddiwygiadol—glanhau y Deml; ond pa hawl oedd ganddo Ef i gychwyn y diwygiad, beth oedd ei *gredentials?* Y mae y cwestiwn yn afresymol, ac yn dangos dideimladrwydd moesol o'r fath waethaf, gan eu bod yn barnu fod gwyrth yn anghenrheidiol i brofi fod purdeb yn hanfodol i addoliad. Dengys y cwestiwn yr agendor fawr oedd yn eu gwahanu oddiwrtho Ef. Nid rhaid i neb wrth arwyddion neu *gredentials* i wneyd yr hyn sydd ddiamheuol iawn; ac, ar y llaw arall, nis gall gwyrth gyfiawnhau cyflawniad yr hyn sydd ddrwg neu anmhur. Gofyn oedd yr Iuddewon am arddangosiad o allu i gyfiawnhau arddangosiad o sancteiddrwydd, gwyrth i gyfiawnhau ei gondemniad o anweddeidd-dra yn nheml Duw. Ac nid oes brawf cryfach o anfoesoldeb y galon na bod dyn neu genedl yn gwerthfawrogi y briodoledd o allu yn fwy na'r briodoledd o sancteiddrwydd, mewn creadur neu Greawdwr. Yr arwydd uchaf o ddwyfoldeb anfoniad yr Iesu oedd—y glanhâd ei hunan fel arddangosiad o zêl dros burdeb addoliad. Y pur, nid yr anianyddol, yw yr arwydd sicraf o ddwyfoldeb sydd bosibl.

**ADN. 19. Dinystriwch y deml hon, ac mewn tridiau yr adgyfodaf hi.** Gwnaeth y geiriau hyn argraph ddofn ar feddwl yr Iuddewon a'r dysgyblion; canys cawn y dosbarth cyntaf yn eu gŵyrdroi yn dystiolaeth yn erbyn yr Iesu adeg ei groeshoeliad (Matt. xxvi. 61; Marc xiv. 57, 58; Act. vi. 4), a'r rhai olaf yn eu galw i gof ar ol yr adgyfodiad. Y mae y geiriau yn dywyll am eu bod yn gyfriniol. Defnyddia Crist y modd gorchymynol; ond dealla rhai ef fel yn gyfystyr â'r modd amodol—"Os chwi a ddinystriwch y deml hon, &c." Dealla eraill yr *Imperative* yma fel yn gyfystyr â'r amser dyfodol—"Chwi a ddinystriwch y deml hon, &c." Ond ymddengys i ni mai cam-ddehongliad yw y naill a'r llall (*Winer's Grammar*, p. 328). Gwir fod pob gorchymyn a'i wyneb ar y dyfodol, ond nid cywir nad yw y gorchymynol yn golygu dim mwy na'r dyfodol. Beth ynte yw yr esboniad cywir ar y geiriau? Cawn ddau esboniad yn y benod—esboniad yr Iuddewon yn adn. 20; ac esboniad Ioan yn adn. 21.

**ADN. 20. Chwe mlynedd a deugain y buwyd yn adeiladu y deml hon.** Deallodd yr Iuddewon ei eiriau fel yn cyfeirio at y deml faterawl ar y mynydd. Dechreuodd Herod adeiladu y deml, neu yn hytrach ei helaethu a'i haddurno, yn y 18fed flwyddyn o'i deyrnasiad; parhaodd ei olynwyr ar yr orsedd i ddwyn y gwaith yn mlaen gyda gorwychder eithriadol; ac ni orphenwyd mohoni hyd chwe' blynedd cyn ei llosgiad, yn A.D. 40, gan luoedd Rhufain o dan gadfridogiaeth Titus. Y mae yr amser a nodir yma y buwyd yn adeiladu y deml yn help mawr i amseryddwyr i benderfynu y mater dyrus y dadleuir cymaint yn ei gylch, sef blwyddyn benodol genedigaeth yr Iesu. Gan fod 46 mlynedd wedi myned heibio er y dechreuodd Herodd adeiladu y deml, a bod yr Iesu yn awr tua 30½ mlwydd oedd, cesglir ei fod wedi ei eni o leiaf ddwy

gyfodi di hi mewn tridiau? Ond efe a ddywedasai am 21

---

flynedd, feallai dair, yn gynarach nag a dybir yn y cyfrif Cristionogol arferol. H.y., y mae y flwyddyn 1900 mewn gwirionedd yn 1902 neu 1903 o oed Crist.

**ADN. 21. Ond Efe a ddywedodd am deml ei gorph.** Dyna esboniad Ioan ar adn. 19. Nid esboniad yr Iesu, cofier, ond esboniad Ioan. Yn awr, y mae ysbryd gwyddonol yr oes yn ein gorfodi i ofyn, A yw esboniad Ioan yn gywir? Mŷn De Wette, Ewald, ac hyd yn nod Neander, heb son am lu mawr y mân esbonwyr anghrediniol, fod Ioan yn cyfeiliorni. Hònant fod *scientific criticism* yn hawlio mai meddwl yr Iesu yw: Parhewch yn eich hanmarch o'r deml, a thrwy ei hanmarchu chwi a'u dinystriwch. Newidiwch chwi hi o fod yn dŷ i addoli Duw ynddo i fod yn dy i werthu anifeiliaid, a mi a brofaf fy hawl i gondemnio eich ymddygiad halogedig trwy godi teml arall, teml ysbrydol, mewn tridiau, sef mewn bỳr amser,—teml i addoli ynddi mewn ysbryd a gwirionedd. Diau fod hynyna yn wirionedd, ond ai dyna y gwirionedd oedd yn meddwl Crist? Nage, meddai Ioan; "ond Efe"—ac y mae yr "Efe" yn bwysleisiol—"a ddywedasai am deml ei gorph." Rhaid i ni dderbyn esboniad yr efengylwr fel y dyfnaf a'r cywiraf, yn enwedig, os efe hefyd a ddyfeisiodd yr ymadrodd y mae yn ei esbonio, fel y mŷn y dosbarth hwn o esbonwyr i ni gredu. Yn gyntaf, dysgant mai nid yr Iesu, ond awdwr yr efengyl, pwy bynag ydoedd, a lefarodd adn. 19; ac yna änt yn mlaen i brofi nad yw yr awdwr yn adn. 21 yn deall ei feddwl ei hunan yn adn. 19—deallant hwy ef yn well! Ond y mae pob adnod i'w hegluro yn ngoleuni ei phrif feddwl, ac yma y prif feddwl yw angeu ac adgyfodiad yr Iesu, dinystr ac ail-godiad teml ei gorph. (1) Tybia Bengel y cyfeiriai yr Iesu a'i fys ato ei hun, gan ddywedyd, Dinystriwch y deml hon, &c. Eithr os felly, pa fodd y gallasai camsyniad godi o du yr Iddewon? (2) Barna eraill iddo daflu pwyslais arwyddocäol ar "hon," fel ag i awgrymu yn eglur i'r rhai a'i clywent mai am ei gorph ei hun y llefarai mewn cyferbyniad i'r deml geryg; ac felly mai yn y pwyslais y cafodd Ioan yr allwedd i ddatgloi y meddwl. Ond y mae yn amlwg oddiwrth yr adnod sydd yn dilyn na ddeallodd Ioan yr ymadrodd felly ar y pryd, ac mai yn ngoleuni yr adgyfodiad, ac nid yn ngoleuni y pwyslais, y gwelodd ef y gwir ystyr. (3) Deallodd Ioan o'r diwedd fod yr Iesu fel arferol yn myned trwy y cysgod at y sylwedd, ac mai am y sylwedd y llefarasai. Beth yw y drychfeddwl gwirioneddol o deml? Man ag y mae Duw a dyn yn cyfarfod, yn gyntaf mewn cymundeb, ac yna mewn undeb. O ganlyniad, cysgod oedd y deml ar Seion, canys ni allasai fod gwir undeb na gwir gymundeb rhwng Duw a choed a cheryg. Cysgod oedd yr adeilad ar y mynydd, Crist ei hun oedd y sylwedd; ac nid at y pentwr adeiladau a elwid yn deml (*hiĕrŏs*), y cyfeiriai, ond at y Cysegr Sanctaidd a Sancteiddiolaf yn y canol, y *naŏs*. "Dinystriwch y Cysegr hwn, ac mewn tridiau yr adgyfodaf ef." "Ond Efe a ddywedasai am Gysegr ei gorph." Nid ei berson ond ei gorph,—"yn yr hwn y trigai holl gyflawnder y Duwdod yn gorphorol." Yn ei gorph Ef y sylweddolwyd y drychfeddwl o deml, sef preswyliad gwirioneddol Duw gyda dyn. Fel pe dywedasai yr Iesu, Dinystriwch y deml hon, teml fy nghorph, trwy groeshoeliad, a

chwi a ddinystriwch y deml faterawl ar y mynydd; dinystriwch y sylwedd, ac fe ddiflana y cysgod." Ac felly y darllenwn i Iuddewiaeth raddol ddiflanu ar ol y croeshoeliad: diflanodd yr offeiriadaeth, peidiodd yr aberthau; a thra y mae Iuddewiaeth yn parhau mewn enw hyd heddyw, eto crefydd heb deml ydyw, heb offeiriad, heb aberth. Wrth ddinystrio teml ei gorph Ef yn yr angeu, distrywiasant eu cyfundrefn grefyddol eu hunain.

Yn awr, pe byddai Ioan heb roddi yr esboniad hwn ar adn. 19, a fuasem ni yn debyg o daraw arno? Ac os na fuasem, ai nid yw hyny yn profi mai esboniad dychymygol yw yr eiddo Ioan? Yn gyntaf, ni fuasai fod eraill yn methu canfod yr esboniad yn brawf fod yr esboniad yn gyfeiliornus. Yn ail, y mae yn dra thebygol y buasai eraill yn gweled yr un eglurhâd ag a welodd Ioan; oblegid, os dilynir y geiriau yn fanwl, gwawria ar y meddwl nad oes un esboniad arall yn eu dihysbyddu. Paham y defnyddia yr Iesu y gair Cysegr, ac nid y gair Teml? Rhaid fod ganddo ryw reswm am hyny. Paham y defnyddia y gair "datod" ac nid y gair "dinystrio"—"Datodwch y deml hon," gair am ddatod pabell, a'r un gair ag a ddefnyddir yn 2 Cor. v. 1, am farwolaeth y corph? Paham y dywed "hi" ac nid "arall"—"Mi a gyfodaf deml arall"? Paham y dywed "cyfodaf" ac nid "adeiladaf"—"Mewn tridiau yr adeiladaf hi"? A phaham yn arbenig y dywed "tridiau"? Gwir y defnyddir "tridiau" mewn prophwydoliaeth am fyr amser, Hosea vi. 2; ond ystyr hanesyddol bendant sydd iddo yn yr efengylau—marwolaeth yr Iesu a'i adgyfodiad foreu y trydydd dydd. Gan hyny, gwelir fod esboniad Ioan yn eistedd yn esmwyth ar eiriaduraeth a gramadeg yr adnod, ac nid oes un eglurhâd arall yn gwneuthur hyny.

Nid ydym yn gwadu gwirionedd eglurhâd yr esbonwyr diweddar, sef fod yma gyfeiriad at y deml fel cynrychiolydd arddull yr Hen Oruchwyliaeth o addoli, ac at osodiad i fynu deml ysbrydol yr Oruchwyliaeth Newydd. Ond yr ydym yn dàl fod yma wirionedd dyfnach, gwirionedd ag sydd yn sylfaen i'r gwirionedd blaenorol, sef angeu ac adgyfodiad yr Iesu fel rheswm am a sylfaen i'r cyfan. Yr effaith yw y cyntaf, yr achos yw yr olaf; ac y mae esboniad Ioan yn myned i lawr at y sylfaen, yn taraw y gwaelod. Gan hyny, dysg hyn i ni ddau beth. Yn gyntaf, yr oedd ei angeu poenus trwy wrthwynebiad maleisus yr Iuddewon yn sierwydd yn ei ymwybyddiaeth o ddechreu ei weinidogaeth—nid gwawrio yn raddol ar ei feddwl a wnaeth, fel y mýn dosbarth helaeth o ysgrifenwyr diweddar. Yn ail, ei adgyfodiad oedd i fod yr arwydd fawr derfynol mai Efe oedd y Messiah, Mab Duw. Tuedd Pabyddiaeth yw gosod yr holl bwys ar yr Ymgnawdoliad nes cymylu i raddau yr Angeu a'r Adgyfodiad. O ganlyniad, gwelwn fod y blaid Ddefodol yn ein gwlad, yn gyson âg anianawd Pabyddiaeth, wedi dwyn athrawiaeth yr Ymgnawdoliad i fwy o gyhoeddusrwydd nag arferol. Rhoddant gymaint o arbenigrwydd ar Athrawiaeth yr Ymgnawdoliad nes cymylu Athrawiaeth yr Iawn; a a thrwy hyny, gwnânt le, yn anymwybodol, i offeiriadaeth barhaus ac aberth parhaus yn yr Eglwys Gristionogol. Yn wir, yr enw a rydd awdwyr y *Lux Mundi* ar grefydd y Test. Newydd yw Crefydd yr Ymgnawdoliad (*The Religion of the Incarnation*). Ond ymddengys i ni nad oes i'r Ymgnawdoliad *interest* annibynol yn y Beibl; y mae yn amlwg mai nid y Cryd ond y Groes, nid y Geni ond y Marw, yw canolbwynt Cristionogaeth. Nid Crefydd yr Ymgnawdoliad mohoni yn gymaint a

deml ei gorph. Am hynny pan gyfododd efe o feirw, ei 22
ddisgyblion ef a gofiasant iddo ddywedyd hyn wrthynt
hwy: a hwy a gredasant yr ysgrythyr, a'r gair a ddywed-
asai yr Iesu.
Ac fel yr oedd efe yn Jerusalem ar y pasc yn yr wyl, 23
llawer a gredasant yn ei enw ef, wrth weled ei arwyddion

---

Chrefydd yr Iawn, Crefydd y Groes. Yn unol â'r uchod, yr Ymgnawdoliad yw athrawiaeth ganolog Pabyddiaeth; ond yr Iawn yw athrawiaeth ganolog Protestaniaeth.

**ADN. 22. Am hyny pan gyfododd Efe o feirw, ei ddysgyblion Ef a gofiasant.** Cyflawniad o addewid yr Iesu am yr Ysbryd Glan i "ddwyn ar gof iddynt yr holl bethau" a lefarasai. Llefarai lawer nad oedd y dysgyblion yn ei ddeall ar y pryd; ond yn ngoleuni allanol yr Adgyfodiad a goleuni tufewnol yr Ysbryd gwelent y trysorau oedd yn guddiedig ynddynt. **A hwy a gredasant yr Ysgrythyr.** Deg o weithiau fe ddywedir hyn yn efengyl Ioan, a phob tro, oddigerth yn xvii. 12 a xx. 9, mewn cyfeiriad at ryw adran benodol. A oedd rhyw Ysgrythyr neillduol yn meddwl Ioan yn awr? Etyb rhai nac oedd—mai y prophwydoliaethau am angeu a'r adgyfodiad Crist yn gyffredinol a feddyliai. Ond gan fod yr ymadrodd yn gyffredin yn cyfeirio at adran neillduol, gwell feallai ydyw ei gymeryd felly yma, sef ei fod yn cyfeirio, yn ol Meyer a Westcott, at Ps. xvi. 10. Yr oedd cyflawniad un rhan yn cadarnhau eu ffydd yn yr oll.

CRIST YN JERUSALEM. ADN.. 23—25.

Dylasai y tair adnod hyn ffurfio dechreuad y benod nesaf, canys rhagarweiniad ydynt i ymddiddan yr Iesu â Nicodemus.

**ADN. 23. Ac fel yr oedd Efe yn Jerusalem ar y Pasg yn yr ŵyl.** Nodir yma y lle a'r amser a'r amgylchiadau. Gweinidogaeth yr Iesu yn y dref sydd yma yn wahaniaethol i'w weinidogaeth flaenorol yn y deml. Dechreuai yr ŵyl ar y 13eg o fis Nisan, a pharhâi am wythnos gyfan. **Llawer a gredasant yn ei enw Ef.** Yr oedd y "llawer" yn cael eu gwneyd i fynu o bobl y wlad yn yr ŵyl yn gystal a thrigolion y dref (iv. 45). Beth yw y gwahaniaeth rhwng credu yn enw Crist a chredu yn Nghrist? Etyb rhai fod credu yn enw Crist yn rhoddi arbenigrwydd ar ei berson, a chredu yn Nghrist yn rhoddi arbenigrwydd ar ei eiriau a'i waith. Ond erbyn dwyn yr eglurhad hwn at faen prawf yr adnodau, y mae yn tori i lawr. Gan amlaf cawn fod y naill yn gyfystyr â'r llall. Yn i. 12, a manau eraill, y mae credu yn ei enw yn golygu ffydd gadwedigol; ond yma y mae yr un ymadrodd yn golygu ffydd nad yw yn gadwedigol. Gan hyny, rhaid dilyn y rheol fod credu yn ei enw neu gredu ynddo yn meddwl ffydd gadwedigol, os na fydd y cyd-destyn yn awgrymu yn wahanol; ac yma y mae y cysylltiadau yn eglur ddysgu ystyr arall. Beth yw yr ystyr hwnw? Fod "llawer" yn troi yn bleidwyr iddo yn erbyn dyfarniad awdurdodau y deml, ac yn edrych arno, yn rhinwedd y gwyrthiau lluosog a gyflawnai o flaen eu llygaid o ddydd i ddydd, fel y Messiah addawedig, neu ynte "fel dysgawdwr wedi dyfod

24 a wnaethai efe. Ond nid ymddiriedodd yr Iesu iddynt am
25 dano ei hun, am yr adwaenai efe hwynt oll; Ac nad oedd
raid iddo dystiolaethu o neb *iddo* am ddyn: o herwydd yr

---

oddiwrth Dduw" (iii. 2). Ond er credu ynddo fel y Messiah, nid oeddent yn iawn ddeall yr hyn a gynwysid yn y swydd. Credent yn yr "Enw" mewn anwybodaeth o'i gynwys; neu yn hytrach yr oeddent wedi llanw yr "Enw" â chynwys cyfeiliornus. Gwaredwr politicaidd oedd y Messiah Iuddewig; ond Messiah Duw, gwaredwr oddiwrth bechod ydoedd. Credasant yn ei enw fel y cyntaf, ni chredasant yn ei enw fel yr olaf. **Wrth weled yr arwyddion yr oedd Efe yn eu gwneuthur.** Tra y mae "credu" yn y gorphenol, y mae "gweled" yn y presenol, i awgrymu fod y credu yn dibynu ar y gweled; pan ddarfyddai yr olaf, diflanai y cyntaf. Y mae ffurf y frawddeg yn gosod allan gyfres o wyrthiau, y rhai a gyflawnai yr Iesu o ddydd i ddydd. Nid ydyw Ioan yn eu croniclo bob yn un ac un, ond y mae yn amlwg oddiwrth iii. 2, a iv. 45, eu bod yn fawrion a lluosog. Detholiad bychan o wyrthiau yr Iesu a'i ymddiddanion sydd yn yr efengylau (xx. 30, 31; xxi. 15; Matt. iv. 23—25), ond digon er hyny i amcanion iachawdwriaeth. Ffydd seiliedig ar wyrthiau oedd ffydd y bobl hyn, yn cynwys mwy o synu nag ymddiried, mwy o ryfeddu nag addoli; ac o ganlyniad yn amddifad o'r elfen foesol, ysbrydol, gadwedigol sydd yn tarddu o adnabyddiaeth o'r Iesu ei hun. Y mae gwyrth yn gryfhâd i ffydd lle y mae eisoes yn bod megis yn ii. 11; ond ni fedr gynyrchu gwir ffydd. Ategiad i ffydd, fel *buttress* i fur, ydyw gwyrth, nid sylfaen. Camsyniad y bobl hyn oedd sylfaenu eu ffydd ar y gwyrthiau,—edrychent ar y gwyrthiau yn fwy na'r Iesu, yn lle ar yr Iesu yn fwy na'r gwyrthiau.

**ADN. 24. Ond nid ymddiriedodd yr Iesu iddynt am dano ei hun.** Yr un gair sydd yma am ymddiried ag yn yr adnod flaenorol am gredu. Gan hyny y mae yma gyferbyniad: ymddiriedent hwy ynddo Ef, ond nid ymddiriedai Efe ynddynt hwy; credasant hwy ynddo Ef, ond ni chredodd Efe ynddynt hwy—nid oedd ganddo Ef ffydd yn eu ffydd hwy. Dengys hyn fod ymddiried dyblyg yn nhrefn y cadw—y pechadur yn ymddiried yn Nghrist am ei fywyd, a Christ yn ymddiried yn y pechadur am ei achos. Mor aml y datgana Paul ei syndod fod Crist wedi ei farnu yn deilwng i ymddiried cymaint o waith iddo! Yn i. 35—51, credodd y chwe dysgybl yn yr Iesu, a chredodd yntau ynddynt hwythau, ac felly datguddiodd iddynt ei gyfrinion. **Am yr adwaenai Efe hwynt oll.** Canfyddai nad oedd ond arwynebedd eu natur wedi ei gyffroi, fod craig galed yn gorwedd dan yr haen deneu o bridd (Matt. xiii. 5, 6).

**ADN. 25. Ac nid oedd raid iddo dystiolaethu o neb iddo am ddyn.** "Am y dyn"—dyn gyda'r fanod. Beth yw y meddwl? (1) Barna rhai mai y ddynoliaeth a feddylir, dyn yn gyffredinol. Deallai Crist y ddynoliaeth drwyddi draw. Ni allasai neb daflu goleuni ychwanegol ar y natur ddynol fel natur. Nid oedd neb yn adnabod dyn yn well nag Efe, ac nid oedd dim mewn dyn nad ydoedd o fewn cylch ei wybodaeth Ef. (2) Ond ymddengys fod Ioan yn golygu rhywbeth manylach. Anhawdd troi i'r Gymraeg na'r Saesoneg lawn ystyr y fanod yn y Groeg; meddylia yn aml, nid y dyn, ond y dyn hwn—*not the man, but this man*. Adwaenai

oedd efe yn gwybod beth oedd mewn dyn.

---

yr Iesu y bobl a gredasant yn ei enw, adwaenai hwynt oll, nid yn y cyfanswm, ond bob yn un ac un,—yr oedd ganddo wybodaeth arbenigol o bob dyn ar ei ben ei hun, "y dyn hwn." **Oherwydd yr oedd Efe yn gwybod beth oedd mewn dyn.** Y dyn, y dyn hwn eto. Fel aelodau o'r un ddynoliaeth y mae i ddynion rhyw briodoleddau mawrion cyffredinol; ond fel personau unigol y mae iddynt yn ychwanegol eu nodweddion neillduol—gwendidau a rhagoriaethau a dulliau neillduol o feddwl a theimlo. Nid yn unig deallai yr Iesu y ddynoliaeth yn gyffredinol; ond yr hyn oedd fwy anhawdd—deallai pob person unigol—adnabyddai ei nodweddion neillduol. Adwaenai yr *individual* yn gystal â'r *species*. Adnebydd llawer y ddynoliaeth yn gyffredinol, ac eto y maent yn amddifad iawn o allu i ddarllen cymeriadau unigol; ond meddai yr Iesu y wybodaeth ddyblyg i berffeithrwydd. Pa fodd y cyrhaeddodd ei wybodaeth? **O herwydd yr oedd Efe o hono ei hun yn gwybod beth oedd mewn dyn.** Yr oedd ei wybodaeth Ef, yn wahanol i'n gwybodaeth ni, yn hollol annibynol ar dystiolaeth. Tynai ei wybodaeth allan o hono ei hun; ac nid oes annibyniaeth hollol yn perthyn i neb ond Duw. Ac eto nid gwybodaeth hollol (*absolute*) yn y ffurf ddwyfol ydyw, ond gwybodaeth hollol yn y ffurf ddynol, fel y dengys y gair (*ginōskein*) a ddefnyddir: dyma ran o ddirgelwch anamgyffredadwy yr Ymgnawdoliad. Oblegid fod ffurf y wybodaeth yn ddynol, nid priodol casglu y rhaid fod ei ffynhonell yn ddynol—tynodd hi allan "o hono ei hun." Yn Nghrist y mae person dwyfol mewn ffurf ddynol, ond nid yw hyny yn lleihau dim ar ddwyfoldeb y person. Ac nid yw ffurf ddynol y wybodaeth yn gwrthbrofi dim o ddwyfoldeb ei tharddiad. Nid dringo i fynu o'r dynol i'r dwyfol y mae Ioan, ond disgyn i lawr o'r dwyfol i'r dynol. Yn ngoleuni i. 14 yr ysgrifena Ioan ei holl efengyl, ac yn yr un goleuni y rhaid i ninau esbonio. Y mae y wybodaeth drylwyr hollol hon o eiddo yr Iesu yn belydriad allan o'i ogoniant tufewnol. Ai o'i ogoniant fel dyn yn unig, ynte fel Duw-ddyn? Tybiwn ni mai yr ateb cywir yw, fel Duw-ddyn. Dyma un o'r pethau a ysgrifenodd Ioan o bwrpas i brofi "mai Iesu yw y Crist, Mab Duw." Buasai ei wybodaeth berffaith o'r "oll" ar y naill law, ac o "bob un" ar y llaw arall, y tu hwnt i gyrhaeddiadau dyn, a dim ond dyn. Tra y mae ffurf ei wybodaeth yn ddynol, y mae y cynwys yn ddwyfol—y tu hwnt i allu dyn, a phob dyn; a'r graddau sydd yn profi y dwyfoldeb. Y mae gwybodaeth gan ddyn; ond pan y mae gwybodaeth yn holl-wybodaeth, y mae yn ddwyfol. Y mae gallu gan ddyn, ond pan y mae gallu yn holl-alluogrwydd, y mae yn ddwyfol. Yn yr enghreiphtiau hyn y graddau sydd yn gwneyd y gwahaniaeth—yn gwneyd un yn ddynol a'r llall yn ddwyfol. Ofer, gan hyny, ymresymu fod enghreiphtiau cyffelyb (*analogues*) yn mhlith dynion o'r wybodaeth hon o eiddo yr Iesu; y graddau sydd yn cyfansoddi y gwahaniaeth. "Nid oedd y wybodaeth hon yn oruwchnaturiol," meddai Dodds; ond cyfaddefa yr esbonwyr yn o gyffredinol mai dyma y wybodaeth—gwybod "o hono ei hun bawb a phob un"—yw y wybodaeth a hawlia y Jehofah iddo ei hun yn Jer. xvii. 10, a xx. 12. Os nad oedd y wybodaeth hon, uniongyrchol, cyffredinol, a manwl gyflawn, yn oruwchnaturiol, y mae yn anhawdd synied pa wybodaeth a all fod felly. Ychwanega Dodds:

## PENNOD III.

1 AC yr oedd dyn o'r Phariseaid, a'i enw Nicodemus,
2 pennaeth yr Iuddewon: Hwn a ddaeth at yr Iesu

"Y mae gan Westcott nodiad pwysig ar hyn, yn yr hwn y dengys fod Ioan yn desgrifio gwybodaeth yr Iesu fel yn 'berthynasol a chyrhaeddedig (*ginōskĕin*) ac hefyd yn hollol ac yn ei feddiant.' Y mae y naill a'r llall yn cyfansoddi graddau uwch o wybodaeth nag a geir yn mhlith dynion." Gwir; ond y mae graddau y gwahaniaeth mor fawr fel ag i wneyd y naill yn naturiol a'r llall yn oruwchnaturiol. Nid Shakespeare mewn llythyrenau brasach oedd yr Iesu. Dengys i. 35–51 fod ei adnabyddiaeth o bersonau unigol yn oruwchnaturiol; dan ei dywyniadau disglaer gorfodwyd Nathanael i waeddi yn gyffrous, "Rabbi, ti yw Mab Duw." A gyfeiliornodd Nathanael yn y casgliad a dynodd? Yn ei ymddiddan â'r wraig o Samaria, dangosodd y fath wybodaeth fanwl o honi nes ei gorfodi i gyfaddef, "Arglwydd, mi a welaf mai prophwyd wyt ti." A oedd ei chyfaddefiad yn gamsyniol? Nid canfyddiad meddwl barddonol sydd yn yr adnodau dan sylw, ond canfyddiad meddwl dynol yn derbyn ei danbeidrwydd mewn ffordd nas gwyddom ni oddiwrth drigiad ynddo o'r Tragwyddol Air. Nid yw y gair *ginōskĕin* yn milwrio dim yn erbyn y syniad y dadleuwn drosto. Wrth ddilyn y gair yn ei gysylltiadau amryfal cawn y defnyddir ef am Dduw yn gystal ag am ddynion (1 Cor. ii. 11; Gal. iv. 9); ac yn ol Cremer dynoda gan amlaf, er nad bob amser, "berthynas bersonol rhwng y person sydd yn adnabod a'r gwrthrych a adnabyddir, yn gyfartal i gael ein dylanwadu gan ein gwybodaeth o'r gwrthrych, i oddef ein hunain i gael ein penderfynu ganddo." H.y. y mae ein teimlad a'n hymddygiad ni at y person i gael eu penderfynu gan ein gwybodaeth ni o hono. Ac y mae yn amlwg, dybygem, mai yn yr ystyr yna yr ydym i ddeall y gair yn y ddwy adnod hyn,—fod perthynas foesol yr Iesu â'r bobl yn yr ŵyl yn cael ei phenderfynu o ran ei hansawdd gan ei wybodaeth drwyadl Ef o ystâd foesol eu meddyliau hwy.

## PENOD III.

### YMDDIDDAN CRIST A NICODEMUS. ADN. 1—21.

Cronicla Ioan unarddeg o ymddiddanion yr Arglwydd Iesu. Dyma y cyntaf. Nid ydys i dybied fod Ioan yn cofio yr holl ymddiddan air yn air, yn mhen haner cant a rhagor o flynyddoedd wedi iddo gymeryd lle, neu ei fod yn ysgrifenu i lawr pob sylw a wnaed yn ystod yr ymddiddan. Ond rhodda grynodeb cyflawn o'r hyn a gymerodd le, gan roddi arbenigrwydd ar y gwirioneddau hyny ag oedd o adeiladaeth barhaus i'r eglwys.

**ADN. 1. Ac yn awr yr oedd dyn o'r Phariseaid.** Y mae y gair "dyn" yn cysylltu yr ymddiddan hwn â'r benod flaenorol. Credodd llawer yn yr Iesu yn yr ŵyl, ond ni chredodd Efe ynddynt hwy, am y gwyddai beth oedd mewn dyn. Ac, fel enghraipht, daeth ato ddyn o'r Phariseaid, math o gynrychiolydd answyddogol o'r bobl a gredasant

liw nos, ac a ddywedodd wrtho, Rabbi, nyni a wyddom
mai dysgawdwr ydwyt ti wedi dyfod oddi wrth Dduw:
canys ni allai neb wneuthur y gwyrthiau hyn yr wyt ti yn
eu gwneuthur, oni bai fod Duw gyd âg ef. Iesu a atteb- 3

---

yddo yn yr ŵyl, ond yn yr hwn y graddol ddadblygodd y ffydd arwynebol yn ffydd achubol. **A'i enw Nicodemus.** Enw Groeg neu Hebraeg. Yn y Groeg golyga "oresgynydd y bobl"; yn yr Hebraeg "gwaed gwirion." Nid oes dim gwybodaeth bendant am dano ond a geir yn yr efengyl hon. Dywed traddodiad iddo gyffesu yr Arglwydd Iesu yn gyhoeddus, ar ol yr adgyfodiad, ac iddo gael ei dderbyn i'r eglwys trwy fedydd; ac i'r Iuddewon mewn canlyniad ei amddifadu o'i swydd yn y Sanhedrin a'i alltudio o Jerusalem; ond i'w berthynas Gamaliel ei letya yn ei balasdy yn y wlad, a rhoddi iddo gladdedigaeth anrhydeddus, a'i osod mewn bedd cyfochrog a bedd Stephan, y merthyr. Ar y llaw arall, sonia y Talmud am Nicodemus Ben Gorion, dysgybl i'r Iesu a'r hwn oedd oludog iawn, ond a gollodd ei gyfoeth yn ninystr Jerusalem. Ond offeiriad yn y deml oedd hwnw, tra mai "penaeth yr Iuddewon" oedd hwn,—aelod o'r Sanhedrin, er nad oes dim anghysondeb yn y ddau osodiad, gan fod offeiriaid yn aelodau.

**ADN. 2. Hwn a ddaeth at yr Iesu liw nos.** I'r tŷ y lletyai yr Iesu ynddo dros yr ŵyl. Dilys fod Ioan yn bresenol hefyd, ac o bosibl rai o'r dysgyblion eraill (adn. 11), onite pa fodd y ceid adroddiad? "Lliw nos" ysbrydol, meddai Awstin yn brydferth ddigon; nid oes neb yn dyfod at yr Iesu fel Ceidwad ond liw nos—y mae yn dywyll iawn ar eu meddwl. Ond amlwg yw mai lliw nos naturiol a feddyliai Ioan. Paham liw nos? 1. Am mai dyna yr adeg fwyaf cyfleus i bobl brysur fel y ddau hyn i gael ymddiddan tawel â'u gilydd. 2. Am fod arno ofn yr Iuddewon, sef ei gydaelodau aristocrataidd yn y Cynghor. Cymer yr esbonwyr yn ganiataol yn gyffredin ei fod o dymher lwfr, ac feallai fod rhyw gymaint o wirionedd yn y dybiaeth. Ond yn y gwaelod meddai cryn lawer o ddewrder. Gofynai wroldeb eithriadol i wr o'i safle uchel ef mewn cymdeithas ac yn y Cynghor i ddyfod o gwbl. Y mae perygl i ni gamliwio cymeriad dyn da, a da iawn i fod yn dda o gwbl dan y fath amgylchiadau. Tyfodd ei ffydd wàn yn ffydd gref (vii. 50; xix. 39). **Rabbi.** Gwel ar i. 38. **Nyni a wyddom.** Ffordd rydd o lefaru. Yr oedd siarad lawer yn Jerusalem am y Diwygiwr ieuangc a burodd y deml, ac a gyflawnai wyrthiau, ac a bregethai i'r tyrfaoedd gyda grymusder. Iesu o Nazareth oedd *sensation* yr ŵyl. Condemnid Ef yn llym gan rai, edmygid Ef yn fawr gan eraill. Perthynai Nicodemus i'r dosbarth diweddaf. **Mai dysgawdwr ydwyt ti wedi dyfod oddiwrth Dduw.** Y mae lle y geiriau "oddiwrth Dduw" yn y gwreiddiol yn dangos eu bod yn bwysleisiol. Yr oedd commissiwn ganddo, nid oddiwrth y llys crefyddol, ond oddiwrth Dduw. **Canys ni allai neb wneuthur yr arwyddion yr wyt ti yn eu gwneuthur oddieithr fod Duw gydag ef.** Nid oes yma un gydnabyddiaeth o ddwyfoldeb ei berson, dim ond o ddwyfoldeb ei anfoniad—y ffon gyntaf yn yr ysgol. Nid Mab Duw, ond dysgawdwr oddiwrth Dduw. Sylfaena ei gred ar y gwyrthiau a welodd. A ydyw gwyrthiau yn brawf digonol o ddwyfol awdurdodiad? Ydynt,

odd ac a ddywedodd wrtho, Yn wir, yn wir, meddaf i ti,

---

gwir wyrthiau. Am hyny defnyddia Nicodemus y rhagenw yn bwysleisiol—"yr arwyddion yr wyt *ti* yn eu gwneuthur." Rhaid wrth allu Duw i gyflawni gwyrthiau, ac ni wna gallu Duw ategu dim ond y sydd yn wirionedd Duw. Ar y llaw arall, y mae ffug-wyrthiau, effaith twyll neu wybodaeth ddirgeledig o ddeddfau natur,—rhith gwyrthiau heb fod yn wyrthiau gwirioneddol. Gan hyny, rhydd Duw yr Israel ar eu gocheliad rhag cymeryd yr hyn a *elwir* yn wyrthiau fel prawf terfynol o ddwyfol anfoniad (Deut. xiii. 18—22).

**ADN. 3. Iesu a atebodd ac a ddywedodd wrtho.** Tybia Meyer i'r Iesu dori ar draws cyfarchiad Nicodemus cyn iddo ddatgan yr oll a fwriadai. Ond gwyddai yr Iesu beth oedd mewn dyn; gwelai y gofyniadau yn eu hanelwig ddefnydd ag oedd yn gorwedd ddyfnaf yn ei enaid; a gallwn ni ddyfalu beth oedd rhediad dyfnaf ei feddwl oddiwrth ateb yr Iesu iddo,—ymholi ynghylch teyrnas Dduw. **Yn wir, yn wir**: Amen, Amen. Gair Hebraeg yw Amen, yr hwn a gyfieithir yn y Gymraeg "Yn wir," ac yn golygu cadernid, sefydlogrwydd. Oddigerth yn Isa. lxv. 16 (Duw yr Amen), defnyddir ef bob amser yn yr H. D. i osod allan erfyniad, pa un ai am fendith ai am felldith. Amen. Felly y bo. Ond yn y Test. Newydd cyfnewid ei feddwl: o fod yn ofyniad try i fod yn haeriad, o fod yn *invocation* try yn *affirmation*, yr hyn sydd yn ol anianawd yn Oruchwyliaeth Newydd—dymuniad yr Hen yn gyflawniad yn y Newydd. Felly lle y defnyddia un efengylwr Amen, defnyddia arall Yn wir, mewn gwirionedd; ond yn anffodus nid yw ein cyfieithiad ni yn dangos y gwahaniaeth. Cyd. Marc xii. 43 a Luc xxi. 2. Hefyd Matt. xvi. 28 a Luc ix. 27. Hefyd Matt. xxiii. 36 a Luc xi. 51. Felly lle y defnyddia yr efengylwyr eraill y term *technical* a ynganai yr Iesu, dyry Luc rydd-gyfieithiad o hono yn yr iaith Roeg. Ni ddefnyddir, fodd bynag, yr Amen dyblyg—Yn wir, yn wir—ond yn efengyl Ioan yn unig. Paham yma ac nid yn y lleill? (1) Un ateb yw fod dybliad yr Amen yn dangos pwysigrwydd ychwanegol y gwirionedd sydd yn dilyn; ond cloff yw yr ateb ar y goreu, canys yr oedd pwysigrwydd mawr yn perthyn i'r gwirioneddau cynwysedig yn yr efengylau eraill. (2) Ateb arall yw mai un Amen a ddywedai yr Iesu yn ol adroddiad y tri efengylwr Synoptaidd, ond fod Ioan yn ei ddyblu, nid er mwyn newid yr ystyr nac ychwanegu ato, ond er mwyn cynyrchu yr argraph briodol. (3) Ateb arall yw y gelwir yr Iesu ei hun yn Amen (Dat. iii. 14), a dywedir hefyd fod addewidion Duw ynddo Ef yn Amen (2 Cor. i. 20). Gan hyny dyblir yr Amen, i osod allan Amen y person, ac Amen y ddysgeidiaeth. Gwirionedd personol sydd yma yn llefaru gwirionedd athrawiaethol. Yr hanesydd goreu yw yr hwn sydd yn egluro yr hanes, heb ychwanegu ato neu dynu oddiwrtho. Megis yr eglura Luc ystyr Amen yn Matthew a Marc, fel y gwelsom uchod, trwy ei gyfieithu yn *alēthōs* (mewn gwirionedd) ac yn *nai* (diau), felly dyga Ioan ei bwysigrwydd i'r golwg trwy ei ddyblu. (4) Ateb arall yw fod Ioan yn ei ddyblu am fod yr Iesu wedi ei ddyblu o'i flaen. **Meddaf i chwi.** Arwyddair y prophwydi oedd, "Fel hyn y dywed yr Arglwydd"; ond y mae yr Iesu yn mabwysiadu arddull newydd, gyfaddas i'r cyfnod newydd, "Yn wir, yn wir, meddaf i chwi." Tra y llefarent hwy yn enw y Jehofah,

Oddi eithr geni dyn drachefn, ni ddichon efe weled teyrnas

llefara Efe yn ei enw ei hun; ac feallai nad oedd dim yn fwy newydd na hynyna yn taraw ar glustiau Nicodemus.

**Oddieithr geni un drachefn.** Y mae sylw Nicodemus ac ateb yr Iesu yn gafael yn eu gilydd mewn un gair, "oddieithr." "Oddieithr (*ĕànmē*) fod Duw gydag ef," meddai Nicodemus. "Oddiethr (*ĕanmē*) geni un drachefn," etyb yr Iesu,—unrhyw un yn ddiwahaniaeth. Barnai Nicodemus fel yr Iuddewon yn gyffredin fod genedigaeth o Abraham yn ddigon i sicrhau breintiau teyrnas Duw. Na, meddai Crist, rhaid i Iuddew fel y cenedl-ddyn gael ei eni drachefn. Ai geni drachefn ynte geni oddiuchod sydd iawn yma? Dadleua Origen, Meyer, De Wette, a Lange dros roddi i'r gwreiddiol (*anōthĕn*) ystyr leol—"geni oddiuchod," sef o'r nefoedd, a dyna yn ddiamwys yw ei ystyr yn adn. 31. Ond dadleua Awstin, Calfin, Tholuck, Godet, a Westcott dros roddi ystyr amseryddol—"geni drachefn" neu eilwaith. Defnyddir y gair ddeuddeg gwaith yn y Test. Newydd,—pumwaith yn golygu "oddiuchod," a seithwaith "drachefn." Amlwg oddiwrth adn. 4 mai yn yr ystyr o "drachefn" neu eilwaith y deallodd Nicodemus ef; ac er nad yw ef yn awdurdod ar dduwinyddiaeth yr ymddiddan, nis gall fod ei well ar ystyr lythyrenol y gair. Yn y Groeg y mae i'r gair, fel y gwelir uchod, ddau ystyr; ond yn yr Aramaeg, yr iaith frodorol a lefarent, dywedir mai prif, ac feallai unig ystyr y gair, yw "drachefn." Ond sylwer nad yw "geni drachefn" a "geni o'r newydd" o angenrheidrwydd yn gyfystyron. Gallasai dyn gael ei eni drachefn a bod ar yr un lefel ag o'r blaen; ond golyga geni o'r newydd rywbeth y tu hwnt; eithr yn ymarferol toddant i'w gilydd. Ac yn ymarferol nid oes geni drachefn neu o'r newydd ond trwy eni oddiuchod, neu o Dduw. Ond yma pwngc yr Iesu yw yr *angenrheidrwydd* am yr adenedigaeth, cyfeiria yn nes yn mlaen at ei natur a'i ffynhonell. **Ni ddichon efe weled teyrnas Dduw.** Dyma y cam cyntaf tuag i fynu, sef dirnadaeth gywir ysbrydol, er nad oes dirnadaeth briodol heb gyfranogiad yr un pryd. Y mae y "gweled" yn blaenori y "myned i mewn," fel achos o flaen effaith. Ni ddefnyddir "teyrnas Dduw" yn efengyl Ioan o gwbl ond yma, tra y defnyddir yr enw yn aml yn Marc a Luc. Ond yn Matthew yr ymadrodd yw "teyrnas nefoedd." Paham felly yn Matthew? Am fod Matthew yn ysgrifenu at yr Iuddewon, ac o bosibl yn eu hiaith frodorol, sef yr Aramaeg; a gwyddis fod Iuddewon y cyfnod hwnw, oherwydd ffug-barchedigaeth, yn gochel enwi "Jehofah" a "Duw," gan osod geiriau eraill yn eu lle, megis Mawredd a Nefoedd. Yn unol â hyn, nid enw ar le yw Nefoedd yn Matthew, ond ar y Bôd dwyfol. Felly cyfystyr yw teyrnas Dduw y tri efengylwr arall â theyrnas Nefoedd Matthew. Beth ynte yw dysgeidiaeth yr adnod yn awr dan sylw? Mai nid trwy borth gwaedoliaeth, na thrwy borth gwybodaeth, ond trwy borth yr ail-enedigaeth y mae dyn yn dyfod yn ddeiliad o deyrnas Dduw. "Nyni a wyddom," meddai Nicodemus. "Nid gwybod yw y peth pwysig," etyb yr Iesu, "ond geni—geni drachefn." Nid dyn *da* yn ystyr foesol (*ethical*) y gair, ond dyn *newydd*, sydd ddeiliad o deyrnas Dduw.

4 Dduw. Nicodemus a ddywedodd wrtho, Pa fodd y dichon
dyn ei eni, ac efe yn hen? a ddichon efe fyned i groth ei
5 fam eilwaith, a'i eni? Iesu a attebodd ac a ddywedodd,
Yn wir, yn wir, meddaf i ti, Oddi eithr geni dyn o ddwfr

---

**ADN. 4. Pa fodd y dichon dyn ei eni, ac efe yn hen?** Nid ffolineb Nicodemus a amlygir yn y gofyniad, fel y dysga Strauss, ond difrifoldeb ymofynydd pryderus yn ngwyneb ffeithiau nad oedd yn eu hamgyffred. Nid yw y ddau ofyniad o angenrheidrwydd yn cynwys fod Nicodemus ei hun yn oedranus, ac eto y maent yn awgrymu hyny. Ymofynydd pryderus sydd yma, ac nid yw yn debyg y dadleuai yn geerus â'r gwr oedd wedi darllen ei enaid. **A ddichon efe fyned i groth ei fam eilwaith a'i eni?** Tybia rhai, a Godet yn eu plith, mai gwawdiaeth sydd yma. Ond camesbonia hyn holl agwedd meddwl Nicodemus; dyn difrifol ydoedd, a'i ddifrifwch a bârodd iddo ddatgan ei anhawsder mewn geiriau mor eglur. Nid oedd yr ymadrodd "geni drachefn" yn ddyeithr iddo, er nad oes sierwydd chwaith ei fod mewn arferiad gan nad oes sierwydd fod bedydd proselytiaid wedi ei ddechreu; yr hyn oedd yn ddiamheuol newydd oedd ei gymhwysiad at Iuddew parchus a chyfrifol. Yr oedd y syniad o adenedigaeth, nid seremoniol ond gwirioneddol, yn ymddangos iddo yn anmhosibl. Sylw dwfn o eiddo Westcott yw hwn: "Dirgelwch mawr crefydd yw, nid cospedigaeth ond maddeuant pechodau; nid sefydlogrwydd naturiol cymeriad, ond adenedigaeth ysbrydol." A yw y gwirionedd hwn yn llai anamgyffredadwy i ddysgedigion anghrediniol yr oes hon? Onid un rheswm, a'r prif reswm, yr erlidid Whitfield gan ddysgedigion yr oes yn Mhrydain a'r America oedd ei fod yn dysgu yr angenrheidrwydd o adenedigaeth, nid defodol yn y Bedydd, ond profiadol a thufewnol yn yr ysbryd? Onid yw esbonwyr anghrediniol Germani yn camddeall yr athrawiaeth hon lawn cymaint â'r dysgawdwr Iuddewig hwn? Onid syniad sylfaenol llenyddiaeth yr oes, ie, a llawer o'i duwinyddiaeth hefyd, yw mai yr oll sydd yn angenrheidiol yw hunan-ddiwylliant, -gwella yr hen ddyn, coethi ei wyniau a'i chwantau? Y mae y drychfeddwl fod yn rhaid aileni dyn, adnewyddu gwreiddiau ei fôd, planu hedyn newydd o fywyd goruwchnaturiol yn yr enaid, yn ddyeithr ac anamgyffredadwy iddynt. Y mae y *mē* yn dangos mai nid tybied oedd Nicodemus fod ailenedigaeth naturiol yn bosibl, ond ei bod yn anmhosibl. Pa le ynte y mae y ffolineb y sonia Strauss am dano?

**ADN. 5. Oddieithr geni dyn o ddwfr a'r Ysbryd.** Methodd Nicodemus ddeall yr ymadrodd "geni drachefn." Dyna ydyw, meddai yr Iesu, "geni o ddwfr a'r Ysbryd"—nid "o ddwfr ac o'r Ysbryd" fel yn ein cyfieithiad ni. Gadewir yr "o" allan o flaen Ysbryd, er dwyn y dwfr a'r Ysbryd i undeb mor agos â'u gilydd ag sydd ddichonadwy. Ond y mae yr ymadrodd eglurhaol wedi peri mwy o gyndyn ddadleu na'r ymadrodd a eglurheir. Beth ynte yw y meddwl? 1. Dysga yr H. D. i'r ddaear gael ei geni o ddwfr a'r Ysbryd—daeth trefn allan o annhrefn trwy gydweithrediad dwfr naturiol ac Ysbryd goruwchnaturiol (Gen. i. 2). Addawa Duw yn Ez. xxxvi. 25, 26, daenellu ar Israeliaid y dyfodol ddwfr glân a rhoddi ysbryd newydd o'u mewn. Yn unol â hyn

ac *o*'r Ysbryd, ni ddichon efe fyned i mewn i deyrnas

---

bedyddid y proselytiaid â dwfr glân i arwyddo eu derbyniad i eglwys yr Israel. Yr oedd Ioan Fedyddiwr y pryd hwn wedi cynhyrfu tref a gwlad â'i "fedydd dwfr i edifeirwch"; ac er nad oedd yr Iesu yn bedyddio, eto yr oedd ar fin dechreu (adn. 22). Felly yr oedd bedydd dwfr yn sefydliad adnabyddus, ac y mae yn anhawdd meddwl nad oedd yr Iesu yn cyfeirio at Fedydd fel ei gweinyddid ar y pryd. I fyned i mewn i deyrnas Dduw, rhaid oedd hyd yn nod i Israel gael eu geni o ddwfr—ymostwng i fedydd Ioan, yr hyn nid oedd y penaethiaid wedi ei wneyd (Luc vii. 33). Ond bedydd i edifeirwch oedd bedydd Ioan: beth yw edifeirwch? Nacaol cyfnewidiad y meddwl. Edrychwn ni yn ormodol ar edifeirwch fel pwngc teimlad; ond yn ol y Beibl y mae yn fwy o bwngc barn y meddwl yn gadael ei bechod ac yn troi tuagat Dduw. Ond ai digon hyny? O ba le y daw nerth i fyw bywyd newydd ac uwch? Addefai Ioan na allasai efe gynyrchu na chynal y bywyd newydd. "Myfi yn ddiau ydwyf yn eich bedyddio chwi â dwfr i edifeirwch; eithr yr hwn sydd yn dyfod ar fy ol i, Efe a'ch bedyddia chwi â'r Ysbryd Glân ac â thân" (Matt. iii. 11). Gan hyny yn ngweinidogaeth Ioan yr oedd y dwfr a'r Ysbryd Glân, yr edifeirwch a'r bywyd newydd, ar wahân. Ond yr hyn oedd ar wahân yno a gysylltir yma, **priodir y nacaol â'r cadarnhaol.**

Gwyddai Nicodemus lawer am y dwfr, ond pa beth a wyddai am yr Ysbryd? Yr ydym ni o bosibl yn coleddu syniadau rhy isel am ystâd duwinyddiaeth yn mhlith Iuddewon y cyfnod hwn, fel y prawf yr ymchwiliadau diweddar i lenyddiaeth yr Aramaeg. Nid yw y termau a'r gwirioneddau efengylaidd mor newydd ag yr arferem ni dybied, eu cysylltiadau â'u gilydd ac â pherson Crist sydd yn newydd. Llefarai Ioan Fedyddiwr yn eglur am yr Ysbryd Glân, ac yma llefara yr Iesu am dano wrth benaeth yr Iuddewon heb deimlo fod eisieu eglurhad ar yr enw. Nid y dwfr a'r Ysbryd oedd yn ddyeithr i Nicodemus, ond "y geni o ddwfr a'r Ysbryd" ag oedd mor angenrheidiol i Pharisead bucheddol ac i Roegwr paganaidd. 2. Ond ai dyna yr oll a feddylid—bedydd Ioan â dwfr a'i fedydd ei hunan â'r Ysbryd? A yw hynyna yn dihysbyddu cynwys yr ymadrodd? Mýn llawer o esbonwyr ei fod. Yn wir, aiff Calfin mor bell a gwadu fod yma gyfeiriad at fedydd o gwbl, hyd yn nod bedydd Ioan. Yn arwyddluniol y rhaid deall adnod berthynasol, "Efe a'ch bedyddia chwi â'r Ysbryd Glân ac a thân"—nid tân naturiol, ond brwdfrydedd cyneuedig gan yr Ysbryd Glân. Os felly yn yr adnod yna, paham nad yn gyffelyb y dylid deall yr adnod hon,—dwfr yn ffugr i ddynodi dylanwadau sancteiddiol yr Ysbryd? Rhaid addef fod hwn yn esboniad rhagorol, canys yn yr adnod ddilynol gadewir allan y ffugr yn holloi. (2) Ond maentumia y Tadau Cristionogol bron yn unfrydol, ynghyd a duwinyddion Eglwys Groeg, Eglwys Rhufain, ac Eglwys Loegr, ac i raddau helaeth yr Eglwys Lutheraidd, fod yma gyfeiriad pendant at y Bedydd Cristionogol. Cydsynir a hwy gan fwyafrif mawr yr esbonwyr diweddar, megis Stier, Meyer, a Westcott, heb son am esbonwyr fel De Wette ac Olshausen na pherthynant i un eglwys. Nid digon gwrthddadleu nad oedd y Bedydd Cristionogol eto wedi ei sefydlu, ac o ganlyniad na allasai yr Arglwydd Iesu gyfeirio ato, na

6 Dduw. Yr hyn a aned o'r cnawd, sydd gnawd; a'r hyn a

---

Nicodemus ddeall yr hyn a leferid. Diau fod llawer o'i ymadroddion, megis ii. 19, yn rhy ddyfnion i'w wrandawyr ar y pryd blymio eu dyfnder, canys, tra yn llefaru wrth ei oes ei hun, llefarai hefyd wrth bob oes. Nis gallwn, gan hyny, osgoi yr argyhoeddiad, er nad oedd yr Iesu yn llefaru yn uniongyrchol am fedydd fel ordinhad weledig ac adnabyddus ar y pryd, eto ei fod yn egluro y gwirioneddau ag oedd yn sylfaen yr ordinhad. Nid cyfaddasiad sydd yma, ond cysylltiad. Beth ynte yw y gwirionedd a ddysgir yma o barth i Fedydd? Dywed Westcott, fel cynrychiolydd Eglwys Loegr, "Y mae y dwfr a'r Yspryd yn gyfartal (*co-ordinate*)"—cyfartal, ni goeliwn, mewn pwysigrwydd i'r ailenedigaeth, canys pa ystyr arall a all fod i'r ymadrodd? Etyb Dodds, fel cynrychiolydd yr Eglwys Bresbyteraidd, "Nid yw y dwfr a'r Ysbryd yn gyfartal (*co-ordinate*)." Ar yr un pryd, nid yw y gwahaniaeth rhwng yr Eglwysi Esgobyddol a'r Eglwysi Rhyddion gymaint ag yr ymddengys, am y defnyddiant y gair "adenedigaeth" mewn ystyron gwahanol. Pan y mae duwinyddion efengylaidd Eglwys Loegr yn dysgu y cysylltiad rhwng Bedydd ac Ail-enedigaeth, defnyddiant y gair diweddaf, nid yn yr ystyr Buritanaidd o blaniad bywyd newydd yn yr enaid, ond yn yr un ystyr â'r Tadau Cristionogol, sef derbyniad i mewn i deulu neu eglwys Dduw ar y ddaear, ac felly fod y bedyddiedig yn blentyn Duw. Onid yw Bedydd yn ddrws i'r eglwys gan bob cyfundeb, ac onid yw pob aelod o'r eglwys yn blentyn Duw? Ond pan y mae ysgrifenwyr Anghydffurfiol yn gwadu cysylltiad hanfodol rhwng Bedydd ac Ail-enedigaeth, defnyddiant y gair diweddaf, fel yr ymddengys i ni, yn ei ystyr Ysgrythyrol, gan olygu cyfnewidiad tufewnol, planiad anian newydd ddwyfol yn y galon. Y golygiad Anghydffurfiol, gan hyny, yw (*a*) fod geni o ddwfr yn y Bedydd yn aml heb eni o'r Ysbryd. Ar yr un pryd, y mae yr hwn a fedyddir yn aelod o'r eglwys weledig, teulu Duw ar y ddaear, a'n dyledswydd ni yw edrych arno fel plentyn Duw nes y profa ei hun yn annheilwng. (*b*) Fod geni o'r Ysbryd yn dygwydd weithiau o flaen ac weithiau ar ol y geni o ddwfr. Nid yw yr Ysbryd yn rhwym wrth y ddefod. Nid oes prawf fod yr Apostolion wedi derbyn y bedydd Cristionogol; ac yr oedd Simon Magus, er wedi ei fedyddio, yn parhau yn rhwymau anwiredd. (3). Y dylasai y "geni o ddwfr" a'r "geni o'r Ysbryd" gydfyned. Dyna *ideal* Bedydd; ond yn anffodus, fel mewn engreiphtiau eraill, nid yw y ffaith yn dyfod i fyny â'r drychfeddwl. Rhydd y blaid Ddefodol bwys gormodol ar y ddefod allanol; ond perygl Anghydffurfwyr ydyw rhedeg i'r eithafion cyferbyniol a gosod rhy fach o bwys arni (gwel y *Gyffes Ffydd: erthygl Bedydd*).

**ADN. 6. Yr hyn a aned o'r cnawd sydd gnawd.** Beth yw deffiniad "cnawd" yma? Yn ysgrifeniadau Paul yn fynych dynoda natur ddynol lygredig, ond yn efengyl Ioan natur ddynol wirioneddol. Ond y mae y cyferbyniad a wneir yma rhwng y cnawd a'r Ysbryd yn deffinio y cnawd yn fanylach eto, sef y natur ddynol ar wahân oddiwrth ras, natur ddynol anianol, natur ddynol o fewn cylch y naturiol, ond nid o angenrheidrwydd o fewn cylch y pechadurus. Rhoddodd Aristotle fynegiad i'r un egwyddor yn y frawddeg "fod pob natur yn cenhedlu ei sylwedd ei hun." Rhaid i'r hyn a enir fod, nid yn gyffelyb, ond yr unrhyw â'r hyn y genir ef o

aned *o*'r Yspryd, sydd yspryd. Na ryfedda ddywedyd o 7
honof fi wrthyt, Y mae yn rhaid eich geni chwi drachefn.
Y mae y gwynt yn chwythu lle y mynno ; a thi a glywi ei 8

---

hono. Defnyddir "yr hyn," ac nid yr hwn, meddai Bengel, i arwyddo dynoliaeth yn ei helfenau cyntaf, ei hanelwig ddefnydd, i osod allan ansawdd foesol, ac nid sylwedd, y person. Gellir coethi y cnawd, dysgyblu yr anianol, ond nid oes un gyfundrefn o addysg neu ddysgyblaeth a fedr dderchafu yr anianol i'r ysbrydol. O gnawd nis gellir ond cnawd. **A'r hyn a aned o'r Ysbryd sydd ysbryd.** Yr un egwyddor sydd yn llywodraethu yma, fel y mae cryn wirionedd, er nad yr holl wirionedd, yn y frawddeg, "Deddf naturiol yn y Byd ysbrydol." Felly y mae yma ddau *order*, dau fyd—byd yr anianol a byd yr ysbrydol ; ac i gymuno â'r ddau fyd, rhaid wrth ddau ddosbarth o synwyrau. Trwy yr enedigaeth gyntaf derbyn dyn y galluoedd angenrheidiol i gymdeithasu â theyrnas Natur, yn ei gwrthddrychau a'i gwirioneddau ; a thrwy yr ail-enedigaeth caiff y galluoedd gofynol i gymuno â theyrnas Dduw, yn ei sylweddau a'i gwirioneddau. I ddynion anianol, y rhai ydynt gnawd, nid yw byd ysbrydol yn bod, mwy na lliw i ddyn a anesid yn ddall. A chofier na ystyrir dim yn "ysbrydol" yn y Test. Newydd ond sydd wedi tarddu o Ysbryd Duw. Nid yw yr ysbryd sydd mewn dyn yn "ysbrydol," ond anianol, hyd nes ei genir o'r Ysbryd sydd yn Nuw. Cael ein geni o'r Ysbryd! Nid ein creu ganddo yn unig, er y buasai hyny yn oruwchnaturiol ; ond ein geni o hono, yr hyn a olyga nid yn unig fod y ffynhonell yn oruwchnaturiol, a'r dull neu y modd yn oruwchnaturiol, ond hefyd fod y *product*—y dyn ail-anedig—yn oruwchnaturiol ; a chydgynulliad o bobl oruwchnaturiol sydd yn cyfansoddi teyrnas neu eglwys Dduw—sefydliad goruwchnaturiol. Perthyn i'r gorphenol y mae y gwyrthiol, ond y mae y goruwchnaturiol yn y byd yn myned byth ar gynydd. Prinder o'r goruwchnaturiol a greai yr anghen am y gwyrthiol.

**ADN. 7. Y mae yn rhaid eich geni chwi drachefn.** Y "chwi" yn bwysleisiol—chwi yr Iuddewon yn gystal a'r cenhedloedd dienwaededig. Nid yw eich gwaedoliaeth batriarchaidd na'ch rhagorfreintiau cyfamodol yn eich rhyddhau oddiwrth yr angenrheidrwydd am enedigaeth ysbrydol i fwynhau teyrnas ysbrydol. "Rhaid"—yn ol natur pethau. Dau raid mawr y sydd : rhaid aileni, adn. 7 ; a rhaid Iawn, adn. 14 : y cyntaf yn codi oddiar lygredigaeth natur dyn, a'r llall oddiar gyfiawnder natur Duw.

**ADN. 8. Y mae y gwynt yn chwythu lle y myno.** Yr un gair sydd yn y Groeg a'r Hebraeg am anadl ac am awyr, tra y mae gair arall i ddynodi gwynt. Y mae dirgelwch yn athrawiaeth yr adenedigaeth, ond nid yw ei dirgelwch yn rheswm dros ei gwrthod. Y mae dirgelion yn nheyrnas Natur, ond yn nheyrnas Gras yn unig y mae dynion yn troi dirgelion yn wrthddadleuon. (1) Crêd Calfin mai at yr anadl ddynol y cyfeirir yma, ac mai amcan yr Iesu yw dangos y cyffelybrwydd rhwng dirgelwch y bywyd corphorol a dirgelwch y bywyd ysbrydol. Y mae dirgelwch mewn anadl yn y corph ; ac eto gwna, nid swn, ond sain (*phōnē*—y gair am y llais dynol) ; gwyddom ei bod oddiwrth ei hamlygiadau. Felly anadl bywyd y dyn newydd. Nis gellir ei

swn ef, ond ni wyddost o ba le y mae yn dyfod, nac i ba
le y mae yn myned: felly mae pob un a'r a aned o'r Yspryd.
9 Nicodemus a attebodd ac a ddywedodd wrtho, Pa fodd y
10 dichon y pethau hyn fod? Iesu a attebodd ac a ddywed-
odd wrtho, A wyt ti yn ddysgawdwr yn Israel, ac ni

---

gweled na'i theimlo, eto gwyddom fod y bywyd oddiwrth ei swn, ei lais, ei lef. (2) Dealla Westcott, Godet, ac eraill y geiriau fel yn cyfeirio at y gwynt naturiol. Dychymyga Stier yn brydferth, fel yr oedd yr Iesu a Nicodemus yn eistedd yn yr ystafell a'r nos yn cerdded yn mhell, eu bod yn clywed gwynt y gwanwyn yn cwynfan wrth y drws; ac i'r Iesu, yn ei gydymdeimlad dwfn ag anian, afael yn y gwynt i egluro y pwngc oedd ganddynt mewn llaw. **Ti a glywi ei swn ef, ond ni wyddost, &c.** Nid yw hyn yn golygu fod y gwynt yn ddiddeddf, ond fod ei ddeddfau yn anwybyddus. Deallir ei ddeddfau yn awr yn well na'r pryd hwnw, ond y mae y dirgelwch yn parhau bron yn gymaint ag erioed. A phe eglurid holl ddirgelwch y gwynt, ni fuasai y gydmariaeth i Nicodemus yn llai tarawiadol a barddonol. **Felly y mae pob un a'r a aned o'r Ysbryd.** Buasem ni yn disgwyl i'r gydmariaeth derfynu yn wahanol, fel hyn—"felly y mae yr Ysbryd yn gweithio," sef fel y mae y gwynt yn chwythu. Eithr nid cydmaru y gwynt â'r Ysbryd y mae, fel y cymerir yn gyffredin yn ganiatаol, ond cydmaru Nicodemus yn gwybod am weithrediadau y gwynt wrth ei effeithiau, er heb ddeall ei ddeddfau neu eu ffyrdd o weithredu, â "phob un ar a aned o'r Ysbryd." Pa fodd y gŵyr yr ailanedig fod yr Ysbryd yn gweithio ynddo? A yw yn deall dechreu a diwedd ei ddylanwadau? Na; y mae dirgelwch mawr yn nodweddu presenoldeb a gwaith yr Ysbryd yn y galon ac yn yr eglwys; ond gwyddom ei fod yn chwythu wrth ei swn, ei lais. Mae'r ffaith yn ddiamheuol, yr eglurhad sydd ddiffygiol. (3) Y mae Watkins, Reynolds, ac eraill yn dewis darlleniad minddalenol y Cyf. Diw.: "Y mae yr Ysbryd yn anadlu lle y myno, &c." Ni wedir nad yw y gair *pnĕûma* yn meddwl gwynt; ond nid dyna ei ystyr un amser yn y Test. Newydd. Defnyddir ef 370 o weithiau, a phob tro cyfieithir ef yn Ysbryd. Paham y gwneir eithriad dianghenraid yma? Defnyddir yn y Test. Newydd air arall (*ánĕmŏs*) am wynt 31 o weithiau a chan Ioan yn vi. 18; ac y mae y gair "mynu" neu "ewyllysio" yn fwy cydweddol ag Ysbryd nag a gwynt. Y mae y gair am swn hefyd (*phōnē*) yn golygu llais, *articulate voice*. Y mae yn gwneyd i ffwrdd am anghen am gydmariaeth i waith yr Ysbryd—"felly, yn y ffordd hon, y genir pob un a'r sydd o'r Ysbryd," sef trwy weithrediad rhydd ond dirgeledig yr Ysbryd. Yn unol a hyn, rhoddir *rationale* o'r enedigaeth ysbrydol. Er fod hir gynefindra wedi gwneyd y darlleniad arferol yn anwyl a chysegredig, ac yn apelio yn gryf at farddoniaeth ein natur, eto y mae ffyddlondeb i reolau beirniadaeth yn ein rhwymo i ddewis yr olaf.

**ADN. 9. Pa fodd y dichon y pethau hyn fod?** Y pwyslais ar y "dichon." Brawddeg gymysg o ofyniad a syndod. Ond ni raid deall y modd i allu credu.

**ADN. 10. A wyt ti y dysgawdwr yn Israel?** Dysgawdwr gyda y fanod i osod allan arbenigrwydd. "Sylwa Campbell fod y fanod yma

wyddost y pethau hyn? Yn wir, yn wir, meddaf i ti, Mai 11
yr hyn a wyddom yr ydym yn ei lefaru, a'r hyn a welsom

---

yn hynod, ac nas gadewir hi allan yn un o'r llawysgrifau. Rhaid casglu gan hyny fod iddi ystyr sydd yn anhebgorol i'r adnod; ac yn sier y mae Campbell yn iawn pan y dadleua y dylasai gael ei chydnabod yn y cyfieithiadau." (*Middleton on the Greek Article, p. 242.*) Beth ynte yw y meddwl? (1) Etyb Winer (*Grammar of New Testament, p. 127*): "Ystyrir Nicodemus fel dysgawdwr yn Israel mewn ffordd arbenig, yn yr hwn yr oedd pob dysgeidiaeth wedi ei chasglu, fel y dangosid y cyferbyniad â'r 'ni wyddost y pethau hyn' yn fwy amlwg." (2) Etyb eraill mai efe oedd y doethawr a eisteddai ar aswylaw llywydd y Sanhedrin, neu ynte yr arweinydd a eisteddai ar ei ddeheulaw. (3) Westcott a ddywed: "Y mae y fanod yn dynodi ei berthynas swyddogol â'r bobl yn gyffredin," ac felly nid unrhyw ragoriaeth ar ei gyd-swyddogion. Ond nis gellir symud ymaith yr argraph ei fod yn wr o enwogrwydd ac awdurdod. **Ac ni wyddost y pethau hyn?** Y "pethau hyn" yn bwysleisiol. Cydmarer yr ymddiddan hwn â Ps. li. 12; Ez. xviii. 31; xxxvi. 24—28; Jer. xxxi. 33, adranau ag oeddent oll yn gynefin i Nicodemus.

**ADN. 11. Yr hyn a wyddom yr ydym yn ei lefaru.** Try yr Iesu yn yr adnod hon i lefaru yn y rhif luosog, a dyma yr unig enghraipht o hyn. Hollol annigonol yw yr eglurhâd ei fod yn llefaru yn areithyddol, ac felly yn defnyddio y rhif luosog er mwyn mawrhydi. Paham mewn ymddiddan âg un gwr? Paham yn awr yn fwy nag ar achlysuron eraill? Pwy ynte a gynwysir yn y "Ni"? Luther a Tholuck a atebant Crist a'r prophwydi; Luthardt, Crist a'r Bedyddiwr; Hengstenberg, Godet, a Westcott, Crist a'i ddysgyblion, yn gymaint a bod y geiriau cryfion, "gwybod" a "gweled," yn cael eu cymhwyso gan Ioan at y dysgyblion yn gystal ag at yr Iesu yn 1 Ep. i. 1—3. Ond mŷn Stier mai y Drindod a feddylir—Tad, Mab, ac Ysbryd. Ac wedi cryn ystyriaeth dyma yr eglurhâd a farnwn ni y rhagoraf, am mai dyma y Tri a gynwysir yn gyffredin yn y "Ni" ar wefusau Crist. "Gan lefaru yn yr unigol, 'meddaf Fi,' y mae yr ymadrodd nesaf yn newid i'r lluosog, 'llefarwn Ni'; lle, gan newid yn ddisymwth o'r Fi i'r Ni, ac yna 'ein tystiolaeth Ni,' yr awgryma ei fod yn un o'r *Plural* y llefarai Moses am danynt yn y greadigaeth" (*E. Leigh*). Ymddengys i ni fod yr eglurhâd hwn yn hollol gydweddol ag arucheledd yr ymddiddan, yr hwn a esgyna yn awr o'r "pethau daearol" at y "pethau nefol." Y mae y Personau Nefol a'r Pethau Nefol ar lefel eu gilydd. Yn yr adnodau nesaf hawlia yr Iesu Faboliaeth Ddwyfol; ac y mae cyplysu ei hun â'r "Ni" dwyfol, nid mewn haeriad, ond mewn rhagenw, yn parotoi meddwl Nicodemus ar gyfer y datguddiadau rhyfedd o'r "pethau nefol" sydd yn dilyn. Nid yw yr Iesu yn arferol o osod ei hun yn yr un dosbarth â'r dysgyblion; ond dywed yn aml "Ni" am dano ei hun a'i Dad, gan osod ei hun yn yr un dosbarth â Duw. Golyga y gwreiddiol am "wybod" (*oída*) naill ai gwybodaeth hollol heb ddysgu, neu o leiaf wybodaeth ar wahân i'r *process* o ddysgu. Ac y mae "gweled" yn gyferbyniol i ddyfalu neu gasglu trwy ymresymiad. Felly hawlia i'w wybodaeth ddwy briodoledd —sicrwydd anffaeledig ac uniongyrchedd canfyddiad, priodoleddau na pherthynant i wybodaeth ddynol ond mewn ystyron israddol. **A'n tyst-**

yr ydym yn ei dystiolaethu; a'n tystiolaeth ni nid ydych
12 yn ei derbyn. Os dywedais i chwi bethau daearol, a
chwithau nid ydych yn credu; pa fodd, os dywedaf i chwi
13 bethaf nefol, y credwch? Ac ni esgynodd neb i'r nef, oddi

---

**iolaeth ni nid ydych chwi yn ei derbyn.** Gwybodaeth hollol, drwyadl, anffaeledig y Dwyfol Dri yn cael ei chynyg at wasanaeth euog ddyn! Rhaid i wybodaeth felly gymeryd y ffurf o dystiolaeth, ac nid o ymresymiad,—tystiolaeth sylfaenedig ar wybodaeth ddwyfol, *absolute*.

**ADN. 12. Os dywedais i chwi bethau daearol.** Dychwel yr Iesu yma yn ol i'r rhif unigol. Pethau daearol a phethau nefol: beth yw y gwahaniaeth? (1) Etyb rhai mai dull damhegol o lefaru a ddynodir gan y pethau daearol, ond mai dull di-ddameg a feddylir wrth y pethau nefol. Ond diau fod y gwahaniaeth, nid yn y dull, eithr yn y pethau. (2) "Pethau daearol"—beth ydynt? Gwirioneddau ag y mae cylch eu gweithrediad ar y ddaear, ac felly o fewn cylch profiad a sylwadaeth dynion. Un o'r pethau hyny yw ailenedigaeth; ond y mae y gwirionedd am ailenedigaeth yn gorphwys ar ddosbarth arall o wirioneddau, megis llwgr hollol y natur ddynol, anallu dyn i achub ei hun, &c. Y mae y gwirioneddau yna yn fater profiad a sylwadaeth; ac os na chredir y gwirioneddau am ein colledigaeth, y mae y gwirioneddau am ein hiachawdwriaeth yn troi yn ffiloreg. Os na chredwn y gwirioneddau sydd o fewn cylch ein profiad ein hunain, pa fodd y credwn y gwirioneddau sydd y tu allan i'r cylch hwnw? "Y mae adenedigaeth," ebe Bengel, *"o'r* nefoedd, ond nid *yn* y nefoedd; er hynny y mae yn ymyl y nefoedd." **Pa fodd, os dywedaf i chwi bethau nefol, y credwch?** "Pethau nefol," sef gwirioneddau y nefoedd mewn cyferbyniad i wirioneddau y ddaear, y gwirioneddau gwrthrychol *(objective)* mewn cyferbyniad i'r gwirioneddau tufewnol *(subjective)*. Pa rai ydynt? Y rhai sydd yn tarddu y tu allan i gylch meddwl dyn, ond y tu fewn i gylch meddwl Duw,—y cariad dwyfol, yr arfaeth ddwyfol, anfoniad y Mab i fod yn Iawn, &c., sef y gwirioneddau y traetha Crist am danynt yn ngweddill yr ymddyddan hwn. Os na allasai Nicodemus gredu yn angenrheidrwydd yr ailenedigaeth, pa fodd y gallai gredu yn yr angenrheidrwydd am Iawn, adn. 14? Ond er mai y gwirioneddau daearol a enwir gyntaf yma, y gwirioneddau nefol sydd flaenaf yn nhrefn Duw. Duw yn gwneyd dros ddyn (adn. 14—17) yw yr achos ei fod yn gweithio mewn dyn (adn. 1—10). Ond rhaid i ni ddechreu gyda y daearol, ac esgyn at y nefol.

**ADN. 13. Ac ni esgynodd neb i'r nef.** Pa fodd y dylid edrych ar yr adnod hon? A yw y "nef" yn golygu dim ond ystad, ynte a yw yn golygu "lle" yn gystal? Ai mewn ystyr leol, ynte moesol, y dylid deall y geiriau? (1) Etyb Olshausen mai mewn ystyr foesol yn unig, sef nad oedd neb mewn cymundeb moesol hollol â Duw ond Iesu Grist, ac am hyny ei fod yn y nef o ran ystad ei feddwl pan yma ar y ddaear. (2) Dadleua Godet mai cymundeb moesol yn unig sydd yn y frawddeg gyntaf a'r olaf o'r adnod, ond fod yr ystyr leol—y nef fel lle—yn dyfod i mewn yn y frawddeg ganol. (3) Ond tra yn credu yr oll a ddywedir am y cymundeb moesol, trylwyr, rhwng yr Iesu a Duw, rhaid i ni ddâl nad

eithr yr hwn a ddisgynodd o'r nef, *sef* Mab y dyn, yr hwn
sydd yn y nef.
Ac megis y dyrchafodd Moses y sarph yn y diffaethwch, 14

---

yw yr esboniad yna o lawer yn dihysbyddu y meddwl. Yn adn. 11, dywed yr Iesu ei fod yn llefaru yr hyn a wyddai. Yn adn. 12, cyfeiria at wirioneddau nefol, y rhai ydynt uwchlaw darganfyddiad rheswm dyn. Os na ellir eu cael trwy ddarganfyddiad, rhaid eu derbyn trwy ddatguddiad. Ond pa fodd y mae i ni eu cael trwy ddatguddiad? Mewn un o ddwy ffordd: rhaid i un o breswylwyr y ddaear esgyn i'r nefoedd, neu i un o breswylwyr y nefoedd ddisgyn i'r ddaear. Wel, meddai yr Arglwydd Iesu, nid oes neb wedi esgyn i'r nef i dderbyn datguddiad. Gwadiad sydd yma fod neb yn abl i ddatguddio y "pethau nefol," y bwriadau a'r teimladau dwyfol, oherwydd nad oedd neb wedi esgyn i'r nef i dderbyn y gyfrinach. **Ond yr hwn a ddisgynodd o'r nef.** Felly yr oedd Hwn yn y gyfrinach erioed, ac o ganlyniad yn gymhwys i ddatguddio trefn Duw am fywyd y byd. Disgynodd o'r nefoedd i'r ddaear yn ei Ymgnawdoliad i hysbysu i ni y gwirioneddau a welodd ac a glywodd yno. Nid ffrwyth dychymyg neu gasgliad oddiwrth ymresymiad yw ei ddysgeidiaeth, ond tystiolaeth ddiamwys yn tarddu o wybodaeth sicr ac anffaeledig. Ond onid yw yr adnod yn golygu iddo esgyn cyn disgyn? Dyna yr hen esboniad Sosinaidd, sef i'r Iesu fel dyn perffaith gael ei gipio megis Paul i Baradwys, ac iddo dderbyn yno y gyfrinach ddwyfol, ac yna disgyn i bregethu ar y ddaear yr hyn a glywodd yn y nefoedd. Ond erbyn heddyw nid oes un Undodwr yn coledd y syniad yna. Mỳn Bengel ac eraill mai y gorphenol, "esgynodd," sydd yma am y dyfodol, sef ei esgyniad o Fynydd yr Olewydd. Ond nid yw y geiriau yn galw am i ni dybied dim am esgyniad yr Iesu, canys y mae y dull arferol yn yr hwn y defnyddir yr *ei mē* yn profi nad yw yr Iesu yn cymhwyso ato ei hun yr oll o'r frawddeg flaenorol (Matt. xii. 4; Luc iv. 26, 27; Gal. i. 7). **Ond Mab y Dyn.** Canys fel Mab y Dyn yr oedd wedi disgyn o'r nef, ac yn y cymeriad o Fab y Dyn yr oedd yn gyfrwng datguddiad. **Yr hwn sydd yn y nef.** Y mae Westcott a Hort yn gwrthod y frawddeg hon; ond y mae Tischendorf, Tregelles, Meyer, Godet, a'r Cyf. Diw. yn ei ffafrio. Mewn cysylltiad â'r ddwy frawddeg flaenorol, awgryma yn ddigamsyniol ddwyfoldeb person yr Athraw. Fel pe dywedasai yr Iesu: "Yr wyt ti, Nicodemus, yn credu mai dysgawdwr ydwyf fi wedi dyfod oddiwrth Dduw: yr wyf yn fwy na hyny, Mab Duw ydwyf wedi disgyn o'r nefoedd i fod yn ddatguddiwr ei feddyliau; ac er hyny yr wyf yn parhau yn y nefoedd." Wedi gwneuthur y datguddiad rhyfedd o'r gwirionedd nefol hwn, ag sydd yn parlysu rheswm, gallwn yn hawdd gredu iddo aros am enyd—gadael i Nicodemus ryfeddu a chymeryd gafael yn y gwirionedd, cyn myned yn mlaen i ddatguddio y gwirioneddau nefol eraill sydd yn dilyn.

**ADN. 14. Ac megis y derchafodd Moses y sarph yn y diffaethwch.** Dyma yr ail wirionedd nefol. Ond gwrthddadleuir nad yw y croeshoeliad yn wirionedd nefol, am mai ar y ddaear y cymerodd le. Nid fel ffaith hanesyddol, fodd bynag, y mae yn wirionedd nefol,—yn yr ystyr yna nid yw yn fwy nefol na chroeshoeliad y ddau leidr; ond

15 felly y mae yn rhaid dyrchafu Mab y dyn; Fel na choller
pwy bynnag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd
tragywyddol.

---

cysylltiad y ffaith hanesyddol â'r arfaeth dragwyddol, corphoriad y bwriadau dwyfol yn Iawn yr Iesu, sydd yn ei dderchafu yn wirionedd nefol, un o ddirgeledigaethau penaf y nef. Yn llenyddiaeth genedlig y byd edrychid ar y sarph, am ryw reswm, fel arwyddlun bywyd; ond yn mhlith yr Iuddewon fel arwyddlun drygioni a marwolaeth. Gwel yr esbonwyr gyffelybrwydd rhwng y Sarph Bres (Num. xxi. 8) a'r Arglwydd Iesu, megis mai llun sarph ydoedd, ac nid gwir sarph, ac o ganlyniad yn rhydd oddiwrth wenwyn; ac felly Crist "yn nghyffelybiaeth cnawd pechadurus," ond heb wenwyn pechod ynddo, &c. Ond y mae yn amlwg na all fod yma gydmariaeth rhwng y sarph, corphoriad drwg ac angeu, â'r Arglwydd Iesu, ond rhwng "derchafiad" y sarph ar y drostan â'i "dderchafiad" Ef ar y groes. Y pwngc y sefydlir y meddwl arno yw y "derchafu,"—gall y manylion fod yn debyg neu annhebyg fel y dygwydd. **Felly y mae yn rhaid derchafu Mab y Dyn.** Beth yw ystyr y "derchafu"? Heblaw yma, defnyddir ef yn yr efengyl hon yn viii. 28; a xii. 32, 34,—ac yn y tri lle y mae y cyfeiriad yn ddiamwys at y croeshoeliad. Ond yn Act. xi. 33; Phil. ii. 9; a Iago iv. 10 defnyddir ef am dderchafu i anrhydedd, i'r orsedd. Gwell i ni ei gymeryd yn ystyr Ioan, sef ei dderchafu i'r groes; ac yn wir y mae ystyr y gair yn ei berthynas â'r sarph yn penderfynu ei ystyr yn ei berthynas â Mab y Dyn—rhaid fod i'r gair yr un ystyr yn y ddwy frawddeg. Dywedir yn mhellach mai ystyr arferol y gair Aramaeg yw derchafu trwy groeshoelio neu grogi. Diau mai yn yr ystyr hwn y dymunai yr Iesu i Nicodemus ddeall—nid derchafu i Orsedd, fel y tybiai yr Iuddewon, ond derchafu i'r Groes. Mor wahanol i'r golygiad yr arferai Nicodemus ei feithrin am y Messiah! Ond paham "rhaid"? (1) Rhaid yn ol y prophwydoliaethau. (2) Rhaid yn ol yr arfaeth neu y cynllun dwyfol. (3) Ond yr oedd y "rheidiau" hyn yn gorphwys ar ryw "raid" mawr arall—rhaid cyfiawnder natur Duw ei hun. Os golygir mai rhaid arfaeth neu drefn yn unig ydoedd,—y Tad yn gosod rhwymau ar y Mab i farw, yn unig am ei fod wedi arfaethu hyny, yna ni fuasai marwolaeth y Mab yn brawf o gariad, eithr o absenoldeb cariad, yn Nuw,—arfaethu iddo farw er achub pan y gellid achub heb iddo farw. Na; os arfaethodd Duw i'w Fab farw, yr oedd yr arfaeth yn codi o ryw dragwyddol "raid" yn yr Hanfod, na fedrai yr un o'r Personau ddiangc o'i afaelion. Tu cefn i "raid" yr arfaeth fel cynllun y mae rhaid cyfiawnder anhydor, nas gellir ei wyro na'i lacio. **Fel ynddo Ef y caffai pwy bynag a gredo fywyd tragwyddol.** Rhyw gopiwr, y mae'n debyg, a ddygodd i mewn yma y geiriau, "fel na choller" o'r adnod ddilynol. Nid credu ynddo Ef a ddywedir yma, ond caffael bywyd ynddo Ef trwy gredu; ac y mae y "credu" heb ei wrthrych. "Caffael" yn yr amser presenol, i ddangos mai nid rhodd berthynol i ddyfodol y saint yw bywyd tragwyddol, ond meddiant presenol, er fod ei lawn ddadblygiad yn perthyn i'r sefyllfa ddyfodol. Y foment y crêd pechadur y mae bywyd tragwyddol yn eiddo iddo, yn wrthrychol ac yn dufewnol. Golyga hyn ddau beth: (1) hawl yn

Canys felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd efe ei 16
unig-anedig Fab, fel na choller pwy bynnag a gredo ynddo

---

ngwyneb cyfraith i fyw byth; (2) elfen newydd o fywyd goruwchnaturiol yn trigo yn yr enaid, wedi ei dwyn i mewn yn yr ailenedigaeth.

**ADN. 16.** Tybia Neander, Tholuck, Westcott a Dodds fod yr ymddiddan â Nicodemus yn dybenu yn adn. 15. Ond y mae corph yr esbonwyr yn credu y parha hyd adn. 21. Anhawdd meddwl y buasai Ioan yn cysylltu ei fyfyrdodau ei hun â geiriau yr Iesu yn y fath fodd ag i wneyd un cyfanwaith o honynt. (Gwel *Lawlyfr yr Efengylau.*) **Canys felly y carodd Duw y byd.** Arferir dyweyd gyda phriodoldeb mai dyma yr adnod fwyaf yn yr holl Feibl; ac anhawdd genym roddi yr anrhydedd o lefaru yr adnod fwyaf i neb ond i'r Iesu ei hun. Y rheswm dros dderchafiad Mab y Dyn i'r groes yw "cariad" anfeidrol Duw at ddynion. Dyma ffynhonell trefn yr achub, a thu cefn i hon nid oes yr un arall. Paham y carodd? Nid oes paham am dano. Cariad diachos ydyw fel yr Hanfod ei hun, ac felly galwai yr hen dduwinyddion ef yn gariad hunan-gynhyrfiol. Nid oes mwy o achos i fodolaeth y Cariad nag y sydd i fodolaeth yr Hanfod. Rhana y duwinyddion y cariad dwyfol yn ddau: y cyntaf, cariad o dosturi neu ewyllys da (*agápē*), cariad at ddynion yn eu hannuwioldeb; yr ail (*philía*), cariad o hyfrydwch, teimlad o anwyldeb at y rhai sydd eisoes wedi credu a'u haileni. Y cyntaf a ddynodir yn yr adnod hon. "Y byd": barnai Nicodemus, fel ei genedl yn gyffredin, na charai y Jehofa neb ond yr Iuddewon, a bod dyfodiad y Messiah yn golygu dinystr i'r Cenhedloedd. Y mae yr Iesu yma yn cywiro y syniad yna: "felly y carodd Duw y byd"—dynion yn mhob gwlad, yn mhob oes, ac yn mhob cyflwr. **Fel y rhoddodd Efe ei unig-genedlig Fab.** Yn adn. 13, geilw yr Iesu ei hun yn Fab y Dyn i ddangos ei unrhywiaeth â dynoliaeth fel achlysur ei dderchafiad i'r groes; yma geilw ei hun yn Unig-genedlig Fab Duw, canys fel y cyfryw yn unig y gallasai fod yn ddatguddiad o gariad Duw tuag at ei elynion. Dyma yr unig enghraipht o hono yn galw ei hun wrth yr enw goruchel hwn, a diau mai o'i enau Ef y derbyniodd Ioan yr enw. Mewn un ystyr y mae yn gyntafanedig yn mhlith brodyr lawer; mewn ystyr arall uwch yr unig-genedlig Fab ydyw. Ond cofier o hyd mai nid ei Dduwdod sydd genedledig, ond ei Berson. Rhoddi yr unig-genedlig Fab—beth sydd yn gynwysedig yn y "rhoddi"? Nid rhoddi yn yr angeu fel y dysga Olshausen—ffurf arall ar y gair a ddefnyddir i osod hyny allan, ond rhoddi yn yr Ymgnawdoliad; nid y rhoddi ar Galfaria, ond y rhoddi yn Methlehem. Enwir y rhoddi ar Galfaria yn adn. 14. Efe a'i rhoddodd yn rhydd, o'i fodd, heb un gorfodaeth o unman. Gwelir anfeidrol faint y cariad wrth anfeidrol faint y rhodd. Yn wir, y mae maint y rhodd yn dychrynu rheswm. Oherwydd paham dywed Photinus mai Mab mabwysiedig oedd y rhodd, ac Arius mai Mab crëedig, a Maricon mai Mab mewn unrhyw ystyr ond Mab yr Hanfod! **Fel na choller pwy bynag a gredo arno Ef.** Credu yn ei Enw Ef, a chredu arno Ef, yw ymadroddion Ioan, nid credu ynddo Ef. Beth y mae credu arno Ef yn ei olygu? Taflu holl bwys ein heneidiau arno yn yr oll ag ydyw ac a wnaeth. Meddai Simeon o Gaergrawnt cyn marw: "Ar egwyddorion mawrion llydan yr Efengyl yr wyf yn gorphwys; nid ar addewid neillduol yma

17 ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol. Oblegid ni
ddanfonodd Duw ei Fab i'r byd i ddamnio y byd, ond fel

---

neu draw, adranau bychain o'r Gair, o'r rhai y derbynia rhyw bobl gysur; ond dymunaf fi edrych ar yr oll—*the grand whole*, ar drefn fawr y cadw yn ei ehangder diderfyn." Gall saint bychain orphwys ar adnod neu emyn; ond saint cryfion, deallus, a orphwysant ar y drefn yn ei chyfanrwydd gogoneddus. **Fel na choller**—colli unwaith am byth fel y dynoda amser y ferf. Beth sydd yn gynwysedig mewn colledigaeth, pwy all ddyweyd? Beth bynag sydd, y mae bywyd tragwyddol yn ei orbwyso,—nid yn unig yn ei lanw, fel y câna Anne Griffiths, ond yn gorlanw gwagle colledigaeth dyn. **Ond caffael o hono fywyd tragwyddol.** Beth a gynwys? Tri pheth. (1) Hawl i fywyd yn ngwyneb cyfraith. (2) Ansawdd arbenig i'r bywyd. Nid oes dim yn dragwyddol ond sydd ddwyfol; priodoledd y dwyfol yw y tragwyddol, ac nid priodoledd dim arall. Nid bywyd creadigol, ond bywyd dwyfol yn preswylio yn enaid dyn. (3) Parhad diddiwedd. Y mae dwyfoldeb natur neu ansawdd o angenrheidrwydd yn golygu tragwyddol barhâd.

**ADN. 17. Oblegid ni ddanfonodd Duw ei Fab i'r byd i farnu y byd.** Nid damnio fel yn ein cyfieithiad ni,—nid yw Ioan yn defnyddio y gair damnio o gwbl. Nid oedd eisieu anfon neb i'r byd i'w ddamnio, gair o enau Duw a fuasai ddigonol i hyny. Ac ni anfonodd Ef chwaith i "farnu" y byd. Defnyddir dau air yn y cysylltiad hwn; *krínō* (yr un â'r Lladin *c(k)erno*, a'r Saesonaeg dis-*cern*), yn golygu barnu neu feirniadu, a *katakrínō* yn golygu condemnio, collfarnu; ond yn aml rhed y cyntaf i derfynau yr olaf. Nid yn unig ni anfonwyd y Mab i gollfarnu, ond ni anfonwyd Ef i farnu. Ond pa fodd y cysonir hyn â v. 27? Cyfeirio y mae yr adnod olaf at ei ail-ddyfodiad, a'i amcan y pryd hwnw fydd barnu; ond cyfeirio y mae yr adnod hon at ei ddyfodiad cyntaf. Drachefn, pa fodd y cydsaif yr adnod hon â Ioan ix. 39,—"i farn y daethum i'r byd hwn"? Canlyniad ei ddanfoniad sydd yno, ac nid ei brif amcan. Ni allasai achub y da heb ar yr un pryd farnu y drwg. Amcan yr amaethydd wrth nithio ydyw achub y gwenith; ond ni all nithio y gwenith heb hefyd ddangos yr ûs. Ond canlyniad yw yr olaf, nid amcan. Gan hyny, y mae mwy o bwynt nag o wirionedd yn sylw Lange fod "y Barnwr dan yr H.D. yn dyfod yn Waredwr trwy farnu, ond dan y Test. Newydd fod y Gwaredwr yn dyfod yn Farnwr trwy achub." Tybia hyn fod Duw wedi newid ei drefn o achub,—achub trwy farnu gynt, barnu trwy achub yn awr. Ond yr un drefn, ni goeliwn, sydd gan Dduw dan y ddwy oruchwyliaeth, a phrif amcan hono yw achub. Pe buasai yr egwyddor hono y cyfeiria Matthew Arnold ati yn cynwys yr holl wir, y canfyddwn yn yr H.D. "Allu, nid ein hunain, yn gwneuthur am gyfiawnder," buasai sylw Lange yn sefyll; ond pan y gwelwn yn yr H.D. egwyddor arall ddyfnach, sef "Gallu, nid ein hunain, yn gwneuthur am drugaredd," y mae y sylw yn colli ei rym. Amcan cyson Duw dan bob goruchwyliaeth yw, nid barnu, ond achub; a chan nad oedd gyfnewidiad yn yr amcan, nid oes chwaith gyfnewidiad yn y drefn, ond yn unig y gweithir hi allan i amlygrwydd mwy yn y Test. Newydd.

yr achubid y byd trwyddo ef.
Yr hwn sydd yn credu ynddo ef, ni ddemnir: eithr yr 18
hwn nid yw yn credu, a ddamniwyd eisoes; o herwydd na

---

**Ond fel yr achubid y byd trwyddo Ef.** Buasem ni yn disgwyl i'r adnod ddarllen fel hyn: Ni ddanfonodd Duw ei Fab i'r byd i farnu y byd, ond i achub y byd"—y ffurf weithredol (*active voice*) yn y ddwy frawddeg. Eithr nid felly ddim; ond troir y ferf o'r gweithredol i'r goddefol. Paham? I ddangos mai nid gwaith peiriannyddol yw achub dynion; rhaid iddynt hwy eu hunain, trwy gydsyniad eu ffydd, wneyd eu hiachawdwriaeth yn bosibl. Felly, tra y mae y clod am achubiaeth y rhai a gredant yn ddyledus, nid iddynt eu hunain, ond i Dduw, y mae cyfrifoldeb colledigaeth y rhai a ddemnir yn gorwedd yn gyfangwbl ar eu hysgwyddau hwy eu hunain. Y mae y ddau wirionedd yn Feiblaidd ac yn cydsefyll. Ac nid gan y Mab y mae y byd yn cael ei achub—nid ganddo, ond trwyddo. Y mae yn cael ei achub gan y Tad, a phriodol felly galw Duw yn Dduw yr Achubydd. Ond achubir ef trwy yr Iesu, yr hyn a olyga fod cysylltiad hanfodol rhwng ei berson a'i waith ag achubiaeth, mor hanfodol fel hebddynt y buasai achubiaeth yn anmhosibl. Ac yn yr adnod hon am y tro cyntaf y cyfarfyddwn â'r gair "danfon"—un o eiriau mawr yr efengyl. Nid *pĕmpō*, ond *apŏstĕllō*—yr un a'r gair apostol. Meddylia y cyntaf anfon yn syml, ond y diweddaf anfon gydag awdurdod i gyflawni gwaith arbenig. Defnyddir ef 28 o weithiau yn efengyl Ioan, a 3 gwaith yn ei epistol cyntaf. Dysga yr ymadrodd i'r Arglwydd Iesu ddyfod i'r byd, nid fel person unigol, ond fel swyddog y llywodraeth ddwyfol. Pa swydd neu swyddau a lanwodd a amlygir yn mhellach yn mlaen; ond nid siarad mewn ffigyrau diystyr yr ydym pan yn sôn am swyddau Cyfryngol y Gwaredwr. Er iddo ymgnawdoli a marw, os heb ei ddanfon, ni fuasai yr oll yn effeithiol i'n hiachawdwriaeth. Yr oedd y danfon mor angenrheidiol, er nad mor bwysig, â'r geni a'r marw.

**ADN. 18. Yr hwn sydd yn credu arno Ef ni fernir.** Y mae y credadyn yn peidio â'i weithredoedd ei hun, drwg a da, ac yn ymdaflu yn hollol ar y Gwaredwr. Ni fernir: trwy gredu diangc o afaelion barn. "Ni ddaw i farn" (v. 40), ni elwir arno byth i sefyll ei dreial am ei fywyd. Y mae y credu yn penderfynu am byth gyfiawnder neu anghyfiawnder ei gyflwr; nid eistedd Duw byth mwyach ar ei achos i chwilio a yw yn euog neu ddieuog. Bydd Duw eto yn sylwi ar sancteiddrwydd neu ansancteiddrwydd ei fuchedd, ond byth yn rhagor ar gyfiawnder neu anghyfiawnder ei gyflwr, a chyflwr yw gwrthrych priodol barn. **Eithr yr hwn nid yw yn credu a farnwyd eisoes.** Yma y mae barnu yn llithro i gollfarnu. Y mae ei euogrwydd yn brofedig—y mae y dyn mewn cyflwr anghyfiawn; ac wrth omedd credu y mae yn gwrthod yr unig drefn i'w wared o euogrwydd ei gyflwr, ie, y mae yn dyfnhau ei euogrwydd. Y mae yn gondemniedig eisoes, nid gan yr Efengyl, amcan yr hon yw achub, ond gan ddeddf anhydor cyfiawnder. Felly wedi gosod allan athrawiaeth yr adenedigaeth, *stage* gyntaf y sancteiddhâd, yn nechreu yr ymddiddan hwn, yn y diwedd gesyd yr Iesu allan athrawiaeth y cyfiawnhâd. Nid athrawiaeth o ddyfeisiad Paul yw hon, ond athraw-

19 chredodd yn enw unig-anedig Fab Duw. A hon yw y
ddamnedigaeth, ddyfod goleuni i'r byd, a charu o ddynion
y tywyllwch yn fwy na'r goleuni; canys yr oedd eu gweith-

---

iaeth o ddatguddiad Crist; ac y mae yr esbonwyr hyny yn cyfeiliorni, y rhai a ddaliant nad oes un gwirionedd newydd yn cael ei ddysgu yn y paragraph hwn (18—21). Dyma y pedwerydd gwirionedd nefol neu wrthrychol—cyfiawnhâd trwy ffydd. **Oherwydd na chredodd yn enw unig-anedig Fab Duw.** Y mae pechodau ei oes yn galw am ei gondemniad, ond y mae ffordd o ddihangfa trwy ffydd yn Mab Duw; eithr pan yr anghredir yn yr unig-anedig Fab, cyrhaedda pechod ei uchafbwynt,—profa fod y pechadur yn caru ei bechod yn fwy na'i iachawdwriaeth. **"A gondemniwyd eisoes."**

**ADN. 19. A hon yw y farn.** Nid y ddedfryd ond y farn, nid y canlyniad ond y *process*. Dyma safon ei gweinyddiad. **Ddyfod goleuni i'r byd.** Sef yn ymgnawdoliad a gwaith yr Arglwydd Iesu. Rhaid i wrandawyr yr Efengyl sefyll neu syrthio wrth y safon hon. Y mae safon arall is—goleuni llai—i farnu paganiaid wrthi (Rhuf. ii. 12); ond y safon wrth ba un y bernir pawb sydd wedi clywed yr Efengyl yw, nid goleuni natur y tu faes neu gydwybod y tu fewn, ond goleuni Datguddiad; ac nid goleuni datguddiad yr H. D., ond goleuni datguddiad y Test. Newydd. Beth yw agwedd dynion at y goleuni dwyfol hwn? **Caru o ddynion y tywyllwch yn hytrach na'r goleuni.** Goleuni a ddaeth i'r byd; tywyllwch oedd yn y byd; ond "carodd" dynion—yr amser *aorist*—gwnaethant ddewisiad penderfynol a therfynol o'r tywyllwch. Nid oeddynt yn cloffi rhwng dau feddwl, yn tafoli y tywyllwch a'r goleuni. Dyna, y mae'n debyg, yw y meddwl. Tybia Bengel a Lücke mai yr ystyr yw—eu bod yn meddu ar gariad gwan at y goleuni, ond fod eu cariad at y tywyllwch yn gryfach; ac felly mai gwahaniaeth graddau sydd yma, ac nid gwahaniaeth natur. Ond a yw hynyna yn wir? A yw y pechadur yn ei ystâd ddiadgenedledig yn caru y goleuni o gwbl, goleuni moesol, sef cyfiawnder a sancteiddrwydd? Rhaid addef ei fod yn gweled y goleuni, ond nid gweled ydyw caru. Feallai ei fod yn ei edmygu, ond nid edmygu ydyw caru. Gweithred ddeallol ydyw gweled ac edmygu; gweithred foesol ydyw caru. Gweled y da, caru y drwg: dyna y desgrifiad cywir o ddynoliaeth ddiailanedig. Cynrychiola Cicero deimlad llenyddol yr oes hon yn gystal ag eiddo yr hen fyd, pan y dywed fod Daioni mor brydferth fel, pe disgynai i'r ddaear, y syrthiai dynion ger ei fron a'i addoli. Yn Methlehem disgynodd Daioni i'r ddaear. Beth wnaeth y byd,—ei garu a'i addoli? Nage, ond ei hoelio ar bren! Nid gwahaniaeth graddau, mwy neu lai o'r un peth, sydd rhwng credinwyr ac anghredinwyr, ond gwahaniaeth natur. **Canys yr oedd eu gweithredoedd hwy yn ddrwg.** Nid gwendid neu hwyrfrydigrwydd deallol yw gwreiddyn anghrediniaeth, ond anfoesoldeb calon a buchedd. Y mae yr Arglwydd Iesu yma yn rhagflaenu Pascal yn ei ddysgeidiaeth ddofn a hyawdl ar ddylanwad anfoesoldeb ar y deall. Paham yr anghreda dynion yn y Bôd o Dduw? Ai am fod y profion yn wan? Nage, ond "am nad yw gymeradwy ganddynt gadw Duw yn eu gwybodaeth" (Rhuf. i. 28). Y mae y bardd Tennyson wedi gweled

redoedd hwy yn ddrwg. O herwydd pob un a'r sydd yn 20
gwneuthur drwg, sydd yn casâu y goleuni, ac nid yw yn
dyfod i'r goleuni, fel nad argyhoedder ei weithredoedd ef.
Ond yr hwn sydd yn gwneuthur gwirionedd, sydd yn dyfod 21

---

yn dda i glodfori "amheuaeth onest," ac yn anffodus y mae iddo ganlynwyr lawer; ond ai culni meddwl sydd yn ein harwain i gredu fod yr Iesu yn deall athroniaeth amheuaeth yn mhob gwedd arni yn well na'r bardd llawryfol? Ac y mae Efe yn priodoli anghrediniaeth, nid i dryloewder y natur ddeallol, ond i ŵyrni y natur foesol. Ond y mae anhawsderau ar ffordd credu? Oes; eithr y mae anhawsderau mwy ar ffordd anghredu; ac eto anghredu a fŷn dynion, er gwaethaf yr anhawsderau mwy, oblegid fod eu gweithredoedd hwy yn ddrwg.

**ADN. 20. Oherwydd pob un a'r sydd yn gwneuthur drwg.** Y mae y gair am ddrwg (*pŏnēra*) yn yr adnod flaenorol yn dynodi drwg pendant, gweithredol. Y mae y gair sydd yma am ddrwg (*phaûla*), yn golygu yr hyn sydd ysgafn, yn ddigon ysgafn i gael ei chwythu ymaith gan y gwynt. Beth ynte ydyw ystyr "gwneuthur drwg" yma? Llwyr ymroddiad i arwain bywyd gwageddus, arwynebol, heb ddim difrifoldeb ynddo nac amcan iddo, bywyd llawn o ysgafnder. **Sydd yn cashau y goleuni.** Nid dynion yn ymdreiglo mewn anfoesoldeb ydynt,—enwir hwy yn yr adnod flaenorol; ond dynion ffashiynol, moesol o ran yr ymarweddiad allanol, yn byw yn ol dull y byd hwn. Er hyny, cashânt y goleuni. Onid yw y dosbarth hwn yn fwy diobaith na'r llall? Onid i hwn y perthyn corph mawr y Phariseaid? Caru y tywyllwch sydd yn yr adnod flaenorol; cashâu y goleuni sydd yn yr adnod hon. **Ac nid yw yn dyfod i'r goleuni, fel nad argyhoedder ei weithredoedd ef.** Defnyddir y gair am "argyhoeddi" hefyd yn viii. 9 a 46; a xvi. 8. Yn Matt. xvi. 8, cyfieithir ef yn y Saesoneg yn "dangos iddo ei fai." Yn ei wreiddyn awgryma y syniad o gywilydd. Profi gweithred fel profi metel, ei dadlenu, dangos ei drygioni tufewnol nes cywilyddio o'r gwr a'i cyflawnodd. Ond yn hytrach nag ymostwng i gael ei ddangos yn ei ddrwg, ymegnia yn mhob modd i guddio ei wir gymeriad. Er pob ymddangosiad, llwfrddyn **yw yr anghredadyn yn y gwaelod.**

**ADN. 21. Ond yr hwn sydd yn gwneuthur y gwirionedd.** Nis gellir rhagori ar sylwadau y Parch. J. Ogwen Jones, B.A. (*Test. yr Ysgol Sabbothol*): "Y mae 'gwneuthur drwg' yn yr adnod o'r blaen, a 'gwneuthur gwirionedd' yma yn wrthgyferbyniol i'w gilydd. Nid yr un gair sydd yn yr iaith wreiddiol am 'wneuthur' yn y ddau le, ond dau air gwahanol: *prattein* yn y cyntaf, a *poiein* yn y diweddaf. Cawn fod Ioan yn defnyddio y ddau yn gyffelyb yn pen. v. 29; gan gysylltu, fel y gwna yma, y gair *prattein* â drwg, a *poiein* â da. Y mae gwahanol farnau ymhlith esbonwyr pa un a ddylid,—ac os dylid, pa fodd y dylid—gwahaniaethu rhwng ystyr y ddau air yma. Barna Alford fod y cyntaf yn dynodi *ymarferiad mewn gwneuthur*; a'r olaf *gwneuthur yr hyn sydd yn aros*. Dywed Bengel fod y cyntaf yn arwyddo rhywbeth *llafurus a chaled*; a'r olaf, i'r gwrthwyneb, rhywbeth *esmwyth a thawel*. Golyga Stier fod y cyntaf yn arwyddocau *ymroddiad* ac *ymwerthiad* llwyr i

i'r goleuni, fel yr eglurhâer ei weithredoedd ef, mai yn Nuw y gwnaed hwynt.

---

ddrygioni. Y mae yn amlwg, ond i ni ystyried ychydig, fod dau fath neu ddosbarth tra gwahanol o weithrediadau o eiddo y meddwl, pa un bynag a fyddo yn gweithredu ynddo ei hunan, heb y corph, ai ynte trwy y corph. Un math ydyw y gweithrediadau hyny o'i eiddo ag sydd o natur reddfol a hunan-gynhyrfiol. Gall y rhai hyn fod weithiau yn effaith cymeriad gwreiddiol, neu ynte weithiau yn ffrwyth ymarferiad hir a chyflawn. Yn nghyflawniad y rhai hyn, y mae y meddwl yn llai ymwybodol nag mewn gweithrediadau eraill. Y mae llai o *amcan* ac *ewyllys* iddynt. Math arall yw y gweithrediadau hyny o'i eiddo ag sydd yn fwy rhydd ac yn llai greddfol, yn y rhai y mae mwy o *amcan* a *bwriad*, a gweithrediad mwy ymwybyddol o eiddo yr ewyllys. Yn yr iaith Saesonaeg defnyddir y ferf *make* i osod allan y cyntaf, a'r ferf *do* i ddesgrifio yr olaf. Yr un modd yn yr iaith Roeg, barnwn fod *prattein* yn cyfateb i'r Saesonaeg *make,* a *poiein* i *do*. Yn yr ymadrodd cyntaf, 'gwneuthur drwg' (*prattein*), fe gyfeirir at y graddau hyny mewn cyflawni drwg lle y mae y meddwl yn gweithredu megis yn reddfol, neu o anian yn hollol; tra yn yr olaf, 'gwneuthur y gwirionedd,' golygir y meddwl yn gweithredu yn fwy rhydd ac ymwybyddol. Wrth y gwirionedd y dylem ddeall, gyda Tholuck, 'yr hyn sydd iawn,' yn ol fel y dangosir ef i ni trwy y gwirionedd yn y *gydwybod;* a'i wneuthur ydyw ufuddhau i lais y gwirionedd yn y gydwybod, yr hyn a'n parotoa ac a'n cymhwysa i ddyfod i'r goleuni, sef y gwirionedd uwch oddiallan." **Sydd yn dyfod i'r goleuni**—*is coming;* dyfod yn raddol. Mewn tywyllwch yr ydoedd; ond trwy gredu daeth "i'w ryfeddol oleuni Ef." Eithr y mae ei lygaid yn rhy weiniaid i ddâl y disglaerdeb; ond trwy ymarferiad graddol ymgryfhânt. Trwy barhau yn yr ymarferiad o ufuddhau i wirionedd cydwybod, yn ngwyneb temtasiynau lu i'r gwrthwyneb, daw i weled yn eglurach—daw fwyfwy i'r goleuni, nes yn y diwedd yr aiff yn oleuni trwyddo i gyd. "Y rhai oeddech dywyllwch—yn awr goleuni yn yr Arglwydd." Onid oedd y cyfryw gymeriadau i'w cael yr adeg hon mewn Iuddewiaeth—Zecharias ac Elizabeth, Joseph a Mair, Simeon ac Anna, y dysgyblion a'r pum cànt brodyr? Onid oedd Nicodemus ei hun yn un o'r rhai a atdynid gan y goleuni? Onid oedd hefyd gymeriadau cyffelyb yn mysg y paganiaid, pobl a ymdrechent yn ddifrifol i fyw i fynu â'r goleuni a feddent, ac a ddyheuent am oleuni mwy? Onid yw yr Iesu yma yn rhoddi i'r gwirionedd rhyw *sweep* ofnadwy, ac yn awgrymu rhyw bosiblrwydd na ellir ei ddeffinio na'i amgau mewn Credo na Chyffes? "Yr oedd Plato," ysgrifenai Erasmus at Sir Thomas More, "fel dyn wedi ei gau mewn ogof, yn rhedeg yma a thraw, gyda'i ganwyll fechan grynedig, yn dyheu am ddyfod allan, ac yn dàl ei hunan yn barod i roddi crychnaid yn mlaen y foment yr agorai y drws. Ond ni agorodd. 'Nid llawer o rai doethion a alwyd.' Dringodd y bryn yn y tywyllwch, a safodd, gan alw ar ei gymdeithion islaw, 'Dewch, dewch, y ffordd hyn y gorwedd y Dwyrain.' Ond ni ddaethant. Y fath Gristion a wnelai! Ah, y mae yn un yn awr. Y mae efe a Socrates, y llèn wedi ei symud oddiar eu llygaid, yn eistedd wrth draed yr Iesu." Pwy ŵyr? Ond gwyddom hyn: os ydynt gadwedig, mai trwy ryw

Wedi y pethau hyn, daeth yr Iesu a'i ddisgyblion i wlad 22
Judea, ac a arhosodd yno gyd â hwynt, ac a fedyddiodd.

---

gysylltiad dirgelaidd â'r "Gwir Oleuni, yr hwn sydd yn goleuo pob dyn a'r sydd yn dyfod i'r byd." **Fel yr eglurhaer ei weithredoedd ef.** Nid argyhoeddi fel yn yr adnod flaenorol, ond egluro—dangos eu prydferthwch, nid er gwag-ogoniant iddo ei hun, ond er gogoniant Duw. **Mai yn Nuw y gwnaed hwynt.** "Duw" yn bwysleisiol. Y mae anhawsder i benderfynu i fanylrwydd ystyr y gair *ὅτι*, a gyfieithir yma "mai." Yn ol Godet, y mae y cyfieithiad Cymraeg yn gywir,—fod y credadyn yn dyfod i'r goleuni i ddangos mai yn Nuw y cyflawna ei weithredoedd, mewn undeb a chymundeb ag Ef. Tuedda Watkins a Reynolds i gredu mai "oblegid" a ddylasai y cyfieithiad fod. "Fel yr amlyger ei weithredoedd ef, oblegid yn Nuw y gwnaed hwynt." Nid yn nerth y dyn ei hun, ond yn nerth Duw yr hwn sydd yn gweithio ynddo ewyllysio a gweithredu (Matt. v. 16).

Yma terfyna yr ymddyddan â Nicodemus. Ni choffeir pa argraff a adawodd ar ei feddwl; ond gwyddom iddo yn raddol weithio ei ffordd i'r goleuni (vii. 50—52; xix. 39, 40); a phan oedd gobeithion y dysgyblion yn diffodd yn angeu yr Iesu, y pryd hwnw y dechreuodd ei ffydd ef ffaglu. A gofiodd ef yr ymddyddan am y derchafu i'r Groes, er sicrhau bywyd tragwyddol?

### TYSTIOLAETH YCHWANEGOL IOAN. ADN. 22—36.

**ADN. 22. I wlad Judea.** Yr ardaloedd gwledig mewn cyferbyniad i Jerusalem. **Ac a arhosodd yno gyda hwynt, ac a fedyddiodd.** Arwyddoca amser anmherffaith y berfau ysbaid o amser, tri neu bedwar mis fel y tybir. Yn ol iv. 2, y dysgyblion oedd yn bedyddio, ac nid yr Iesu ei hun, er y gallasai fod wedi gweinyddu y bedyddiadau cyntaf ei hunan. Pe dygwyddai y ddwy adnod hyn mewn efengylau gwahanol, buasai lluaws o esbonwyr yn dadleu fod yma anghysondeb; ond gan mai yn yr un efengyl y maent, ac ar yr un tudalen, amlwg yw y rhaid eu cymeryd, y naill yn eglurhâd ar y llall. Crist a awdurdododd y ddefod, ond y dysgyblion oedd offerynau ei gweinyddiad. Paham y bedyddiai Crist yn awr o gwbl? Un rheswm, feallai, yw, nad oes byth agendor rhwng goruchwyliaethau Duw—y mae y newydd bob amser yn dolenu yn yr hen. Uchafnod yr Hen Oruchwyliaeth oedd bedydd Ioan; cymer yr Arglwydd Iesu hwnw drosodd er ei dderchafu i fedydd uwch. Dyna bob amser drefn Duw yn nadblygiad hanesyddiaeth. Sylwer yn yr Actau ar wahaniad graddol yr eglwys Gristionogol oddiwrth yr eglwys Iuddewig. Tyfiant graddol oedd Protestaniaeth o Babyddiaeth yn y 14eg ganrif; a graddol oedd dadblygiad Anghydffurfiaeth o Buritaniaeth Eglwys Loegr. Wrth bob tebyg, parhâd ydoedd bedydd presenol yr Iesu o fedydd Ioan—bedyddio y bobl a broffesent barodrwydd i fyned i mewn i'r oruchwyliaeth well. Yr oedd eu hymostyngiad i fedydd yn *pledge* o'u tu hwy i dderbyn y ddysgeidiaeth newydd, ac felly yn gynorthwyol i sefydlu y deyrnas Gyfryngol. Pa hyd y parhaodd yr Iesu i fedyddio nis gwyddom: y tebyg yw mai yn unig yn ystod y trawssymudiad i'r newydd yn nechreu ei weinidogaeth. Beth oedd natur y bedydd hwn? Y mae y gofyniad wedi ei ateb yn rhanol eisoes. Ar ol

23 Ac yr oedd Ioan hefyd yn bedyddio yn Ainon, yn agos i
Salim; canys dyfroedd lawer oedd yno: a hwy a ddaeth-

---

ei adgyfodiad y sefydlodd y Bedydd Cristionogol yn enw y Drindod, er iddo yn flaenorol egluro ei egwyddorion sylfaenol, am mai ar ol ei adgyfodiad y daeth y bedydd â'r Ysbryd yn ffaith fawr hanesyddol. *Pledge* o du y bobl oedd bedydd Ioan a bedydd presenol yr Iesu; ond *pledge* o du Duw yw y bedydd Cristionogol; a dyna, ni debygwn, yw y gwahaniaeth hanfodol rhyngddynt, yn cyfateb i nodweddion gwahan iaethol y ddwy oruchwyliaeth.

**ADN. 23. Ac yr oedd Ioan hefyd yn bedyddio yn Ainon yn agos i Salim.** Beth yw cynwys y gair "hefyd"? Tybiai rhai mai y meddwl yw fod yr Iesu a "Ioan hefyd" yn bedyddio yn yr un ardal. Y mae hynyna yn bosibl, ond nid yw ffurf yr ymadrodd yn ddigon pendant i ni dynu y casgliad. Ystyr Ainon yw llygad, llygad y ffynhon, neu, yn ol Meyer, ffynhon y golomen. Y mae Ain neu En, yn enw cyffredin yn Mhalestina o ddechreu hanesyddiaeth; ac o herwydd hyny cysylltir ef âg enw mwy pendant—En-Mishpat, En-Semesh, Hazar-Enau (lluosog). Felly yma—Ainon, ger Salim. Gan hyny, enwir tair cymydogaeth lle, o bryd i bryd, y bedyddiai Ioan. (1) Yr holl wlad o amgylch yr Iorddonen; (2) Bethania (Bethabara), y tu hwnt i'r Iorddonen; (3) Ainon, yn agos i Salim. Ond hawdd canfod fod yr ymadrodd cyntaf yn ddigon llydan i gynwys y ddau olaf. Yn mha le yr oedd Ainon? (1) Etyb Eusebius a Jerome mai pentref ydoedd wyth milldir i ddehau-ddwyrain o Bethshan, ac felly yn nhalaeth Samaria. Ond y mae adn. 22, a iv. 3, 4 yn ymddangos yn gwrthbrofi hyn. (2) Yn Jos. xv. 32 sonir am Silhim ac Ain, ac nid oes dim yn anhygoel yn y dybiaeth i'r Iesu deithio y pryd hwn hyd derfynau deheuol Gwlad yr Addewid, a gweled â'i lygaid ei hun Fethlehem, lle y ganed Ef, a Hebron, a Beerseba. Darllenwn yn yr efengylau eraill iddo deithio i'r gogledd hyd Cæsarea Philippi a thueddau Tyrus a Sidon. Anhawdd meddwl fod gwladgarwr mor aiddgar heb wneyd hyny. (3) Sonia Robinson am le o'r enw Salim, yn agos i Sychar, ac felly yn Samaria. (4) Darganfyddodd Dr. Barclay bentref a elwid Ainon mewn cwm o'r enw Wady Farah, tua chwe milldir i'r gogledd o Jerusalem, lle y mae lluaws o fân gornentydd, a lle arall, heb fod yn mhell, o'r enw Salim. Y mae yn eglur, fodd bynag, fod safle ddaearyddol Ainon heb ei lwyr benderfynu; ond mor bell ag y mae genym seiliau i dynu casgliad, barn Dr. Barclay sydd yn enill ein cymeradwyaeth. **Canys dyfroedd lawer oedd yno.** H.y., Ffynhonau lawer, ac o ganlyniad nentydd lawer. Nid yw yr ymadrodd ynddo ei hun yn golygu corph mawr o ddwfr. Paham y dygir i mewn yma y "dyfroedd lawer"? Etyb Westcott a Dodds, "I ddynodi trochiad." Ond ofer, yn ein barn ni, yw sylfaenu dadl ar y geiriau hyn o barth i ddull bedydd. Rhaid addef fod yr argraph a edy y frawddeg ar y meddwl yn ffafrio eglurhad y ddau esboniwr uchod; ond y mae ystyriaeth bwyllog o'r amgylchiadau yn tueddu i ddileu yr argraph. Golyger mai trochi oedd y ffurf, yna y mae dau gwestiwn pwysig yn codi. 1. Gan mai Ioan ei hunan, ac nid ei ddysgyblion, oedd yn gweinyddu y ddefod, a yw yn debygol y gallasai barhau am oriau bob dydd yn y dyfroedd dyfnion i dansuddo y miloedd a ddylifent i'w fedydd, yn gystal a phregethu iddynt neshâd

ant, ac a'u bedyddiwyd; Canys ni fwriasid Ioan etto 24
y'ngharchar.
Yna y bu ymofyn rhwng *rhai* o ddisgyblion Ioan a'r 25

---

teyrnas nefoedd? Dr. Charles Hodge, yn ei Gorph Duwinyddiaeth, a etyb fod y peth ar dir iechyd yn anmhosibl (*physically impossible*). A dywed y mab, Dr. A. A. Hodge, yn ei *Outlines of Theology*, "yr ymddengys yn fwy tebygol fod bedydd Ioan yn cael ei gyflawni trwy dywalltiad yn (1) oddiwrth y ffaith mai puredigaeth yn cael ei gyflawni gan brophwyd Iuddewig ar Iuddewon ydoedd, ac yr oedd y golchiadau Iuddewig yn cael eu cyflawni trwy dywalltiad. Yr oedd yr arferiad yn gyffredinol yr adeg hono, ac y mae yn parhau hyd y dydd hwn. (2) Y mae y modd hwn (sef tywallt) yn fwy cydweddol â'r hanes am y tyrfaoedd a fedyddid gan un dyn yn Matt. iii. 5, 6; Marc i. 5; Luc iii. 3—21. (3) Y mae y cynyrchion henaf sydd ar gael o eiddo celfyddyd Gristionogol yn dangos bedydd Crist gan Ioan yn cael ei gyflawni trwy dywalltiad." 2. Y cwestiwn arall yw, os trochiad oedd y ffurf, ai yn eu gwisgoedd y bedyddid y tyrfaoedd? Nis gallwn goledd ateb nacäol; ac, os yn eu gwisgoedd, rhaid eu bod yn teithio o gartref i'r diffaethwch a'r cyflawnder angenrheidiol o gyfnewidiad dillad gyda hwy--tybiaeth tra annaturiol (*Y Parch. D. G. Jones ar Fedydd, pen. xiv*). Yr ydym yn crybwyll hyn i ddangos nad yw y pwngc i'w benderfynu rhag blaen, fel pe na bai anhawsder ynddo—y mae anhawsder gan nad pa ffordd y penderfynir y ddadl. Paham ynte y sonir am y "dyfroedd" o gwbl? (1) Pa un ai trwy drochiad ai trwy dywalltiad y gweinyddid y bedydd, yr oedd yn dra phwysig fod yno gyflawnder o ddwfr "rhedegog," canys yr oedd hyny yn angenrheidiol i buredigaeth. (2) Lle yr oedd miloedd o bobl yn ymgasglu o bob parth o'r wlad, ac yn gwersyllu yno am amser, un o'r angenrheidiau cyntaf ar gyfer dyn ac anifail oedd cyflawnder o ddwfr, yn fwy felly yn y dwyrain nag yn ein gwlad ni. **A hwy a ddaethant ac a'u bedyddiwyd.** Yr oedd grym y Diwygiad yn parhau, y bobl o hyd yn gwasgu i mewn i'r deyrnas trwy borth bedydd, er fod eu syniadau am y naill a'r llall yn dra anmherffaith, os nad cyfeiliornus.

**ADN. 24 Canys ni fwriasid Ioan eto yn ngharchar.** Paham y crybwyllir hyn yma? Er cywiro camsyniadau am amseryddiaeth bywyd Crist. Gellid tybied oddiwrth Matt. iv. 12 a Marc i. 14 na ddechreuodd yr Iesu ei weinidogaeth gyhoeddus hyd ar ol carchariad Ioan; a diau fod pobl yn yr eglwysi apostolaidd wedi tynu y casgliad yna. Ond dysga yr efengylwr i'r Iesu weinidogaethu am fisoedd—tua wyth mis, fel y tybir, yn Jerusalem a Judea, cyn dechreu o hono ei weinidogaeth yn Galilea. Ni cheir hanes ei weinidogaeth yr wyth mis cyntaf ond yn yr efengyl hon. Yr oedd dygwyddiadau yr ail, y drydedd, a'r bedwaredd benod, hyd adn. 43, wedi cymeryd lle cyn dechreu yr hanes yn yr efengylau eraill.

**ADN. 25. Gan hyny bu ymofyn o du dysgyblion Ioan ag Iuddew ynghylch puredigaeth.** Iuddew, yn y rhif unigol, sydd yn y llawysgrifau goreu, a rhydd hyn fywiogrwydd i'r hanes. Defnyddir y gair am ymofyn yn Act. xv. 2; 1 Tim. vi. 4; 2 Tim. ii. 23; a Titus iii. 9; a golyga "ddadl"—nid dadl deg, ond dadl ymrysongar, lle y mae teimlad yn myned yn gryfach na rheswm. Awgryma ffurf yr ymadrodd mai

26 Iuddewon, ynghylch puredigaeth. A hwy a ddaethant at
Ioan, ac a ddywedasant wrtho, Rabbi, yr hwn oedd gyd â
thi y tu hwnt i'r Iorddonen, am yr hwn y tystiolaethaist
ti, wele, y mae hwnnw yn bedyddio, a phawb yn dyfod
27 atto ef. Ioan a attebodd ac a ddywedydd, Ni ddichon
dyn dderbyn dim, oni bydd wedi ei roddi iddo o'r nef.

---

dysgyblion Ioan a ddechreuodd y ddadl, ac ymddengys fod yr Iuddew yn cael y trechaf, canys dengys yr hanes iddynt hwy golli eu tymherau. Y pwngc oedd "puredigaeth," enw arferol yr Iuddewon ar athrawiaeth bedyddiadau a golchiadau. Gellir tybied fod yr Iuddew, pwy bynag ydoedd, yn derchafu bedydd yr Iesu uwchlaw bedydd Ioan; feallai ei fod wedi derbyn y bedydd ei hunan; neu o bosibl ei fod yn wrthwynebol i'r ddau, ar y tir eu bod yn cystadlu â'u gilydd, megis yr ymresyma Pabyddiaeth yn erbyn Protestaniaeth am ei bod wedi ymranu yn sectau.

**ADN. 26. Rabbi, yr hwn oedd gyda thi y tu hwnt i'r Iorddonen, am yr hwn y tystiolaethaist ti.** Ni wnânt gymaint ag yngan enw yr Iesu, yr oedd y ddadl wedi chwerwi eu teimladau yn ormodol. Gan ei fod wedi ei fedyddio gan Ioan, casglent ei fod yn israddol iddo, ac eiddigeddent ei fod yn gosod ei hunan i fynu yn gydymgeisydd âg ef. Eto addefent fod Ioan wedi "tystiolaethu am dano,"—o'i blaid. Y rhyfeddod yw, iddynt hwy lynu wrth Ioan yn lle myned drosodd at yr Iesu fel y lleill, yn ngwyneb tystiolaeth eu Hathraw am dano. Ond nid oedd eu canfyddiad ysbrydol yn ddigon treiddgar i hyny. **Y mae hwnw yn bedyddio.** Y mae y pwyslais ar "hwnw." Fel pe dywedasent, Pa fusnes sydd gan *hwnw* i fedyddio? **A phawb yn dyfod ato Ef.** Gormodiaith; ac eto profa boblogrwydd anghyffredin yr Arglwydd Iesu. Heidiai pawb i'w weled a'i glywed, a chael eu bedyddio ganddo. Yr oedd y Diwygiad yn awr yn anterth ei nerth,—Crist a Ioan yn pregethu a bedyddio.

**ADN. 27. Ni ddichon dyn dderbyn dim**—na swydd na phoblogrwydd, **oni bydd wedi ei roddi iddo o'r nef.** Yr un egwyddor ag yn Marc xiii. 34, 1 Cor. xii. 4, ac Act. v. 38. Gymaint uwchlaw ei ddysgyblion ydyw Ioan—dim eiddigedd, ond ymostyngiad i drefniadau y nef. Boddlon efe ar y lle a roddwyd iddo yn nghynllun Duw. Ond cyfyd y cwestiwn, At bwy y cymhwysai Ioan yr egwyddor hon? (1) Yn ol Calfin, Bengel, a Hengstenberg, ato ei hun. Ni fedraf fi dderbyn ond yr hyn y mae y nefoedd yn ei roi. Os wyf yn colli fy mhoblogrwydd, boed felly; dyna appwyntiad Duw. (2) Yn ol Meyer, Watkins, a Godet (ar ol newid ei feddwl) at yr Iesu. Os yw Ef yn myned i fynu mewn poblogrwydd, nid yw yn perthyn i chwi a fi wrthddadleu—dyna yn amlwg ewyllys Duw. Gwelir y dwyfol gynllun yn ngweithiad allan y cynllun. (3) Yn ol Westcott, Reynolds, Lange, a Luthardt, egwyddor gyffredinol sydd yn y geiriau, cymhwysiadol at Ioan a'r Iesu. Tueddir ni i fabwysiadu yr eglurhâd olaf, gydag ychydig o gyfnewidiad, sef mai yr Iesu oedd yn benaf yn ei feddwl, ac amddiffyn yr Iesu yn ngwyneb grwgnachrwydd ei ddysgyblion oedd ei amcan. Ond gwna hyny trwy osod i lawr wirionedd mawr cyffredinol; ac yna cymhwysa y gwirionedd ato ei hun yn adn. 27—30, ac at yr Iesu yn adn. 31—36.

Chwychwi eich hunain ydych dystion i mi, ddywedyd o 28
honof fi, Nid myfi yw y Crist, eithr fy mod wedi fy anfon
o'i flaen ef. Yr hwn sydd ganddo y brïod-ferch, yw y 29
prïod-fab: ond cyfaill y prïod-fab, yr hwn sydd yn sefyll
ac yn ei glywed ef, sydd yn llawenychu yn ddirfawr oblegid
llef y prïod-fab: y llawenydd hwn mau fi gan hynny a
gyflawnwyd. Rhaid ydyw iddo ef gynnyddu, ac i minnau 30

---

**ADN. 28 Chwychwi eich hunain ydych dystion i mi, ddywedyd o honof fi, Nid myfi yw y Messiah.** Oblegid hyn nid yw yn perthyn i mi chwanog y lle uchaf. Gŵn mai myfi yw y blaenaf o ran amser, ond gŵn gystal a hyny mai nid myfi yw y blaenaf mewn pwysigrwydd ac urddas. **Boddlon fi ar fy lle.**

**ADN. 29. Yr hwn sydd ganddo y briodferch yw y priodfab.** Awgrymid y ffugr hwn iddo gan y gydmariaeth fynych yn yr H. D. o Dduw fel Priod, ac Israel fel Priodferch, cydmariaeth a ddefnyddir yn aml yn y Test. Newydd hefyd. Crist yw y Priodfab, meddai Ioan; ac un prawf yw fod "pawb"—y briodferch—yn myned ato Ef. **Cyfaill y Priodfab.** Yn y dwyrain nid arferol oedd i ddyn ddewis ei wraig, gwneid hyny gan ei rieni neu ei berthynasau; ac fel rheol ni welai hi hyd ŵyl y briodas. Yn ystod y flwyddyn rhwng y dyweddïad a'r briodas, ai cyfaill y priodfab ol a blaen rhyngddo ef a'i ddyweddi, trosglwyddai negesau o'r naill i'r llall, canmolai y gwr ieuangc wrth y ferch ieuangc, er cyneu eu cariad at eu gilydd. Ar ddydd y briodas cyfarfyddent, dyrchai y ferch ieuanc y gorchudd oddiar ei gwyneb, ac edrychai y priodfab yn llygaid ei ddyweddi. Dyna ganmol a llawenhau a fyddis (Jer. vii 34; xvi. 9; xxv. 10); a dyna falch y teimlai Cyfaill y Priodfab wrth glywed y llongyfarchiadau. Crist oedd y Priodfab, Israel oedd y Briodferch, ac Ioan oedd Cyfaill y Priodfab—wedi bod yn ddyfal am flwyddyn yn galw ar y Briodferch i addurno ei hun am fod y Priodfab ar ddyfod. Ac yn awr yr oedd yr Iesu ac Israel yn dyfod at eu gilydd, holl Israel—"pawb"—yn myned ar ei ol Ef. Dyma ddydd y briodas, a mawr oedd llawenydd Ioan, fel Cyfaill y Priodfab, fod yr Iesu a'r Israel yn gweled hawddgarwch yn eu gilydd. Yr oedd ef yn "sefyll" ac yn "clywed" beth oedd yn myned yn mlaen yn y gymydogaeth gyfagos, a dychlamai ei enaid gan lawenydd nad oedd ei weinidogaeth wedi bod yn ofer. Dyma uchafbwynt gweinidogaeth Cyfaill y Priodfab. **Y llawenydd hwn mau fi gan hyny a gyflawnwyd.** "Hwn" yn bwysleisiol, sef llawenydd y Cyfaill. "Mau"=fy, *my joy*. Ac y mae amser (*aorist*) y ferf yn dangos fod ei lawenydd yr awr hon wedi cyrhaedd ei ganolddydd.

**ADN. 30. Rhaid ydyw iddo Ef gynyddu, ac i minau leihau.** "Rhaid" yn ol y trefniant dwyfol, ac yn ol gweddusrwydd pethau. Paham, ynte, nad ymrestrodd Ioan a'i ddysgyblion dan faner yr Iesu, gan y cydnabyddai mai Efe oedd y Messiah? Oblegid y cydnabyddai hefyd fod Duw wedi penu iddo ef ei waith a'i swydd. Rhagredegydd oedd ef wrth ei swydd; ac yr oedd ffyddlondeb i Dduw yn galw arno i barhau ynddi nes y gwelai yr Hwn a'i gwisgodd ef ynddi yn dda ei ddihatru o honi. Gwyddai mai dyna gynllun Duw—iddo ef ddiffodd yn raddol megis seren pan y mae yr

31 leihâu. Yr hwn a ddaeth oddi uchod, sydd goruwch pawb
oll: yr hwn sydd o'r ddaear, sydd o'r ddaear, ac am y
ddaear y mae yn llefaru: yr hwn sydd yn dyfod o'r nef,

---

haul yn codi uwch uwch. Nid profedigaeth ysgafn i'w ras oedd iddo ef suddo i ddinodedd, ac i arall esgyn; ond gan nad faint y brofedigaeth, gorchfygodd, ie, mwy—nid yn unig ymfoddlonodd mewn tawelwch, ond "llawenychodd â llawenydd," ac y mae ei lawenydd mor gryf fel y tora allan mewn clodforedd o deilyngdod anghydmarol y Priodfab (adn. 31—36). Hoffai rhai ysgrifenwyr henafol ymhelaethu ar y ffaith i Ioan gael ei eni ganolddydd haf (Mehefin 25) i arwyddo mai ar i waered y buasai ei yrfa; ond Crist ganolddydd gauaf (Rhagfyr 25), i arwyddo y dringai i'r lån ac yr ai ei achos ar gynydd.

**ADN. 31.** Barna Westcott, Tholuck, ac Olshausen fod tystiolaeth Ioan y Bedyddiwr yn dibenu yn adn. 30, ac mai Ioan yr Efengylwr sydd yn llefaru oddiyma yn mlaen. Ond dadleua Meyer, Godet, ac eraill mai y Bedyddiwr sydd yn llefaru hyd ddiwedd y benód. Oddiwrth nodwedd aruchel yr adran hon, teimlem ar y cyntaf ei bod yn rhy dderchafedig i'w phriodoli i'r Bedyddiwr; ond ar ol edrych i gynwys a chysylltiad yr adnodau, yr ydym wedi ein hargyhoeddi nad oes yma ddim nad orweddai yn deg o fewn cylch gwybodaeth y Bedyddiwr, dan gynhyrfiad yr Ysbryd Glân. I iawn werthfawrogi y gwirioneddau a gânt fynegiant yma, darllener yn ofalus Matt. iii. 7—17 a Ioan i. 29—34, canys nid yw y paragraph hwn ond dadblygiad llawn, eto teg, o gynwys y ddau baragraph uchod.

**Yr Hwn sydd yn dyfod oddiuchod.** Yr amser presenol, i ddynodi ffaith barhaus. Yr un gair sydd am "oddiuchod" yma ac am "drachefn" yn adn. 3; ond yma defnyddir ef yn yr ystyr o le, sef o'r nef. Golyga darddle neu ffynhonell. Nid myned i'r nef a wnaeth Crist fel duwiolion eraill, ond dyfod o'r nef, ac Efe yw yr unig un am yr hwn y gellir dywedyd hyny. **Sydd goruwch pawb oll.** Pawb oll yn mhob ystyr ac yn ddieithriad, gan olygu yn benaf ei dra ragoriaeth, fel y dysga Meyer, ar bawb oll fel esboniwr o fwriadau Duw. Efe yw y goruchaf. Megis y mae ffynhonell ei fôd goruwch yr eiddo neb arall, felly y mae ei natur goruwch yr eiddo neb arall—parha ei natur ar lefel ei tharddiad. **Yr hwn sydd o'r ddaear**, fel ffynhonell ei fodolaeth, **sydd o'r ddaear**, yn ei natur a'i gyrhaeddiadau. Nis gall ymdderchafu y tu allan i'w gylch. Gall yr hwn sydd o'r nefoedd ddyfod i'r ddaear, oherwydd y mae y ddaear o fewn cylch y nefoedd; ond nis gall yr hwn sydd o'r ddaear esgyn i'r nefoedd, oblegid nid yw cylch y ddaear yn cynwys y nefoedd. Mewn geiriau eraill, y mae y cylch mwyaf yn cynwys y cylch lleiaf, ond nid yw y lleiaf yn cynwys y mwyaf. **Ac am y ddaear y mae yn llefaru.** Nid am y byd, ond am y ddaear. Y mae y "byd" yn bechadurus a gwrthwynebol i Dduw; ond nid yw y "ddaear" yn bechadurus nac yn wrthwynebol i'r nef. O'r ddaear yr oedd y prophwydi a'r Bedyddiwr ei hun; ond pa fodd y gellir dyweyd mai am y ddaear y llefarent? Yn ystyr adn. 12—y gwirioneddau ar eu hochr ddaearol ac fel y caent eu hamgyffred gan gynheddfau meidrol a phrofiad moesol dyn. Nis gallwn ni amgyffred gwirioneddau ar eu

sydd goruwch pawb. A'r hyn a welodd efe ac a glywodd, 32
hynny y mae efe yn ei dystiolaethu: ond nid oes neb yn
derbyn ei dystiolaeth ef. Yr hwn a dderbyniodd ei dystiol- 33
aeth ef, a seliodd mai geirwir yw Duw. Canys yr hwn a 34

---

hochr ddwyfol ac yn eu cysylltiadau tragwyddol. "Y trysor hwn sydd genym mewn llestr pridd," a rhaid i'r gwirioneddau gymeryd ffurf y llestr. Nis gall hyd yn nod dwyfol Ysbrydoliaeth wneyd i ffwrdd â meidroldeb y cynheddfau a ffurf ddaearol ein hamgyffredion. Y mae ffurf y ddaear ar ein holl feddyliau, nis gallwn ddianc oddiwrthym ein hunain. **Yr Hwn sydd yn dyfod o'r nef**—esboniad ar y frawddeg gyntaf, **sydd goruwch pawb.** Ail-adrodda Ioan yr un gwirionedd—nodwedd Hebreig o feddwl a siarad.

**ADN. 32. Yr hyn y mae wedi weled ac a glywodd.** Nid yn frysiog a hanerog, ond yn bwyllog a chyflawn,—nid oes dim rhagor i'w weled na'i glywed. Y mae y geiriau yn golygu eglurder, uniongyrchedd, a chyflawnder gwybodaeth: nodweddir hi gan ddwyfol anffaeledigrwydd. Enwir yma "weled" a "chlywed," oblegid mai dyna ddau brif borth gwybodaeth. Sylwer ar debygolrwydd yr adnod hon i adn. 11. Ai damwain yw y cyffelybrwydd? Nis gallwn goelio hyny. Ai tybed nad oedd Ioan yr efengylwr a'r dysgyblion eraill yn talu ymweliad achlysurol â'i hen athraw, ac yn adrodd wrtho a allent o weithredoedd ac ymddyddanion yr Iesu? Annaturiol yw meddwl yn wahanol, gan nad oedd cystadleuaeth rhwng y ddau athraw, ac iddynt hwy fyned ar ol yr Iesu ar anogaeth y Bedyddiwr ei hun. Ymddengys fod geiriau Ioan yma yn adsain o eiriau Crist wrth Nicodemus. **Hyny y mae Efe yn ei dystiolaethu.** Nid dyfalu a dychymygu am "bethau nefol" yr ydoedd Crist fel y beirdd a'r athronwyr, ac hyd yn nod y prophwydi, ond tystiolaethu. Tyst ydoedd: yr oedd mor naturiol iddo Ef lefaru am wirioneddau tragwyddoldeb ag i ddynion lefaru am wirioneddau amser—yr oedd Efe a'r gwirioneddau ar lefel eu gilydd. **Ac nid oes neb yn derbyn ei dystiolaeth Ef.** "Pawb yn myned ato," meddai y dysgyblion, a llawenychai y Bedyddiwr wrth glywed y newydd. Ond ar ol ystyriaeth gwelai mai cyffro arwynebol oedd yr oll, "nid oes neb yn derbyn ei dystiolaeth Ef,"—neb mewn ffordd rydd o siarad. "Pawb," meddai y dysgyblion; "neb," meddai Ioan; canys yr oedd efe a hwythau yn siarad dan deimlad cryf, ac nid yw teimlad byth yn aros i fesur a phwyso ei eiriau.

**ADN. 33. Yr hwn a dderbyniodd ei dystiolaeth Ef.** Y mae Ioan yma yn lliniaru y "neb." Yr oedd ambell un wedi credu serch hyny. **A seliodd hyn, mai geirwir yw Duw.** Y mae sêl yn cadarnhau gweithred gyfreithiol neu gytundeb ewyllysgar (Neh. ix. 38). Pan y gesyd dyn ei sêl ar yr ysgrifen, tystia i eirwiredd y cyfamod. Nid i'w wirionedd—mater arall yw hyny, ond i'w eirwiredd. Felly wrth dderbyn tystioliaeth yr Hwn a ddaeth o'r nef, dengys dyn ei gymeradwyaeth o'r neges, a'i fod yn credu ei geirwiredd, "mai geirwir yw Duw." Mewn adranau eraill, gosodir Duw allan yn selio dyn trwy ymwybyddiaeth dufewnol o gynyrchiad yr Ysbryd Glân; ond yma dyn sydd yn selio

anfonodd Duw, sydd yn llefaru geiriau Duw; oblegid nid
35 wrth fesur y mae Duw yn rhoddi *iddo ef* yr Yspryd. Y

---

Duw—dwyn tystiolaeth yn yr act o gredu fod Duw yn eirwir (1 Ioan v. 10). Gan hyny, y mae esboniad Westcott, wrth wneyd y sêl yn brawf yn mhrofiad y Cristion o wirionedd yr addewidion a'r athrawiaethau, yn camgymeryd y ddwy sêl. Ond pan yn derbyn tystiolaeth Crist, onid dangos ein hymddiried yn ngeirwiredd Crist yr ydym? Ie; ond aiff y Bedyddiwr yn mlaen i ddangos yn yr adnod nesaf fod geirwiredd Crist yn ymdoddi i eirwiredd Duw.

**ADN. 34. Canys yr hwn a anfonodd Duw sydd yn llefaru geiriau Duw.** Y mae hyn yn wirionedd cydmariaethol am y prophwydi, ond y mae yn wirionedd *absolute* am Iesu Grist. Megis y cafodd Efe ei anfon gan Dduw mewn modd na chafodd neb arall, felly y mae yn medru llefaru geiriau Duw mewn ffordd na fedr neb arall. Llefaru geiriau Duw yn aillaw oedd y prophwydi, ond eu llefaru yn uniongyrchol, yn anffaeledig, ac yn ddihysbydd yr oedd Ef. Ac y mae llefaru ei eiriau yn golygu datguddio ei feddyliau, ei deimladau, a'i amcanion: ni chafodd y Duwdod ddatguddiad llawn mewn iaith gan neb ond gan Iesu Grist. Wrth wrandaw hwn teimlwn mai Duw sydd yn siarad â ni. **Canys nid wrth fesur y mae yn rhoddi yr Ysbryd.** Gadewir "Duw" ac "iddo ef" allan o'r prif lawysgrifau. O ganlyniad, y mae cymeriad anmhenodol y frawddeg yn ei gwneyd yn anhawdd i roddi ystyr bendant iddi. Pwy sydd yn rhoddi a pha beth a roddir? (1) Mŷn Godet ac eraill mai yr Ysbryd sydd yn rhoddi, ac felly darllenant, "nid wrth fesur y mae yr Ysbryd yn rhoddi." Y mae Iesu Grist yn llefaru geiriau Duw mewn ffordd amgenach na neb arall. Paham? Am fod yr Ysbryd a ddisgynodd arno yn y Bedydd, ac a welodd Ioan yn aros arno, yn cyfranu iddo y gwirionedd yn ddifesur. Cyfranodd i eraill, ac i'r Bedyddiwr, ond wrth fesur o ran maint a pharhâd. Ni allasai yr Ysbryd gyfranu mwy nag a fedrent hwy ddal; yr oedd gweithrediad yr Ysbryd yn cael ei gyfyngu gan fychander y llestri oedd yn derbyn. Ond dyma Un o'r nef, sydd yn gymaint â'r nef, ac y mae digon o faint yn ei lestr Ef i gymeryd i mewn yr oll sydd gan yr Ysbryd i'w roddi. Nid wrth fesur, gan hyny, y mae yr Ysbryd yn rhoddi iddo—y mae mawredd y person yn gymhwysder i dderbyn anfeidroldeb y gwirionedd, ac i'w drosglwyddo i ddynion. Y mae y Gair yn ddigon mawr i gynwys y geiriau i gyd ynddo ei hun. Diau fod hynyna yn gwneyd synwyr da, ac yn egluro paham y mae yr Hwn a ddaeth o'r nef yn llefaru geiriau Duw mewn ffordd *absolute*, ac nid fel Ioan a'r prophwydi. (2) Barna Westcott mai yr Iesu sydd yn rhoddi—yn rhoddi yr Ysbryd yn ddifesur i'r sawl a gredant. Os Ioan yr efengylwr a lefarodd y geiriau hyn, fel y dysga Westcott, tua diwedd y ganrif gyntaf, ar ol tywalltiad yr Ysbryd yn yr oes apostolaidd, y mae rhyw gymaint o naturioldeb yn yr eglurhad, os ydyw mewn ystyron eraill yn gywir. Ond a ydyw yn wirionedd fod yr Ysbryd yn cael ei roddi yn ddifesur i'r credadyn? Nid felly y dysga Paul (1 Cor. xii. 11). Gwir y triga yr Ysbryd, yn anfeidroldeb ei berson, yn enaid pob credadyn; ond nid rhoddiad personol yr Ysbryd sydd yma, eithr ei roddiad i amcanion amgyffrediad ysbrydol a defnyddioldeb cymdeithasol. Onid yw yr Ysbryd yn ei weithrediadau yn cael ei gyfyngu gan gynheddfau terfynol y sawl a'i derbyniant? I

mae y Tad yn caru y Mab, ac efe a roddodd bob peth yn

---

roddi yn ddifesur, rhaid fod anfesuredd y ddwy ochr. Ond am mai cyfyngedig yw galluoedd credinwyr, wrth fesur y derbyn pawb yr Ysbryd. (3) Esboniad arall yw mai Duw sydd yn rhoddi yr Ysbryd yn ddifesur i Grist, yn ol y cyfieithiad Cymraeg. Dyma y gwahaniaeth hanfodol rhwng yr Iesu a phawb eraill a anfonodd Duw fel ei genhadon —y gwahaniaeth rhwng y mesurol a'r difesur, y terfynol a'r diderfyn. Nid gwahaniaeth graddau mohono, ond gwahaniaeth natur. Nid ydyw Ef a'r lleill yn yr un dosbarth—ffurfia Ef ddosbarth ar ei ben ei hun. Onid yw hynyna ar yr un llinellau â dysgeidiaeth flaenorol y Bedyddiwr?

Ond gall rhywun wrthddadleu, os oedd Iesu Grist yn Berson Dwyfol, pa anghen oedd arno am yr Ysbryd? Y mae yma ddirgelwch, a dylem ofyn ac ateb gyda pharchedig ofn. Yn yr Hanfod Dragwyddol dysgir ni fod y Drindod yn anghenrheidiol i'w gilydd; nid yw y Tad a'r Mab yn berffaith heb yr Ysbryd. Y mae yr athrawiaeth yn ddirgelwch anamgyffredadwy i ni; ond er nas gallwn egluro, gallwn weled, ac addoli wrth weled. Ac os yw yr Ysbryd yn anghenrheidiol i berffeithrwydd personol y Tad a'r Mab yn y Drindod, a oes anghysondeb fod yr Ysbryd yn anghenrheidiol i'r Mab yn y natur ddynol? Y mae trigiad difesur yr Ysbryd yn Iesu Grist yn brawf, nid mai dyn yn unig ydyw, ond mai Duw-ddyn. Os oedd yr Ysbryd yn anghenrheidiol i berffeithrwydd ei Dduwdod yn yr Hanfod, pa fodd y mae yn profi anmherffeithrwydd ei Dduwdod yn y dyndod? Plygwn ein pen yn wylaidd o flaen y dirgelwch; ond y mae ein hanallu i'w egluro yn profi yr egwyddor a osodwyd i lawr,—na all y rhai sydd o'r ddaear ymgodi yn uwch na'r ddaear yn eu hamgyffrediad o ffeithiau mawr y byd ysbrydol.

**ADN. 35 Y mae y Tad yn caru y Mab.** Onid yw gwirionedd yr adnod hon yn rhy uchel i Ioan Fedyddiwr ei gyrhaedd? Mỳn Westcott ei fod, ac mai gwirionedd nodweddiadol o Ioan yr Efengylwr sydd yma. Ond galwer i gof y llef o'r nef yn y Bedydd, "Hwn yw fy anwyl Fab, yn yr hwn y'm boddlonwyd." Onid oes yna Dad, gan fod yna Fab? A beth yw anwyldeb ond cariad? Diamheu fod cyfeiriad yma at yr egwyddor o gariad yn Nuw—y cariad anfeidrol â'r hwn y mae y Tad yn caru y Mab erioed. Dyma y cariad sydd yn wraidd a sylfaen pob cariad arall. Ond y mae y cyfeiriad uniongyrchol at yr Iesu fel Mab ymgnawdoledig, ac eto nid yw y meddwl mor ddadblygedig ag yn Ioan x. 17. Ni wyddom ni ddim am y perthynasau dirgelaidd y tu fewn i'r Hanfod ond fel yr amlygir hwy yn ffeithiau hanesyddol bywyd yr Iesu. Pa fodd y mae y Tad yn amlygu ei gariad at y Mab? Y mae y frawddeg nesaf yn ateb. **Efe a roddes bob peth yn ei law Ef.** Y mae y "caru" yn yr amser presenol, yn golygu teimlad parhaus; ond y mae "rhoddes" yn y gorphenol i ddynodi gweithred gydamserol â'r anfoniad. Beth a roddwyd yn llaw y Mab? (1) Pob peth creadigaeth. Nid teyrnas gyfyngedig i'r ddaear yw y deyrnas Gyfryngol, ond teyrnas gyfled a bodolaeth. Y mae y cyfanfyd yn sefyll yn awr yn nghyfryngwriaeth yr Arglwydd Iesu. (2) Ond diau mai y prif feddwl yw, pob peth iachawdwriaeth. Beth y mae hyny yn ei gynwys? Nid pob peth iachawdwriaeth i'w lywodraethu, ond pob peth iachawdwriaeth i'w gyflawni: ymgnawdoli, datguddio Duw, prynu bywyd, a sierhau y pwrcas yn y

36 ei law ef. Yr hwn sydd yn credu yn y Mab, y mae ganddo
fywyd tragywyddol : a'r hwn sydd heb gredu i'r Mab, ni
wêl fywyd ; eithr y mae digofaint Duw yn aros arno ef.

---

diwedd. Y rheswm paham y gosododd Duw ei Fab yn Iawn—y rheswm y tu cefn i bob rheswm arall—yw ei gariad tragwyddol at ei Fab. Carai Ef mor gryf nes y mynai ei wneyd yn "Ben pob peth"; ac nid oedd modd iddo fod yn Ben yr oll heb farw yn iawn. "Crist nis gogoneddodd ei hun i fod yn Archoffeiriad; ond yr Hwn a ddywedodd wrtho, Tydi yw fy Mab, myfi heddyw a'th genhedlais di" (Heb. iv. 5). Sut y mae rhan olaf yr adnod hon yn rheswm am y rhan gyntaf? Oblegid ei fod yn Fab y gwnaeth ei Dad Ef yn archoffeiriad; yr oedd ei gariad ato mor angherddol fel y mynodd ei ogoneddu yn yr offeiriadaeth. Ond sut oedd yr offeiriadaeth yn ogoniant iddo? Yn hytrach gofyner pa ogoniant mwy a allesid roddi iddo na'i wneyd yn offeiriad,—trosglwyddo bywyd tragwyddol miliynau o blant dynion i'w law, ymddiried iddo y gwaith anfeidrol anhawdd o achub byd euog a chadw yn ddilychwin ar yr un pryd gymeriad yr orsedd? Yr oedd ymddiried y fath waith iddo yn anrhydedd mor fawr fel na fynai Duw ei roddi hyd yn nod i angel, i neb ond i'w Fab. Yn maboliaeth dragwyddol y Gair, cariad anfeidrol y Tad tuag ato, y gwreiddiodd iachawdwriaeth y byd. Cariad y Tad oedd am ogoneddu y Mab, a'r ffordd fwyaf effeithiol i wneyd hyny oedd ei osod yn Gyfryngwr.

**ADN. 36. Yr hwn sydd yn credu yn y Mab, y mae ganddo fywyd tragwyddol.** Yn feddiant presenol dan ei fron, ond i'w ddadblygu i'w lawn addfedrwydd yn y nefoedd. **A'r hwn sydd heb ufuddhau i'r Mab, ni wêl fywyd.** Nid yr un gair sydd yn y ddwy frawddeg am gredu; gwell cyfieithu yr olaf (*ápĕithôn*) yn "anufuddhau" neu wrthod ymostwng. Y mae y ddau gyda'u gilydd yn gosod allan wir natur ffydd ar un llaw, a gwir natur anghrediniaeth ar y llaw arall. Nid cydsyniad deall, nac hyd yn nod ymddiried calon, ydyw ffydd, ond ymostyngiad yr ewyllys. Yr ewyllys sydd yn penderfynu tynghed dyn—y gyneddf ymherodrol ynddo. Mater o ewyllys ydyw credu—dyn yn ymostwng o ran ei ewyllys i Fab Duw; a mater o ewyllys ydyw anghredu—dyn yn gwrthod ufuddhau, yr ewyllys yn pallu plygu i Fab Duw. **Eithr y mae digofaint Duw yn aros arno ef.** Nid dwyfol nwyd yw digofaint, na chythrwfl teimlad, ond gwrthwynebrwydd cyson a chryf Duw yn erbyn pob drwg,—Duw yn teimlo at bechod yn ol graddau ei ddrwghaeddiant. Y mae digofaint Duw yn aros ar yr anghredadyn, pa mor foesol bynag ei fuchedd allanol: y mae ei iechyd yn pallu, ond y digofaint yn aros; y mae ei lwyddiant yn gwywo, ond y digofaint yn aros; y cyfeillion yn ymadaw, yr einioes yn myned, ond y digofaint yn aros! Yn nechreu ei weinidogaeth llefara y Bedyddiwr am lid Duw, "y llid a fydd" (Matt. iii. 7); yn ei diwedd cyfeiria at "ddigofaint Duw." Y mae ei weinidogaeth yn dibenu mewn taran. Gair olaf yr H. D. yw "melldith" (Mal. iv. 6); gair olaf prophwyd olaf yr Hen Oruchwyliaeth yw "digofaint.

## PENNOD IV.

PAN wybu yr Arglwydd gan hynny glywed o'r Phari- 1
seaid fod yr Iesu yn gwneuthur ac yn bedyddio mwy
o ddisgyblion nag Ioan, (Er na fedyddiasai yr Iesu ei hun, 2
eithr ei ddisgyblion ef,) Efe a adawodd Judea, ac a aeth 3

---

## PENOD IV.

### YMADAWIAD CRIST O JUDEA. ADN. 1—6.

**ADN. 1. Gan hyny pan wybu yr Arglwydd.** Pedair gwaith yn yr efengyl y geilw Ioan Ef yn Arglwydd, sef yma; vi. 23; xi. 2; xxx. 20. Paham y geilw Ioan Ef yn y lleoedd hyn yn Arglwydd? Am yr edrych arno o'i safle apostolaidd; ond yn union y desgrifia Ef yn ei gysylltiadau hanesyddol, dychwela at yr enw hanesyddol, sef Iesu. Pa fodd y "gwybu" yr Iesu? Mewn ffordd naturiol. Nid yw y gair "gwybod" (*ĕgnō*) yn dynodi dim arbenigrwydd yn y ffordd o wybod. Y mae dyn yn gyfansoddedig o elfen faterol ac elfen eneidiol; eto ymuna y ddwy mewn un ymwybyddiaeth yn yr un person. Ni fedrwn egluro eu cysondeb, eto yr ydym yn sicr o'r ffaith. Felly hefyd, mewn ffordd anfeidrol uwch, gyda golwg ar yr Arglwydd Iesu: ni ddylid gwadu nac esbonio ymaith yr elfen ddynol na'r elfen ddwyfol. Weithiau y mae y naill yn fwy amlwg, ac weithiau y llall; ond y mae y ddwy yn cydsefyll yn ymwybyddiaeth personol y Duw-ddyn. **Y modd y clywodd y Phariseaid.** Yn hytrach y dymher yn mha un y clywsant y newydd – tymher chwerw, gâs. "Yr Iuddewon" oedd y gair hyd yma, gan gynwys y Sadduceaid a'r Phariseaid. Ond ni sonia Ioan am y Sadduceaid, oblegid (1) yr oeddynt fel sect o bosibl wedi diflanu pan yr ysgrifenai ei efengyl; ac (2) er eu bod yn swyddogion crefydd, eto Iuddewiaeth yn ei gwedd wleidyddol a chenedlig oedd yn eu dyddori hwy. Y Phariseaid oedd yn cynrychioli gwir ysbryd Iuddewon yr oes; o ganlyniad, hwy oedd prif elynion yr Iesu. **Fod yr Iesu yn gwneuthur ac yn bedyddio mwy o ddysgyblion nag Ioan.** Dyna y geiriau a adroddwyd wrth y Phariseaid, a phe eu hysgrifenid yn yr oes hon dodasid hwy rhwng atalnodau i arwyddo mai dyfyniad ydynt. Yr oedd bedydd Ioan wedi peri pryder iddynt; y mae bedydd Crist yn peri dychryn, am fod ei honiadau yn uwch a'i ddylanwad yn ddyfnach.

**ADN. 2. Er na fedyddiasai yr Iesu ei hun, ond ei ddysgyblion Ef.** Cywiriad yr efengylwr ar y geiriau a adroddwyd wrth y Phariseaid yn gystal ag eglurhad ar iii. 22. Paham na fedyddiasai yr Iesu ei hun? Llawer o ddyfaliadau y sydd, eithr nid oes ond un a dim grym ynddo, sef mai ei drefn Ef oedd i'w ddysgyblion fedyddio â dwfr, ac yntau â'r Ysbryd Glân.

**ADN. 3. Efe a adawodd Judea.** Yn gyntaf gadawodd y deml am y ddinas; yn nesaf gadawodd y ddinas am wlad Judea; ac yma gedy wlad Judea am Galilea. Y mae y gair am ymadael (*ăphiēmi*) yn air difrifol iawn, ac yn golygu gollwng o sylw, gollwng o afael, gadael yn llonydd. Yr oedd wedi gweinidogaethu yn Judea am tua wyth mis;

4 drachefn i Galilea. Ac yr oedd yn rhaid iddo fyned trwy
5 Samaria. Efe a ddaeth gan hynny i ddinas yn Samaria a
elwid Sichar, ger llaw y rhandir a roddasai Jacob i'w fab

---

disgwyliai bethau gwych; ond wedi gweled chwerwder swyddogion crefydd trôdd ei gefn mewn diflasdod, gollyngodd Judea allan o'i afael, ni phregethodd yno byth drachefn. **Ac a aeth drachefn i Galilea.** Y mae y "drachefn" yn cyfeirio yn ddiamheu at ei fynediad i Galilea y tro cyntaf yn i. 43. Ai dyma y daith i Galilea y cyfeirir ati yn Matt. iv. 12? Etyb mwyafrif yr esbonwyr yn gadarnhäol, ac felly fod Ioan eisoes wedi ei fwrw i garchar, ac mai hyn oedd y rheswm paham y prysurodd Crist ei ymadawiad o Judea. Ond barna eraill i garchariad Ioan gymeryd lle, nid rhwng y drydedd a'r bedwaredd benod, ond rhwng y bumed a'r chwechfed. Yr oedd yr Iesu yn Jerusalem yn ngŵyl y Pasg ii. 23; yna gweinidogaethodd yn Judea am tuag wyth mis, sef hyd ddechreu y benod hon; yn awr cychwyna ar ei daith i Galilea, a gweinidogaetha yno am tua phedwar mis, iv. 35; yna yn mhen y flwyddyn dychwela i Jerusalem i'r ail Basg (v. 1). Ar ddiwedd y Pasg hwn, dychwela i Galilea am y drydedd waith, a chyda y trydydd dychweliad hwn y dechreua yr efengylwyr eraill eu hanes. Felly y mae yr efengylwyr Synoptaidd yn gadael allan yn gyfangwbl flwyddyn gyntaf gweinidogaeth yr Iesu, sef rhwng Pasg ii. 23, a Phasg v. i. Yn vi. 4 darllenwn, fel y tybiwn, am y trydydd Pasg, a diau i'r Iesu dreulio yr ail flwyddyn, rhwng v. 1 a vi. 4, yn Galilea yn ol hanes Matthew a Marc, ond yr hwn a adewir allan gan Ioan. Yn ol hyn adrodda Ioan hanes blwyddyn gyntaf ei weinidogaeth yn mhenodau ii., iii. a iv., yr hon a dreuliwyd yn benaf yn Judea; adrodda Matthew a Marc hanes yr ail flwyddyn, yr hon a dreuliwyd yn benaf yn Galilea, ac am hyny a adewir allan gan Ioan.

**ADN. 4. Ac yr oedd yn rhaid iddo fyned trwy Samaria.** "Rhaid" daearyddol, am fod talaeth Samaria yn gorwedd rhwng Judea a Galilea. Gellid myned trwy Perea y tuhwnt i'r Iorddonen; dyna ffordd arferol y Phariseaid er gochel Samaria, a dyna y ffordd a gymerodd yr Iesu ei hun ar ei daith gyntaf (i. 43). Ond mwy cyfleus iddo yn awr fyned trwy Samaria, gan fod Salim ar gyffiniau y dalaeth. Gwelai yr hen esbonwyr "raid" arall, sef rhaid arfaeth neu gynllun Dwyfol; ac y mae canlyniadau yr ymweliad â Samaria yn peri i ni edrych ar yr esboniad hwn gyda pharch. Ai hap yw y bedwaredd benod hon, gyda'i gwirioneddau aruchel a'i chanlyniadau cysurlawn? Gwell genym ni gyfeiliorni trwy weled gormod o Dduw mewn hanes na rhy fach. Pa fodd y cysonir ei ymddygiad Ef yma â Matt. x. 5? Ni waharddai yr Apostolion i dramwyo trwy y wlad pan yn angenrheidiol, ond gwarafunai iddynt weinidogaethu yno ar hyny o bryd.

**ADN. 5. Felly daw i ddinas o Samaria a elwid Sychar.** Arferid meddwl mai yr un oedd y ddinas hon a Sichem, a'i bod wedi derbyn yr enw Sychar, naill ai trwy dreigliad y cydseiniau neu mewn gwawd o'r trigolion. Y mae yr enw o ran ei sain yn gyffelyb i ddau air Hebraeg, un yn golygu celwydd (Hab ii. 18), a'r llall yn golygu meddwdod (Es. xxviii. 1). Gelwid hi ar ol hyn yn Neapolis, sef y "Drefnewydd," yr

Joseph: Ac yno yr oedd ffynnon Jacob. Yr Iesu gan hynny 6
yn ddiffygiol gan y daith, a eisteddodd felly ar y ffynnon:
ac ynghylch y chweched awr ydoedd hi. Daeth gwraig o 7

---

hwn air Groeg sydd wedi ei lygru i ffurf Arabaeg yn yr enw presenol, Nablûs. Ond gwrthodir y golygiad hwn gan esbonwyr diweddar am ddau reswm. (1) Pe Sichem a feddylid, tref bwysicaf y dalaeth, ni ychwanegid "dinas o Samaria," gan fod ffurf yr ymadrodd yn awgrymu dinodedd. (2) Y mae Nablûs tua 1½ milldir o ffynhon Jacob, ac er caniatau yr estynasai y dref y pryd hwnw yn mhellach i'r wlad, nid yw yn debyg, y deuai gwraig dros filldir i dynu dwfr, pan oedd amryw ffynhonau gloewon yn nes ati. Gan hyny, casgla esbonwyr diweddar yn go unfrydol mai pentref arall, a elwir yn awr Askar, a ddynodir,—tua deng munyd o gerdded o ffynhon Jacob, rhwng Ebal a Gerizim. (Cyd. Gen. xxxiii, 19; xlviii. 22; a Jos. xxiv. 32.)

**ADN. 6. Ac yno yr oedd ffynhon Jacob.** Pery y ffynhon hyd heddyw, ac nid oes gwahaniaeth barn yn mhlith teithwyr am ei safle. Pydew ydyw wedi ei gloddio yn ddwfn yn y ddaear, a'i ochrau wedi ei furio a meini geirwon, fel ei hadeiladwyd gan weision y patriarch. Y mae yn 9 troedfedd o dryfesur, a dau can mlynedd yn ol yr oedd yn 170 troedfedd o ddyfnder. Ond gan fod teithwyr yn gystal a'r trigolion yn taflu ceryg i lawr iddo, nid yw y dyfnder yn awr ond tua 70 troedfedd. Ar adegau gwlybion o'r flwyddyn, ceir dwfr ynddo; ar amserau eraill, sycha i fynu. Ond paham y cloddiodd Jacob bydew mewn ardal lle y mae cyflawnder o *springs?* Am y dymunai, yn ddiau, i gael dwfr ar ei dir ei hun, i ochel pob cynhen rhwng ei fugeiliaid ef a'r bugeiliaid brodorol, yr hyn oedd yn achlysur gofid parhaus i'r patriarchiaid. **Yr Iesu gan hyny yn ddiffygiol gan y daith.** Ioan sydd yn ymhelaethu fwyaf o neb ar Dduwdod yr Arglwydd Iesu, eto efe sydd yn gosod allan gryfaf ei wir ddynoliaeth. Cymerodd yr Iesu y ddynoliaeth yn ei chyfanrwydd; nid y ddynoliaeth fel yr ydoedd cyn y Cwymp,—nid oedd i'w chael felly yn unman, ond fel y mae hi ar ol y Cwymp, yn ddynoliaeth yn llawn gwendidau, ac un o'r gwendidau hyny yw lludded. **Oedd yn eistedd felly ar y ffynhon**—*was sitting.* Nid eistedd ar y ddaear ond ar y ffynhon, sef y mur o'i hamgylch yr hwn a godai droedfedd neu ddwy yn uwch na'i genau, er rhwystro anifeiliaid a phlant i syrthio i mewn iddi. Yn ol ymyl y ddalen yn y Cyf. Diw.,—"oedd yn eistedd fel yr oedd," i ddangos blinder eithafol. **Ac ynghylch y chwechfed awr ydoedd hi.** (Gwêl sylwadau ar i. 39).

Y DWFR BYWIOL. ADN. 7—15.

**ADN. 7. Daeth gwraig Samaritanaidd i dynu dwfr.** Sefydlir y meddwl yn benaf ar yr ansoddair. Gwraig o Sychar, yn Samaria, yr hon dalaeth a breswylid gan bobl wahanol i'r Iuddewon o ran gwaedoliaeth ac i raddau o ran crefydd. Sefydlwyd Samaria gan Omri (1 Bren. xvi. 22, 24), a daeth yn brifddinas Israel mewn cyferbyniad i Jerusalem, prifddinas Judah. Parhäodd felly hyd 721 C.C. pryd y gwarchaewyd hi gan Salmaneser, brenhin Assyria, ac y caethgludwyd y Deg Llwyth i Ninefeh. Gan fod y wlad, mewn canlyniad, yn gydmarol anghyfanedd, Eserhaddon, brenhin Assyria, a ddug bobl gymysg o Assyria, "ac a'u

Samaria i dynnu dwfr: a'r Iesu a ddywedodd wrthi, Dyro
8 i mi i yfed. (Canys ei ddisgyblion ef a aethent i'r ddinas
9 i brynu bwyd.) Yna y wraig o Samaria a ddywedodd
wrtho ef, Pa fodd yr ydwyt ti, a thi yn Iuddew, yn gofyn
dïod gennyf fi, a myfi yn wraig o Samaria? oblegid nid

---

cyfleodd yn ninasoedd Samaria" (2 Bren. xvii. 24). Ymbriodasant yn ddiau â'r brodorion a adawyd yn weddill yn Israel, a dadblygasant yn genedl gymysg. Yn raddol cyfaddasodd y dyeithriaid hyn eu crefydd i hên grefydd y wlad. Ond ni fynai yr Iuddewon arddel perthynas â hwy; gwrthodasant eu cynorthwy i adeiladu yr ail deml. Chwerwodd y teimladau o'r ddau tu. Pan yr erlidiwyd Manasseh o Jerusalem gan Nehemiah, oblegid na ysgarai ei wraig Samaritanaidd, merch Sanbalat, efe a ffodd at y Samariaid; a chan ei fod o linach yr archoffeiriadaeth adeiladwyd teml ar fynydd Gerizim iddo ef weinyddu ei swydd ynddi. Glynai y Samariaid wrth y ffurf Iuddewig o addoli, derbynient Bum Llyfr Moses fel safon ffydd ac ymarweddiad. Yn 129 C.C. llosgwyd teml Gerizim gan John Hyrcanus, ac ni ail-adeiladwyd hi; ond parhaodd y ddwy gyfundrefn o grefydd—yr Iuddewig a'r Samaritanaidd—i fodoli ochr yn ochr, a dyfnhâi gelyniaeth y ddwy genedl at eu gilydd, nes o'r diwedd na chymdeithasent ond i ddybenion masnachol. Parhâ sect y Samaritaniaid hyd y dydd heddyw, er y dywedir na rifa yn awr fwy na 150 o aelodau. Ond y mae yn amlwg, gan nad beth oedd rheolau mympwyol y Rabbiniaid ar y mater, na theimlai yr Iesu unrhyw rwymedigaeth i dalu gwarogaeth iddynt.

**ADN. 8. Canys ei ddysgyblion a aethant i'r ddinas i brynu bwyd.** Eglurhad yr efengylwr fod yr Iesu yn ceisio dwfr, sef absenoldeb y dysgyblion, y rhai, debygir, oedd wedi myned â'r gostrel ddwfr gyda hwy, yr hon yr arferai teithwyr ei dwyn gyda hwy. Gan y gallent hwy gerdded i'r ddinas ac yn ol, sut i gyfrif am flinder eithafol yr Iesu? A oedd Efe yn fwy diffygiol na hwynthwy? Rhaid ei fod, sut bynag y cyfrifir am hyny. Gorweddai y pryder i gyd arno Ef, ac y mae pryder yn fwy difaol na llafur. Gwyddom hefyd ei arferiad ar adegau pwysig yn ei hanes, pan ar gymeryd cam newydd, o dreulio y nos o'r neilldu mewn cymundeb â Duw. Ai nid dyna y rheswm? Yr oedd wedi treulio y ddoe mewn gwaith, y nos mewn gweddi, a heddyw ar daith: nid rhyfedd ei fod yn ddiffygiol. A aeth yr holl ddisgyblion i'r ddinas? Tybir yn aml fod Ioan wedi aros gyda'r Iesu, ac mai dyna yr eglurhâd mai efe yn unig sydd yn croniclo yr ymddiddan. Ond wrth gydmaru adn. 8 a 33, erys yr argraph fod yr Iesu yn awr yn hollol wrtho ei hun. Os felly rhaid fod Ioan wedi cael sylwedd yr ymddiddan naill ai o enau y wraig, neu, yr hyn sydd debycach, o enau yr Iesu ei hun. A oes rhywbeth yn ddarostyngol yn y dybiaeth i'r Iesu adrodd yr hanes rhyfedd wrth ei hoff ddysgybl?

**ADN. 9. Pa fodd yr wyt ti, a thi yn Iuddew, &c.** Gwyddai mai Iuddew ydoedd (1) oddiwrth ffurf ei wynebpryd o bosibl, er fod lle cryf i amheu a oedd y nodwedd Iuddewig ar wyneb yn fwy nag ar feddwl Mab y Dyn. (2) Oddiwrth ei wisg. Tra y gwisgai y Samariaid *fringe* las,

yw yr Iuddewon yn ymgyfeillach â'r Samariaid. Yr Iesu 10
a attebodd ac a ddywedodd wrthi, Ped adwaenit ti ddawn
Duw, a phwy yw yr hwn sydd yn dywedyd wrthyt, Dyro i
mi i yfed; tydi a ofynasit iddo ef, ac efe a roddasai i ti
ddwfr bywiol. Y wraig a ddywedodd wrtho, Arglwydd, 11
nid oes gennyt ti ddim i godi *dwfr*, a'r pydew sydd ddwfn:

---

gwisgai yr Iuddewon *fringe* wen. (3) Oddiwrth ei acen, yn yr un ffordd ag y gwahaniaethir Gogleddwr oddiwrth Ddeheuwr. Ni allasai llwyth Ephraim, rhandir yr hwn oedd yn nhalaeth Samaria, oherwydd *lisp* gynhenid, yngan y llythyren Hebraeg Shin, megis nas gall lluaws o drigolion un parth o Gymru wneyd hyny yn awr. "Sibboleth" meddent, nid Shibboleth (Barn. xii. 5, 6). Ac yr oedd y lythyren hon, *sh,* yn nghyfarchiad cyntaf Crist i'r wraig, *Teni lishekoth* (Dyro i mi i yfed), tra y dywedai Samariad *Teni lisekoth.* Mŷn Edersheim mai *Teni li lishtoth* oedd y geiriau; ond yn y naill ffurf neu'r llall gwelir y sain *sh.* **Yn gofyn diod genyf fi, a myfi yn wraig o Samaria?** Diau fod y prif bwyslais, nid ar y gair gwraig, ond ar Samaria. Nid ei rhyw yn gymaint a'i chenedl sydd yn cytansoddi y cyferbyniad. Os gofynid am ddwfr o gwbl, rhaid oedd gofyn i wraig, am mai gwragedd a arferent dynu dwfr. Mor anarferol oedd i wr gario dwfr fel y gwnaeth yr Iesu hyny yn nod trwy yr hwn yr adnabyddai y dysgyblion y dyn yn nhy yr hwn y dymunai gadw y Pasg diweddaf (Marc xiv. 13). **Oblegid nid yw Iuddewon yn ymgyfeillachu â Samariaid.** Gadewir y frawddeg hon allan mewn rhai hen lawysgrifau, ond cedwir hi i mewn yn y Cyf. Diw. Pwy a'i llefarodd? (1) Ioan, meddai rhai, fel eglurhad ar ymddygiad y wraig. (2) Y wraig ei hunan, dybiwn ni, yn cael ei gorfodi gan ledneisrwydd greddfol gwraig i wneuthur haner eglurhâd a haner ymddiheuriad am wrthod cais mor resymol. Pe Ioan a leferasai yr ymadrodd, rhoddasai ef y ferf yn yr amser gorphenol, gan fod yr ystâd hono ar bethau wedi diflanu gyda dinystr Jerusalem; ond naturiol i'r wraig lefaru yn yr amser presenol.

**ADN. 10. Pe adwaenit ti ddawn Duw.** Ystyr "dawn" yw rhodd, fel y gwelir yn y geiriau Saesonaeg "*donor,*" "*donation.*" Pa rodd ynte yw hon? (1) Yr Aglwydd Iesu ei hun, y "rhodd annhraethol." (2) Yr Ysbryd Glân, yr hwn a osodir allan yn aml yn yr H. D. dan y ffugr o ddwfr (Zech. xiv. 8; Jer. xi. 13; xvii. 13). (3) Barna eraill y golyga bob rhodd o eiddo Duw ag sydd yn drysoredig yn Nghrist. Felly yn y gwaelod nid yw y farn hon yn gwahaniaethu fawr oddiwrth y gyntaf. (4) Tybiwn ni, fodd bynag, fod y cysylltiadau yn deffinio y ddawn. Dawn Duw=dwfr bywiol=bywyd tragwyddol. Y mae yr Iesu yma wedi croesi i'r byd ysbrydol, ond nid yw y wraig wedi croesi y ffin eto.

**ADN. 11. Syr.** Y mae yr Iuddew wedi dadblygu yn "Syr" yn ei theimlad. Yr oedd dull boneddigaidd y Ceidwad, ei aceniad addfwyn, a dirgelwch ei ymadrodd wedi gwneyd argraph ffafriol arni yn ddiarwybod iddi ei hun. Teimlai fod rhyw Bresenoldeb Gwyn o'i blaen. Nid gwawdiaith sydd yma, ond datganiad o deimlad parchus. **Nid oes**

o ba le gan hynny y mae gennyt ti y dwfr bywiol hwnnw?
12 Ai mwy wyt ti na'n tad Jacob, yr hwn a roddodd i ni y
pydew, ac efe ei hun a yfodd o hono, a'i feibion a'i anifeil-
13 iaid? Iesu a attebodd ac a ddywedodd wrthi, Pwy bynnag
14 sydd yn yfed o'r dwfr hwn, efe a sycheda drachefn: Ond
pwy bynnag a yfo o'r dwfr a roddwyf fi iddo, ni sycheda
yn dragywydd; eithr y dwfr a roddwyf iddo, a fydd ynddo

---

**genyt ti ddim i godi, a'r pydew sydd ddwfn, o ba le gan hyny y mae genyt ti y dwfr bywiol hwnw?** Canfydda ei fod Ef yn llefaru am ryw ddwfr amgen na dwfr ffynhon Jacob, ond fel Nicodemus metha dori trwy bared y naturiol. Y mae y pydew yn ddwfn, meddai; ond teimla fod geiriau yr Iesu yn ddyfnach.

ADN. 12. **Ai mwy wyt ti na'n tad Jacob?** Y "ti" yn bwysleisiol. Hònai y Samariaid berthynas gwaed â Jacob trwy Ephraim, yn rhandir yr hwn y trigent; a chan eu bod i raddau yn anwybodus o'u tarddiad o Assyria, edrychent arnynt eu hunain fel disgynyddion y patriarchiaid. A wyt *ti* yn honi y medru roddi gwell dwfr nag a roddodd Jacob i ni? Dàl i fynu anrhydedd y ffynhon y mae hi. A oes genyt ti, yn dy gartref di, well ffynhon na hon? Symuda o hyd y tu yma i'r llen.

ADN. 13. **Pob un a'r sydd yn yfed y dwfr hwn, efe a sycheda drachefn.** Nid yw y dwfr hwn yn difodi syched, dim ond ei dori. Wedi yfed unwaith a dwywaith, efe a sycheda drachefn—bydd y syched mor angherddol ag erioed. Rhaid fod anmherffeithrwydd yn y dwfr; prawf o hyny yw fod y syched yn dychwelyd. Ac yn y dwfr y mae yr anmherffeithrwydd, canys y mae "pob un" (nid pwy bynag) ag sydd yn yfed yn sychedu drachefn. Ac er mai am bydew Jacob y mae yn siarad, y mae y meddwl yn ddiarwybod yn gweled cyfeiriad at "bydewau" pleser o bob math. Yr oedd y wraig wedi yfed o lawer pydew, a rhai o honynt yn waharddedig, ond yr oedd ei syched yn fwy nag erioed. "Pydewau toredig" yw pydewau y byd.

ADN. 14. **Ond pwy bynag a yfo.** "Pob un" yn yr adnod flaenorol, "pwy bynag" yn yr adnod hon. Beth yw y gwahaniaeth? Ffaith gyffredinol yn adn. 13; posiblrwydd cyffredinol yn adn. 14. **O'r dwfr a roddwyf fi iddo.** Y "fi" yn bwysleisiol. **Ni sycheda mewn un modd dros byth.** Tebyg i hynyna yw y gwreiddiol. Os yw yr effeithiau mor wahanol, onid oes gwahaniaeth yn natur y dwfr? "Pob un a'r sydd yn yfed" yn adn. 13, yn yr amser presenol, i arwyddo parhâd; ond er yfed yn fynych, dychwel y syched. "**Ond pwy bynag a yfo,**" yn yr amser dyfodol; un weithred o yfed yn tori y syched am dragwyddoldeb! Nid na fydd dymuniadau ehangach yn parhau i godi, ond nid aiff y dymuniadau byth yn syched. Fel y bydd y dyheadau yn codi, bydd y dwfr bywiol o hyd yn eu cyflenwi. Bydd yr anghen a'r cyflawnder byth yn ngafael eu gilydd. **A'r dwfr a roddwyf iddo a ddaw i fod ynddo yn ffynhon o ddwfr.** Ynof fi y mae y ffynhon yn awr, a myfi sydd yn rhoddi y dwfr; ond wedi i ddyn yfed o hono, caiff ei fod yn ffurfio yn ffynhon o'i fewn—ä y ffynhon sydd ynof fi yn ffynhon ynddo ef, a bydd y ddwy ffynhon mewn cymundeb parhaus â'u gilydd. Nid oedd dwfr

yn ffynnon o ddwfr yn tarddu i fywyd tragywyddol. Y 15
wraig a ddywedodd wrtho, Arglwydd, dyro i mi y dwfr
hwn, fel na sychedwyf, ac na ddelwyf yma i godi *dwfr*.
Iesu a ddywedodd wrthi, Dos, galw dy wr, a thyred yma. 16
Y wraig a attebodd ac a ddywedodd, Nid oes gennyf wr. 17
Iesu a ddywedodd wrthi, Da y dywedaist, Nid oes gennyf

---

ffynhon Jacob yn tori syched ond am dymhor, ac yr oedd yn mhell o'r man yr oedd yr anghen—dau ddiffyg pwysig iawn. Ond gwneir y ddau ddiffyg i fynu yn yr Efengyl—tora syched am byth, ac y mae y tu fewn i'r hwn sydd ar anghen arno. **Yn tarddu i fywyd tragwyddol**. Y mae y gair "tarddu" yn golygu "neidio." Bydd y fath ergyd yn llygad y ffynhon fel y neidia y bwrlymiadau tuag i fynu. Y mae y bywyd tragwyddol sydd yn fôr yn y Gair ymgnawdoledig yn troi yn ffynhon yn nghalon y credadyn, ac "o'r lle y daeth yr afonydd, yno y dychwelant eilwaith." "Ni orphwys yr hyn sydd dragwyddol," ebe Olshausen, "nes cyrhaedd y tragwyddol."

**ADN. 15. Syr, dyro i mi y dwfr hwn, &c.** Gŵyr y wraig yn awr mai nid am ddwfr ffynhon Jacob y llefara, ond pa ddwfr nis gŵyr; ac eto teimla rhyw ddymuniad yn codi am rywbeth na all roddi enw arno. "Ni wyddai y wraig," meddai Stier, "yn gywir beth a ddywedai neu a ddymunai ddyweyd; yr oedd mewn dyryswch rhwng gwawriad o ryw amgyffrediad o'r meddwl ysbrydol tra y glynai ei meddwl wrth yr ystyr ddaearol. Y moesol ynddi a gyrhaedda yn mhellach na'r daearol."

NATUR ADDOLIAD. ADN. 16—26.

**ADN. 16. Galw dy wr.** Paham y dywedodd yr Iesu hyn wrthi? (1) Tybia rhai, gan iddi gyfeirio at godi dwfr, mai dwfr at wasanaeth ei phriod a feddyliai, a bod yr Iesu yn ei chyfarwyddo, mewn canlyniad, i alw am dano fel y gallai yntau hefyd gyfranogi o'r dwfr bywiol. (2) Ond diau mai y prif amcan oedd dwyn yr ymddiddan i bwynt ymarferol. Dengys ei hateb blaenorol addfedrwydd ynddi i'r Iesu anfon saeth argyhoeddiad i'w meddwl,—cymhwyso y gwirionedd at ei hachos personol. Nid digon fod y goleuni yn chwareu yn yr awyr o'i hamgylch,—canolbwyntia Efe y goleuni ar fan pwdr ei bywyd, er llosgi argyhoeddiad i mewn i'w henaid.

**ADN. 17. Nid oes genyf wr.** Y pwyslais ar "wr." Gellir ei phortreadu yn awr a gwrid yn ymdaenu dros ei gruddiau a chywilydd yn dyfnhau edrychiad ei llygaid. Deffry rhyw deimladau llednais newydd o'i mewn yn mhresenoldeb yr Iesu fel gwreiddiau blodau dan dywyniad haul. **Da y dywedaist**. Gwych (*kalôs*), y gair am *beautiful*. Mor drwyadl y deallai yr Iesu y natur ddynol, ac eto heb wenieithio dim iddi! Tra y gyrai gair sarug y wraig yn mhell, y mae gair tyner yn ei denu. "*Beautiful* y dywedaist"—y mae rhyw brydferthwch moesol mewn cyffesu pechod.

**ADN. 18.** Tybia Bauer a Straus, a dilynir hwy gan Hengstenberg, mai l'efaru mewn alegori y mae yr Iesu yma, gan wneyd y pum gwr i gynrychioli pum duw y pum cenedl a symudodd Esarhaddon i boblogi

18 wr: Canys pump o wŷr a fu i ti; a'r hwn sydd gennyt yr
19 awrhon, nid yw wr i ti: hyn a ddywedaist yn wir. Y

Samaria, ar ol caethgludiad y Deg Llwyth (2 Bren. xvii. 30, 31), ac mai y chwechfed, heb fod yn wr iddi oedd Jehofah yr Israel! Eithr nid yw hynyna ond un enghraipht o gywreinrwydd beirniadaeth wedi rhedeg yn wyllt.

**Canys pump o wŷr a fu i ti.** Dysg hyn lacrwydd y rhwymyn priodasol, ac felly ystâd isel moesoldeb yn y wlad. Yr oedd ysgariaeth yn beth cyffredin yn mhlith Iuddewon a Samariaid, er nad mor gyffredin ag yn mhlith y cenedloedd amgylchynol. Pa un ai byw ai marw oedd y pum gwr hyn, y mae y ffaith noeth yn profi fod lledneisrwydd moesol y wraig wedi ei bylu. **A'r hwn sydd genyt yr awrhon, nid yw wr i ti.** Mŷn rhai, oddiwrth y rhagenw (*sou*), y dylid taflu y pwyslais ar "ti"—nid gwr i *ti*, ond gwr i arall; ac felly ei bod yn byw mewn anweddeidddra dyblyg. Ond barnwn fod hynyna yn gwthio yr ymadrodd yn mhellach nag sydd gyfreithlon, ac mai y gair "gwr" sydd yn bwysleisiol. "Yr hwn sydd genyt awrhon, nid yw *wr* i ti"—yr ydych eich dau wedi sathru ordinhad priodas dan draed. Ond cymerer y naill neu y llall, gwelir ei bod, er yn meddu ar reddfau ardderchog, yn ddynes ddigymeriad. Y mae genym hanes llawn hefyd am Socrates yn ymddiddan â merch afradlon; ond mor anfesuradwy y gwahaniaeth rhwng y ddau ymddiddan! Dysg doethawr Groeg y fenyw "ddyeithr" pa fodd i wenieithio yn well â'i geiriau teg er hudo y ffol i'w rhwyd; ond wele yma Ddysgawdwr sydd yn cipio y bechadures fawr megis pentewyn o'r tân, ac yn ei defnyddio i daenu dylanwadau iachusol mewn cymdeithas. Pa fodd y gwyddai yr Iesu y manylion hyn am ei hanes? (1) Etyb rhai mai wedi clywed gan eraill yr ydoedd—tybiaeth ddisail. (2) Megis y gellir dywedyd oedran pren wrth y modrwyau yn ei fôn, felly gallai yr Iesu, fel dyn perffaith, ddarllen marciau ei holl briodasau yn ei gwedd. Dyma y golygiad a amddiffynir gan Lange. Ond tra yn caniatau fod pob pechod yn gadael ei ôl yn ddwfn ar enaid a chorph, eto gormod priodoli i ddyn, pa mor berffaith bynag, y gallu i ddarllen manylion hanes pechadur yn ei wynebpryd. (3) Dysga eraill mai fel prophwyd y gwyddai. Megis y gwyddai Eliseus, yn rhinwedd ei ddawn brophwydol (2 Bren. v. 25—27) ddygwyddiadau a gymerent le yn y pellder, felly medrai yr Iesu yn ei gymeriad prophwydol, dan gynhyrfiad yr Ysbryd, wybod manylion hanes y wraig. Tra yn credu ei fod yn brophwyd, eto gofynwn a'i rhagoriaeth graddau oedd yn ei hynodi yn mysg prophwydi eraill? Yr oedd yn frenhin ac offeiriad; ond nid gwahaniaeth graddau yn unig oedd rhyngddo a brenhinoedd ac offeiriaid eraill—yr oedd y gwahaniaeth graddau mor fawr nes myned yn wahaniaeth natur. Felly yma: er fod Crist yn brophwyd, nid prophwyd rhagorach mewn graddau na'r lleill ydoedd—yr oedd y gwahaniaeth graddau yn gymaint nes cyfansoddi gwahaniaeth natur. Yr oedd yn brophwyd mewn ystyr na fu neb arall erioed. Felly, (4) y mae ei wybodaeth brophwydol a'i wybodaeth ddwyfol yn ymdoddi i'w gilydd mewn modd nas gellir nodi y clawdd ffin rhyngddynt. Y mae ei berffeithrwydd fel prophwyd yn profi ei fod yn fwy na phrophwyd, a beth yw hyny ond Duw? Y mae ei wybodaeth ddwyfol at wasanaeth ei ddyndod, nid heb gyfryngiad yr

wraig a ddywedodd wrtho ef, Arglwydd, mi a welaf mai
prophwyd wyt ti. Ein tadau a addolasant yn y mynydd 20
hwn; ac yr ydych chwi yn dywedyd mai yn Jerusalem y
mae y man lle y mae yn rhaid addoli. Iesu a ddywedodd 21
wrthi hi, O wraig, cred fi, y mae yr awr yn dyfod, pryd

---

Ysbryd Glân, y mae yn wir; ac eto nid derbyn o eiddo arall y mae, ond o'i eiddo ei hun.

**ADN. 19. Syr, mi a welaf mai prophwyd wyt ti.** Y pwyslais ar "prophwyd," ac nid ar "ti," fel y mŷn rhai. "Iuddew—Syr—Prophwyd": dyna yr esgyneb.

**ADN. 20. Ein tadau a addolasant ar y mynydd hwn**—Gerizim. Ofer ymholi beth yn bendant a olygai wrth y "tadau"—ni allasai ateb ei hunan gyda dim penderfynolrwydd, canys nid oedd hi yn awdurdod yn hanes ei phobl. Golyga yn syml yr henafiaid. **Ond yr ydych chwi yn dywedyd mai Jerusalem yw y man lle y mae yn rhaid addoli.** Dyna y ddadl oesol rhwng y Samariaid a'r Iuddewon,—Pa un ai Gerizim gerllaw Sichem, ai Moriah gerllaw Jerusalem, oedd y man y dylai y deml sefyll arno? Apeliai y Samariaid at Bum Llyfr Moses, yr unig lyfrau y cydnabyddent hwy eu dwyfoldeb, ac nid oedd ynddynt sôn am Moriah na Jerusalem o'r dechreu i'r diwedd, tra yr enwir Sichem a Gerizim fwy nag unwaith (Gen. xii. 6. 7; xxxiii. 20; Deut. xxvii. 4 yn y Pentateuch Samaritanaidd). Ac os ysgrifenwyd llyfrau Moses tua chyfnod y caethiwed Babilonaidd er mwyn canolbwyntio yr addoliad cenedlaethol yn Jerusalem, fel y dysga yr uwchfeirniaid, y mae yn sỳn na chrybwyllir Jerusalem ynddynt o gwbl. Gwir y cyfeirir at "Melchisedec, brenhin Salem;" ond pa le yr oedd Salem? Credai y Samariaid mai yn eu cymydogaeth hwy, a ffafrir eu crêd gan luaws o feirniaid galluog yr oes hon. Apeliai yr Iuddewon at lyfrau diweddarach yr H. D.; ond ni chaniatâi y Samariaid ddwyfol awdurdod y llyfrau hyny. Felly yr oedd y ddadl, o safbwynt y Samariaid, yn hollol gyfreithlon. Ond paham y cyfeiria y wraig at y ddadl o gwbl? (1) Etyb De Wette mai cyfrwysdra benywaidd sydd yma, er troi ymaith yr ymddiddan oddiwrth bwnge dolurus ei hanes. (2) Ond os yw ein hesboniadaeth ni yn gywir hyd yma, yr oedd y wraig wedi ei meddiannu gan ddifrifoldeb dwys. Yr oedd yn ing yr argyhoeddiad—wedi croesi y ffin o'r anianol i'r ysbrydol; ac unwaith y croesir y ffin, enilla pyngciau moesol ac ysbrydol ar unwaith mewn pwysigrwydd. Beth oedd pwngc mawr crefyddol ei hoes a'i chenedl? Dyna ydoedd—Ai Jerusalem ynte Gerizim oedd y màn y dylid addoli ynddo? Yr oedd cwestiwn y "lle" wedi llyngcu pobpeth arall iddo ei hun. Teimlai y wraig yn awr awydd i fod yn grefyddol; ond yn ei barn hi yr oedd gwirioneddolrwydd ei haddoliad i'w benderfynu gan briodoldeb y lle. Ymbalfaliad enaid sydd yma am y ffordd i ddyfod i gymod â Duw; a dyna y rheswm yr eglura yr Iesu gyda manylder iddi y ffordd y gallai hi, er anfoesoldeb oes, ddyfod i feddiant o wir grefydd.

**ADN. 21. O wraig, cred fi.** Cyfarchiad parchus. Defnyddir dwy ffurf, medd Westcott, i'r gair "credu": un (*pisteue*) yn dynodi ffydd

nad addoloch y Tad, nac yn y mynydd hwn, nac yn Jeru-
22 salem. Chwychwi ydych yn addoli y peth ni wyddoch :
ninnau ydym yn addoli y peth a wyddom : canys iachaw-

---

yn ei hosgo gyntaf, a'r llall (*pisteuson*) ffydd fel gweithred gyflawn, berffeithiedig. Y ffurf gyntaf sydd yma, i osod allan ffydd yn ei chychwyniad cyntaf. **Y mae yr awr yn dyfod.** Nid amser, ond awr. Nodweddid ymdaith yr arfaethau dwyfol yn y gorphenol gan gyfnodau ; ond erbyn hyn mater o oriau ydyw. **Pryd nad addoloch y Tad, nac yn y mynydd hwn, nac yn Jerusalem.** Yr oedd yr Hen Oruchwyliaeth ar ddiflanu. Yr oedd teml Gerizim eisoes yn adfeilion, a chyn pen 70 mlynedd byddai Jerusalem yn anghyfanedd a'r deml yn garnedd. Nid oedd o un gwerth ymarferol, gan hyny, i benderfynu rhwng y ddau le. **Y Tad.** Nid yw yr enw Tâd yn hollol ddyeithr, onide ni fuasai y wraig yn ei ddeall ; yr oedd ymwybyddiaeth grefyddol y genedl wedi ei daflu allan fel gwreichionen. Ond yr Iesu a ddatguddiodd ei gynwys. "Addoli y Tad": brawddeg newydd a thyner iawn. Cryfder oedd prif syniad y paganiaid am Dduw ; oblegid hyny dychryn oedd prif elfen eu haddoliad. Ond dyma Dduw sydd yn Dad ; oni dderbyn Efe afradlones i'w ffafr ?

**ADN. 22. Chwychwi ydych yn addoli y peth ni wyddoch.** Y "chwychwi" yn dynodi y Samariaid mewn cyferbyniad i'r Iuddewon. Gelwir Duw yma "y Peth," yn y *neuter gender*, canys nid Duw fel person, ond Duw fel cymeriad, a feddylir. Nid y cwestiwn oedd, Pwy oedd Dduw ? oblegid cytunai yr Iuddewon a'r Samariaid mai Jehofah, ac nid yr eilunod, oedd Dduw : ond beth oedd Duw ? beth oedd ei berffeithiau, a'i arfaethau ; mewn gair, beth oedd Duw yn y datguddiad o hono ? Yr oedd y Samariaid wedi gwrthod y datguddiad cyfan o Dduw yn yr H. D., gan gyfyngu ei hunain i'r llyfrau dechreuol ; a'r canlyniad oedd fod eu gwybodaeth o hono yn dra anmherffaith. "**Ninau**"—yr Iuddewon—"**ydym yn addoli y peth a wyddom.**" Ysgrifena y Parch. J. Ogwen Jones, B A., ar adn. 21 fel hyn : "Dalier sylw fod yr Iesu yn llefaru yn yr ail berson,—*addoloch*—gan wahanu ei hunan oddiwrth, a derchafu ei hunan uwchlaw, dynion, yn gymaint a'i fod Ef ei hunan fel Person Dwyfol yn wrthrych addoliad" Dadleua y diweddar Brifathraw D. Charles Davies, M.A., hefyd nad oedd Iesu Grist yn addolwr (*Iawn ac Eiriolaeth Crist, tud. 89*): "Er iddo ddiolch a gweddio, nid oedd y teimlad o annheilyngdod, sydd yn hanfodol i addoliad, yn ei weddïau Ef. Er iddo ymostwng i sefyllfa mor isel ag yr oedd, hwyrach, yn bosibl i Berson anfeidrol ddisgyn iddi, yr oedd sefyllfa îs yn bod, na allodd ddisgyn iddi—y sefyllfa o fod yn annheilwng o'r hyn yr oedd yn gofyn am dano gan ei Dad. Y mae y rhesymiad yn cael ei gadarnhau, yn 1af, Gan y ffaith fod y gair a arferir i ddynodi ei waith yn 'gofyn' yn cynwys ei gydraddoldeb â'i Dâd, ac yn air na arferir am waith dynion yn 'gofyn' ; ac yn ail, Gan y ffaith na ddywedir ei fod Ef yn addoli Duw o gwbl, tra y dywedir yn fynych ei fod yn cael ei addoli gan eraill. Os oes twyll yn y rhesymiad uchod, y mae yn gorwedd yn yr haeriad fod teimlad o annheilyngdod yn hanfodol i addoliad." Gorfodir ni, fodd bynag, i wahaniaethu oddiwrth

dwriaeth sydd o'r Iuddewon. Ond dyfod y mae yr awr, 23
ac yn awr y mae hi, pan addolo y gwir addolwyr y Tad
mewn ysbryd a gwirionedd : canys y cyfryw y mae y Tad

---

y ddau feddyliwr craff hyn ; yn gyntaf, oblegid y rhestra yr Iesu ei hunan yma yn mhlith y rhai oedd yn addoli ; yn ail, o herwydd cawn hanes am dano yn cyflawni actau o addoliad, sef gweddio a chanu mawl—y ffurfiau uchaf o addoli ; ac yn drydydd, am y cawn weled yn yr adnod nesaf nad yw "teimlad o annheilyngdod" yn hanfodol i addoliad. Ond sut y gallasai Person Dwyfol, ag oedd yn derbyn addoliad, roddi addoliad? Fel Person Dwyfol nis gallasai ; ond Person Dwyfol mewn natur a sefyllfa ddynol oedd yr Iesu. Nid yn noethder ei Dduwdod yr addolai, ond mewn undeb hanfodol â'r natur ddynol mewn ystâd o ymostyngiad. Nid yw hyn eto ond rhan o ddirgelwch mawr yr Ymgnawdoliad. **Canys iachawdwriaeth sydd o'r Iuddewon.** Dyma y tro cyntaf i'r gair "iachiawdwriaeth" ddygwydd ; ac y mae yn air mawr, ehang, cyfled ag anghen pechadur. "O'r Iuddewon," canys o honynt hwy yr hânodd Crist yn ol y cnawd, ac yn eu cenedl hwy y llifai afon datguddiad. O'r Iuddewon, ond i'r holl fyd. Yr oedd neillduolrwydd Iuddewiaeth o bwrpas i sicrhau cyffredinolrwydd iachawdwriaeth (Gen. xii. 1—3),—gwirionedd ag oedd yn guddiedig oddiwrth y genedl, ond yn eglur i feddwl Crist.

**ADN. 23. Ond dyfod y mae yr awr.** Yr un frawddeg ag yn adn. 21. **Ac yn awr y mae hi.** Brawddeg na cheir yn adn. 21. Paham y gwahaniaeth? Am mai dyfod oedd awr dinystr addoliad yn Jerusalem a Gerizim, cyfeiriad at ffaith a gymerai le yn hanes y dyfodol. Ond yma egwyddor a osodir i lawr, yr hon oedd yn wir y pryd hwnw, ond a dderbyniai gyflawniad helaethach yn y dyfodol. Ni fuasai "Yn awr y mae hi" yn wir yn adn. 21 ; ond y mae yn wir yn adn. 23. **Pan addolo y gwir addolwyr y Tad mewn ysbryd a gwirionedd.** Yr un gair am "wir" ag yn y brawddegau "y gwir oleuni," "y gwir fara," "a'r wir winwydden." Nid gwir mewn cyferbyniad i gau, ond y perffaith a'r cyflawn mewn cyferbyniad i'r anmherffaith a'r anghyflawn. "Gwir addolwyr" yw y rhai sydd yn cyfateb i'r drychfeddwl. Golygir mwy na diffuantrwydd, neu onestrwydd. Gall pagan addoli eilun gyda diffuantrwydd, ond oherwydd fod gwrthrych ei addoliad yn un gau, nid yw efe yn wir addolwr. Yr oedd saint yr H. D. yn addolwyr gonest, ac am fod ganddynt wir wrthrych addoliad, yr oedd eu haddoliad yn gymeradwy ; ond nid oeddynt yn "wir addolwyr" yn llawn ystyr yr adnod hon. Beth ynte sydd yn angenrheidiol i wneyd "gwir addolwyr"? Eu bod yn "addoli y Tad mewn ysbryd a gwirionedd" : y teimlad iawn, y syniad iawn, a'r gwrthrych iawn,—Ysbryd, Gwirionedd, Tad. Mewn Iuddewiaeth cai y seremoniol a'r defodol lawer o le ; a thra nad oedd ysbryd yn absenol, eto y materol oedd yn llywodraethu. Yn awr ysbryd sydd i lywodraethu,—dyn yn suddo i lawr i ddyfnderoedd ei fôd, ac o'r fan hono yn addoli. Ond beth yw addoli? Dywed y Prifathraw Davies, yn y dyfyniad uchod, fod y teimlad o annheilyngdod yn hanfodol iddo ; ond a yw hynyna yn wirionedd? Ymddengys i ni mai nid teimlad o'n hannheilyngdod ein hunain, ond teimlad cryf o deilyngdod

24 yn eu ceisio i'w addoli ef. Yspryd *yw* Duw; a rhaid i'r

---

Duw yw hanfod addoliad (Dat. iv. 11). Nid oes yn yr angel, y mae yn wir, deimlad o deilyngdod neu haeddiant; ar y llaw arall, nid oes ynddo deimlad o annheilyngdod neu ddrwghaeddiant; er hyny, y mae yn addoli, am mai hanfod addoliad ydyw parch—parch diderfyn. Nid oedd yn Nghrist deimlad o annheilyngdod, ond yr oedd ynddo deimlad o barch anfeidrol i'w Dad; a daliwn ni mai parch diderfyn yw hanfod addoliad. Felly dan yr Oruchwyliaeth Newydd, trwy ddatguddiad helaethach o Dduw fel Tad, dyfnhawyd parch dynion i Dduw, a thrwy ddyfnhau eu parch gwnaed hwy yn well addolwyr—dygwyd hwy i gyfateb i raddau ychwanegol i'r drychfeddwl. Addolant yn awr mewn ysbryd a gwirionedd. Nid yw hyn yn cau allan ddylanwad yr Ysbryd Glân. Canys megis ag y mae y tân yn treiddio trwy yr haiarn gan ei wneyd yn eiriaswyn, heb ei adael yn llai o haiarn, felly y mae yr Ysbryd Glân yn treiddio trwy y dyn, ond heb ei adael yn llai o ddyn. Sut y mae y parch hwn wedi ei ddyfnhau? Nid oherwydd fod dyfaliad cywirach am Dduw wedi ei wneyd o du dyn, ond oblegid fod datguddiad cyflawnach o Dduw wedi ei roddi gan Iesu Grist. Y mae ein parch i Dduw yn ol graddau ein gwybodaeth o hono. Yr oedd gan saint yr H. D. wybodaeth ranol o Dduw, oblegid fod Duw wedi datguddio ei hunan yn rhanol iddynt; ac yr oedd y wybodaeth yn enyn parch, ac i raddau eu parch yr oeddynt yn addoli. Ond gan mai rhanol oedd eu gwybodaeth, yn gymysgedig â'u parch yr oedd llawer o ofn; ac felly y desgrifiad goreu o'u haddoliad yw—"parchedig ofn." Nid oes yn yr enaid dynol barch i nerth noeth, ofn hwnw sydd arno; am hyny, er y gallwn ymgrymu ger ei fron a gwenieithio iddo, nis gallwn ei wir addoli. Ond am fod Duw Israel yn Dduw moesol—"byddwch sanctaidd, canys sanctaidd ydwyf fi"—meddai saint yr H. D. barch diffuant iddo, ac yn ol graddau eu parch yr oedd graddau eu haddoliad. Ond yn awr y mae gwybodaeth berffaith gyflawn o Dduw wedi dyfod i'r byd yn natguddiad Iesu Grist, ac y mae parch dynion i Dduw mewn canlyniad yn fwy nag erioed. Y mae perffeithrwydd y "gwirionedd" y tu faes yn galw am ac yn cynyrchu teimlad cyfatebol yn yr "ysbryd" y tu fewn. A dyna yw addoliad yn llanw y drychfeddwl—amgyffrediad clir o wirionedd anfeidrol am Dduw y tu faes yn cynyrchu y teimlad o barch anfeidrol i Dduw y tu fewn: cyfatebiaeth hollol rhwng yr *objective* a'r *subjective*. Canlyniad hyn yw fod addoliad yn awr yn gyffredinol o ran lle. Nid nad oes addoli mewn lle yn awr, ond addolir yn mhob lle. Y mae perffeithrwydd yr addoliad mewn ysbryd a gwirionedd yn sicrhau ei gyffredinolrwydd. **Canys y cyfryw y mae y Tad yn eu ceisio i'w addoli Ef.** (1) Dengys hyn fod dyhead yn Nuw am addolwyr o'r cymeriad hwn—chwilia am danynt mewn tref a gwlad. (2) Profa hefyd fod pob addolwyr eraill, gan nad faint gorwychder y gwasanaeth, yn anghymeradwy ganddo.

**ADN. 24. Ysbryd yw Duw.** Ysbryd heb y fanod, i ddangos ei natur ac nid ei bersonoliaeth. Y mae dyn yn ysbryd, ond nid ysbryd yw dyn. Dyma y darnodiad mawr cyntaf a gawn o Dduw. "Goleuni yw Duw": dyna yr ail ddarnodiad, ond gofala Ioan groniclo mai yr Iesu bia y darnodiad yna hefyd (1 Ioan i. 5). "Cariad yw Duw": dyna y trydydd. Sylwedd anfeidrol yw Duw, ond y mae y byd bob

rhai o'i haddolant ef, addoli mewn yspryd a gwirionedd.
Y wraig a ddywedodd wrtho, Mi a wn fod y Messïas yn 25
dyfod, yr hwn a elwir Crist: pan ddelo hwnnw, efe a
fynega i ni bob peth. Iesu a ddywedodd wrthi hi, Myfi, 26
yr hwn wyf yn ymddiddan â thi, yw *hwnnw*.

---

amser yn methu cadw mewn cof y gwahaniaeth rhwng sylwedd a defnydd. Y mae Duw yn sylwedd, ond nid ydyw yn ddefnydd. Nid gwirionedd newydd mo hwnyna, canys deallid ef gan saint yr H. D.; dyna oedd yn gwneyd eilun-addoliaeth yn bechod, sef ei bod yn materoli Duw; ac i'r graddau yr oedd yn ei fateroli yr oedd yn ei anfoesoli. Ond casglodd yr Iesu y pelydrau gwasgaredig at eu gilydd, a gosododd allan y gwirionedd mewn llawn eglurder. **A rhaid i'r rhai a'u haddolant Ef addoli mewn ysbryd a gwirionedd.** "Rhaid"--yn sylfaenedig ar natur pethau. Yn yr adnod flaenorol sylfaenir cymeriad addoliad ar *ewyllys* Duw—"ceisio"; ond yma ar *natur* Duw—"Ysbryd." Nid cysylltiad damweiniol neu fympwyol mohono, ond hanfodol.

**ADN. 25. Mi wn fod y Messias yn dyfod.** Sylfaenai y Samariaid eu disgwyliad am y Messiah ar Deut. xxiii. 18; parhânt i'w ddisgwyl hyd heddyw dan yr enw Arabaidd Mahdi (arweinydd)—enw sydd yn gynefin i ni mewn canlyniad i'r rhyfeloedd diweddar yn yr Aipht. Anmhosibl hefyd iddynt ddianc yn llwyr y dylanwadau Iuddewig o'u hamgylch. **Yr hwn a elwir Crist.** Geiriau eglurhaol, naill ai gan y wraig ei hun, neu gan yr efengylwr. **Pan ddelo hwnw, Efe a fynega i ni bob peth.** "Hwnw" yn bwysleisiol, hwnw a neb arall. Defnyddir dau air i ddangos ei wybodaeth, yn ol disgwyliad y Samariaid: (1) mynegi—dyweyd yn glir a dibetrus; (2) pobpeth—cylch ei wybodaeth Ef yn gymaint a chylch anwybodaeth dynion. Dyna sicrwydd gwybodaeth, a sicrwydd ar bob pwngc.

**ADN. 26. Myfi yw.** Hwn yw y tro cyntaf iddo ddatgan ei hun fel Messiah, ac ni wnaeth hyny drachefn, mewn ffordd ddiamwys, hyd ei dreial diweddaf ger bron Pilat. Paham i'r wraig o Samaria? (1) Am nad oedd perygl i derfysg gwleidyddol godi yn Samaria, oblegid fel dysgawdwr neu brophwyd yn unig y disgwylient hwy y Messiah. Yn y cymeriad yna yn unig y gosodir Ef allan yn Mhum Llyfr Moses. Ond fel llywodraethwr y disgwyliai yr Iuddewon Ef, yr hyn a eglura paham y dymunai Iuddewon Galilea ei gipio Ef i'w wneyd yn frenhin. (2) Arddangosiad o egwyddor Matt. xi. 25, datguddio i rai bychain wirioneddau a guddid oddiwrth y doethion a'r deallus. Tra y rhaid i'r eryr, oblegid pwysau ei gorph, gylchdroi llawer i allu esgyn yn uchel i'r awyr, saetha yr ehedydd tua'r lân gyda chyflymder—y mae ei ysgafnder yn fantais iddo i esgyn. Cyffelyb yw dynion cryfion eu cynheddfau, gwelant anhawsderau lu, ac esgynant yn araf; tra y mae pobl o gynheddfau gwanach yn ddall i lawer o wrthddadleuon, ac felly medrant dderbyn tystiolaeth Duw yn ei symlrwydd.

27 Ac ar hyn y daeth ei ddisgyblion ; a bu ryfedd ganddynt
ei fod ef yn ymddiddan â gwraig : er hynny ni ddywedodd
neb, Beth a geisi? neu, Paham yr ydwyt yn ymddiddan â
28 hi? Yna y wraig a adawodd ei dwfr-lestr, ac a aeth i'r
29 ddinas, ac a ddywedodd wrth y dynion, Deuwch, gwelwch
ddyn yr hwn a ddywedodd i mi yr hyn oll a wneuthum :

---

Y MEUSYDD GWYNION. ADN. 27—43.

**ADN 27. A bu ryfedd ganddynt ei fod ymddyddan â gwraig.** Yn ol y Saesonaeg, "â'r wraig," ac amddiffynir y darlleniad gan Dr. John Lightfoot a Dr. Middleton. Yn ol hwn y meddwl yw, fod y dysgyblion yn rhyfeddu, nid ei fod yn ymddiddan â gwraig, ond â gwraig o gymeriad hon. Ond fel y dengys Dr. J. B. Lightfoot, cymerir yn ganiataol y gwyddent fwy o'i hanes nag y caniata yr amgylchiadau. Am hyny, gwell yw darllen "gwraig," heb y fanod. Dysgai y Rabbiniaid fod ymddiddan â gwraig—unrhyw wraig, pa mor anrhydeddus bynag, yn ddiraddiol i ddyn. Un o'u diolchiadau yn ngwasanaeth y cysegr oedd, "Bendigedig ydwyt ti, O Arglwydd, am na luniaist fi yn wraig." Nid annhebyg i ddywediad y Groegwr : "Diolch mai Groegwr ydwyf, ac nid barbariad ; gwr, ac nid gwraig." **Beth a geisi? neu, paham yr wyt yn ymddiddan â hi?** Tybia rhai fod y cwestiwn cyntaf yn gyfeiriedig at y wraig, a'r olaf at yr Iesu ; ond diau genym mai cyfeiriedig at yr Iesu oedd y ddau. Beth ydwyt ti yn ymofyn ganddi? a phaham yr ymddiddeni â hi yn groes i draddodiadau ein cenedl? Ond yn ei bresenoldeb pur Ef meddiennid hwy â gormod o wyleidd-dra i ofyn un cwestiwn a ymylai ar eofndra.

**ADN. 28. Yna y wraig a adawodd ei dwfr-lestr.** Paham? Cynygia cywreinrwydd esbonwyr chwech rheswm ; ond tybiwn ni fod un yn ddigon—y llawenydd a'i meddiannodd ar ol yfed o'r dwfr bywiol yn yr adnodau blaenorol, a'r darganfyddiad disyfyd a wnaeth o'r Messiah, yn creu ynddi awydd angherddol i gyhoeddi y newydd i eraill. **Ac a aeth i'r ddinas, ac a ddywedodd wrth y dynion.** Nid y prif ddynion, ond pawb a gyfarfyddai, y dynion a lechent yn y cysgodion ganol dydd yn ol arfer y dwyrain. Ysbryd cenhadol yw ysbryd Cristionogaeth.

**ADN. 29. Gwelwch ddyn yr hwn a ddywedodd i mi yr hyn oll a wneuthum.** Ni ynganodd air am y datguddiadau goruchel a wnawd iddi, dim ond am y cymhwysiad personol,—saeth yr argyhoeddiad oedd wedi glynu yn ei chalon. Yn llythyrenol sawra y geiriau o ormodiaith ; ond o safle ei phrofiad hi y maent yn wirionedd perffaith. Dywedodd yr Iesu ddigon i'w hargyhoeddi y gwyddai yr oll ; dan edrychiad ei lygad gloew llonydd, teimlai y wraig fod holl feddyliau ei chalon a dirgelion ei bywyd yn agored iddo. Ond yn nghynyrfiad cyntaf ei bywyd ysbrydol, anghofia ei chywilydd ei hun i dderchafu clod y Gwr a'i dygodd i'w ryfeddol oleuni Ef. **Onid yw hwn y Crist?** Yn ol y Saesonaeg, Ai nid hwn yw y Crist? Mỳn Westcott fod ffurf y gofyniad—Groeg *mêti*, fel y Lladin *numquid*—yn disgwyl am ateb nacäol—nid hwn yw y Crist, aie? Ond dengys Trench (*Authorised Version*, p. 101) fod y Gymraeg yn gosod allan yr ystyr yn gywir. "A all hwn fod yr Un yr ydym wedi

onid hwn yw y Crist? Yna hwy a aethant allan o'r ddinas, 30
ac a ddaethant atto ef.
Yn y cyfamser y disgyblion a attolygasant iddo, gan 31
ddywedyd, Rabbi, bwytta. Ac efe a ddywedodd wrthynt, 32
Y mae gennyf fi fwyd i'w fwytta yr hwn ni wyddoch chwi
oddi wrtho Am hynny y disgyblion a ddywedasant wrth 33
eu gilydd, A ddug neb iddo *ddim* i'*w* fwytta? Iesu a 34
ddywedodd wrthynt, Fy mwyd i yw gwneuthur ewyllys yr
hwn a'm hanfonodd, a gorphen ei waith ef. Onid ydych 35

---

disgwyl am dano cyhyd? gan ddisgwyl ateb cadarnhaol ac nid nacaol." Yr oedd ei barn yn gogwyddo yn nghyfeiriad ei ffydd, a dyna y rheswm iddi gyffroi yr holl dref.

ADN. 30. **Yna hwy a aethant allan o'r ddinas.** Yr amser perffaith. **Ac yr oeddent yn dyfod ato Ef.** Yr amser anmherffaith, i ddesgrifio parhâd eu dylifiad ar hyd y meusydd fel tyrfa i faes cymanfa.

ADN. 32. **Y mae genyf fi fwyd i'w fwyta na wyddoch chwi.** Y pwyslais ar y "fi" a "chwi," i ddwyn allan y cyferbyniad. Nid mewn sarugrwydd y llefarai, ond i egluro paham y diflanodd ei chwant bwyd. Megis y llefarai wrth Nicodemus am yr ail-eni, ac wrth y wraig o Samaria am y dwfr bywiol, felly sieryd yma wrth ei ddysgyblion am y bwyd cyfrin; ond nid oedd y naill na'r llall o honynt yn medru tori trwodd at yr ysbrydol. Y naturiol oedd gryfaf yn eu meddyliau hwy; ond yr ysbrydol oedd gryfaf yn ei feddwl Ef. Iddo Ef nid oedd natur ond cysgod, y gwirionedd y tu cefn oedd y sylwedd.

ADN. 33. **Y dysgyblion a ddywedasant wrth eu gilydd.** Yr oedd y gwirioneddau uchel ag oedd Ef newydd draddodi, a'r llawenydd nefol a deimlai yn nhroedigaeth y wraig, megis yn ei wedd-newid, yn argraphu dwyfol urddas ar ei wedd—teimlai y dysgyblion yn rhy wylaidd i siarad yn ei bresenoldeb.

ADN. 34. **Fy mwyd i yw fel y gwnelwyf, &c.** Ei fwyd oedd yr amcan mewn golwg, yr hyn a gyfrif am y cyfnewidiad o'r gair bwyd (*brôsis*) yn adn. 30 i'r gair bwyd (*brômu*) yn yr adnod hon. *Broma* a olyga ddefnydd bwyd, *brosis* y weithred o fwyta. Felly yn adn. 30, yr oedd yr Iesu yn bwyta—yn y weithred o achub y bechadures fawr; ac yr oedd hyny wedi adfywio ei natur, gan beri iddo anghofio ei ludded a'i newyn. Ond yma gosoda allan nid y bwyta, ond y bwyd; amcan mawr ei fywyd oedd defnydd ei ymborth. Beth oedd yr amcan? **Fel y gwnelwyf yn barhaus ewyllys yr hwn a'm hanfonodd, a gorphen ei waith Ef.** Dyma y frawddeg fawr eto,—"yr hwn a'm hanfonodd," ac yn ei chysylltiad newydd dwg i mewn wirionedd newydd, sef gwneyd ewyllys un arall, ac felly nid cynrychiolydd Duw mohono yn unig, ond gwâs Duw. Anfonwyd yr Ysbryd Glân hefyd i'r byd i wneyd gwaith mawr, ond nid yw yn "wâs" oherwydd hyny; nid oes dim ufudddod yn ddyledus oddiwrtho ef, er ei anfon. Ond gwneuthur ewyllys Un arall oedd amcan anfoniad y Mab, yr oedd ufudddod yn ddyledus oddiwrtho; o gan-

chwi yn dywedyd, Y mae etto bedwar mis, ac *yna* y daw y
cynhauaf? Wele, yr ydwyf fi yn dywedyd wrthych,
Dyrchefwch eich llygaid, ac edrychwch ar y meusydd;
36 canys gwỳnion ydynt eisoes *i'r* cynhauaf. A'r hwn sydd
yn medi, sydd yn derbyn cyflog, ac yn casglu ffrwyth i

---

lyniad, yr oedd ei anfoniad Ef yn hanfodol wahanol i anfoniad yr Ysbryd. Y mae y ddau berson yn gyffelyb yn y ffaith eu bod yn anfonedig, ond yn annhebyg yn y ffaith mai anfoniad y Mab yn unig sydd yn cynwys ufudddod. Beth yw y gwahaniaeth rhwng "gwneud yr ewyllys" a "gorphen y gwaith"? Yn y cyntaf golygir yr iachawdwriaeth ar ei hochr ddwyfol, ond yn y diweddaf ar ei hochr hanesyddol. Nid gweithio ar antur oedd Crist—gwneyd rhywbeth, ond yn ol cynllun ac i amcan penodol. Nid dilyn rheolau y Rabbiniaid, ond gwneuthur ewyllys ei Dad fel ei datguddid iddo yn y cymundeb parhaus cydrhyngddynt. O'r fàn hon y cododd y "rhaid" iddo fyned trwy Samaria. Gwneyd (*poiô*) ei ewyllys yn y presenol—pob dyledswydd y pryd, y lle, a'r modd y dylasai, gwaith pob diwrnod yn ei ddiwrnod. "A gorphen ei waith Ef." Y mae y gair am "orphen" (*teleiôsô*) yn berthynas agos i'r gair Saesonaeg *teleology*, ac yn cyfeirio at ddyben neillduol—gorphen y gwaith gydag amcan arbenig, ac felly gyflawni y cynllun heb ddiffyg ynddo o'r dechreu i'r diwedd; ac i gyrhaedd hyny rhaid llanw pob cyfleusdra â dyledswydd.

**ADN. 35. Y mae eto bedwar mis, ac yna daw y cynhauaf.** (1) Tybia rhai mai dihareb yw y geiriau; ond gan nad oes neb wedi darganfod dihareb o'r fath, ofer adeiladu ar y dybiaeth. (2) Am hyny, syrthiwn yn ol ar y golygiad naturiol, fod yr Iesu yn cyfeirio at dymhorau y flwyddyn. Pedwar mis oedd o'r amser hwnw hyd y cynhauaf. Ond pa gynhauaf? Crêd Westcott mai y cynhauaf haidd a feddylir, yr hwn a gymerai le tua diwedd Mai, ac felly fod ymweliad yr Iesu â Samaria tua dechreu Chwefror. Ond crêd mwyafrif yr esbonwyr mai y cynhauaf gwenith a olygir, yn nechreu Ebrill, pryd y cyhwfanid ysgub y blaenffrwyth o flaen yr Arglwydd yn ngwyl y Pasg. Gan hyny, rhaid fod dygwyddiadau y benod hon wedi cymeryd lle tua chanol Rhagfyr, wyth mis ar ol y Pasg cyntaf (ii. 23). Ond tra yr oedd pedwar mis cyn y deuai y cynhauaf naturiol, yr oedd y cynhauaf ysbrydol eisoes yn addfed, o'r hwn yr oedd y wraig yn ysgub y blaenffrwyth. **Dyrchefwch eich llygaid, y mae y meusydd**—meusydd dynoliaeth Samaria—**yn wynion eisoes i'r cynhauaf.** Modd gorchymynol o lefaru, a'r hyn o'i ddehongl yw—Bwriwch eich crymanau i'r ŷd, dygwch y Samariaid i mewn i deyrnas Dduw. Nid dysgu y mae fod misoedd rhwng yr hau a'r medi yn y byd naturiol, ond fod yr hau a'r medi yma yn dilyn eu gilydd o fewn corph un diwrnod; eithr yn hytrach fod cynhauaf Samaria yn addfed mewn canlyniad i'r hau yn y canrifoedd o'r blaen, a bod gwaith mawr yn aros ei ddysgyblion i gasglu y cynhauaf hwn i ddiddosrwydd.

**ADN. 36. A'r hwn sydd yn medi sydd yn derbyn cyflog.** Nid cyferbynu ei hunan fel hauwr a'r dysgyblion fel medelwyr y mae, ond prophwydi yr oesoedd gynt fel hauwyr â'i hunan a'r dysgyblion fel

fywyd tragywyddol: fel y byddo i'r hwn sydd yn hau, ac
i'r hwn sydd yn medi, lawenychu ynghyd. Canys yn hyn 37
y mae y gair yn wir, Mai arall yw yr hwn sydd yn hau, ac
arall yr hwn sydd yn medi. Myfi a'ch anfonais chwi i fedi 38
yr hyn ni lafuriasoch: eraill a lafuriasant, a chwithau a
aethoch i mewn i'w llafur hwynt.
A llawer o'r Samariaid o'r ddinas honno a gredasant 39

---

medelwyr. Nid oedd Efe wedi ymddiddan ond ag un wraig; pa fodd gan hyny y gellir dyweyd ei fod wedi hau yn nghalonau y cannoedd ag oedd yn dylifo ato ac a gredent ynddo yn ystod y ddeuddydd? "Y mae yr hwn sydd yn medi yn derbyn cyflog"—cawn dâl am ein gwaith; ie, mwy, cawn dâl yn ein gwaith; nid oes neb yn llafurio i achub eneidiau nad yw yn derbyn ad-daliad; cefais i y gyflog hon wrth achub y wraig—cyflog, bwyd, rhyw foddhâd mawr ysbrydol. **Ac yn casglu ffrwyth i fywyd tragwyddol.** Casglu y Samariaid fel gwenith i ysguboriau y bywyd tragwyddol yn awr, ac i ysguboriau y byd tragwyddol yn y man. Y mae y medelwr yn cael cyflog yn awr; a mwy—y mae y ffrwyth, y grawn, yn aros. Felly gweithwyr yn y deyrnas ysbrydol: y maent yn cael hyfrydwch mawr yn y gwaith, a llawenydd mwy wrth feddwl eu bod wedi dwyn eneidiau i ystordai y bywyd tragwyddol, yn ddiddos byth rhag y gawod wlaw a'r gawod dân. **Fel y byddo i'r hwn sydd yn hau** cynrychiolydd pobl dduwiol yr oesau a aethant heibio, y rhai a hauasant hâdau gwirionedd yn y wlad; **a'r hwn sydd yn medi**—y chwi sydd yn myned i gasglu y bobl hyn i'r ysgubor, **lawenychu ynghyd.** Cânt gydlawenychu a chwi heddyw ac yfory, wrth weled yr ysgubau yn cael eu cywain i'r ysguboriau. Cânt weled nad oedd eu llafur yn ofer, ac na threuliasant eu nerth am ddim. Bydd llawenydd yn y byd tragwyddol heddyw wrth weled yr hâd a hauwyd ganrifoedd yn ol wedi addfedu o'r diwedd.

**ADN. 37. Canys yn hyn y mae y gair yn wir.** Yr ymadrodd ar lafar gwlad. **Mai un sydd yn hau, ac arall yn medi.** Yr henafiaid a hauasant, ac a fuont feirw; Crist a'i ddysgyblion sydd yn awr yn medi y ffrwyth. Ond perthyn y gyflog i'r ddau ddosbarth fel eu gilydd.

**ADN. 38. Myfi a'ch anfonais chwi i fedi yr hyn na lafuriasoch.** Yn Judea yn nghyntaf lle y bedyddiasant luoedd i deyrnas Dduw, ac yn awr yn Samaria lle y mae cannoedd mwy yn eu haros. Medent hwy yn awr ffrwyth llafur yr henafiaid, dynion da y gorphenol. Ond sut y daeth y cynhauaf, sut y mae cynifer o bobl barod i'r Arglwydd yn y wlad? **Eraill a lafuriasant** a lafuriasant yn galed, fel y golyga y gair, ie, hyd at flinder. **A chwithau a aethoch i mewn i'w llafur hwynt.** Yr oedd perygl i'r dysgyblion ymfalchïo yn y llwyddiant a'i dilynodd yn Judea ac a'i dilyna yn awr yn Samaria. Gwyliwch, meddai yr Iesu; nid ffrwyth eich llafur chwi yw, ond ffrwyth llafur pobl dduwiol ag oedd wedi marw cyn eich geni chwi. Hauwyr yr Hen Oruchwyliaeth, hâdau y rhai a chwythwyd dros y terfyn i Samaria, a baratodd ar gyfer medelwyr yr Oruchwyliaeth Newydd. "Cân Moses a chân yr Oen."

ynddo, o herwydd gair y wraig, yr hon oedd yn tystiol-
aethu, Efe a ddywedodd i mi yr hyn oll a wnaethum.
40 Am hynny pan ddaeth y Samariaid atto ef, hwy a attolyg-
asant iddo aros gyd â hwynt. Ac efe a arhosodd yno
41 ddeuddydd. A mwy o lawer a gredasant ynddo ef oblegid
42 ei air ei hun. A *hwy* a ddywedasant wrth y wraig, Nid
ydym ni weithian yn credu oblegid dy ymadrodd di: canys
ni a'*i* clywsom *ef* ein hunain, ac a wyddom mai hwn yn
ddïau yw y Crist, Iachawdwr y byd.

---

**ADN. 42. Nid ydym ni weithian yn credu oblegid dy ymadrodd di.** Yr oedd ganddynt sylfaen arall a chadarnach i'w ffydd, pa un a ydoedd yn ffydd gadwedigol ai peidio. **Canys ni a'i clywsom Ef ein hunain, ac a wyddom mai hwn yn ddiau yw y Crist, Iachawdwr y byd.** Cawsant y deitl hon arno, debygid, o enau yr Iesu ei hun. Yr oedd deuddydd o'i weinidogaeth wedi dwyn argyhoeddiad llwyr i'w meddyliau. Cawn yr un parodrwydd ynddynt i dderbyn yr Efengyl dair blynedd yn ddiweddarach (Act. viii. 5—7). (1) Sut y mae cyfrif fod y Samariaid, y rhai oeddynt y tu allan i gylch yr Israel, yn fwy parod nag Israel eu hunain i dderbyn Crist, pan y dysgir ni fod y rhai olaf dan ddysgyblaeth arbenig i'w parotoi ar gyfer yr Ymgnawdoliad? Gwelir yr un peth yn y ffaith fod llwythau barbaraidd y byd yn ein hoes ni yn addfetach i dderbyn yr Efengyl na'r hên genhedloedd gwareiddiedig—ychydig mewn cydmariaeth yw y dychweledigion oddiwrth Fahometaniaeth a Brahminiaeth. Teimla llwythau barbaraidd nad yw eu duwiau ond gwegi; ond po fwyaf o wirionedd a fydd mewn crefydd, megis Mahometaniaeth, anhawddaf ei rhoddi i fynu—y mae ei gwirionedd yn fantell i guddio ei thwyll. (2) Gan eu bod hwy yn credu yn lluoedd ynddo, paham na arosasai yn eu plith? Oblegid, o bosibl, er eu bod yn barotach i gael eu hachub na'r Iuddewon, nid oeddent mor gymhwys i achub eraill. Yr oedd eu hanwybodaeth mor ddygn, fel, er iddynt gael eu hachub eu hunain, ni allasent fod yn offerynau cymhwys i achub y byd. Rhaid oedd wrth ddynion wedi cael rhagorach hyfforddiant crefyddol i wasgar y deyrnas. Pe gadawsai Crist yr Efengyl i ddwylaw y Samariaid, buasai yr efrau yn fuan wedi tagu y gwenith. Pe llwyddiant mawr uniongyrchol oedd ei amcan, gwell fuasai iddo barhau yn Samaria—achubasai fwy o eneidiau. Ond gan mai llwyddiant ar raddfa ehang—yn mhob gwlad a phob oes,—gwell oedd gweinidogaethu yn mhlith yr Israel, oblegid, er fod llai yn credu, eto yr oedd yr ychydig oedd yn credu, yn gymhwysach yn feddyliol a moesol, i ddwyn yn mlaen waith mawr iachawdwriaeth y byd.

### IACHAU MAB Y PENDEFIG. ADN. 43—54.

Tybia rhai, Irenæus yn mhlith y Tadau, a Sanday yn mhlith yr awduron diweddar, heb sôn am yr esbonwyr anghrediniol, mai yr un wyrth a adroddir yma ag yn Matt. viii. 5 a Luc vii. 2. Ond os oes dim ymddiried hanesyddol i'w roddi yn yr efengylau, y mae y syniad hwn yn gyfeiliornus. Gall darllenwyr craffus weled wyth o bethau yn y rhai

Ac ym mhen y ddeuddydd efe a aeth ymaith oddi yno, ac 43
a aeth i Galilea. Canys yr Iesu ei hun a dystiolaethodd, 44
nad ydyw prophwyd yn cael anrhydedd yn ei wlad ei hun.

---

y gwahaniaethant. Cyflawnodd yr Iesu ugeiniau o wyrthiau iachaol (Matt. iv. 24); ai annaturiol credu iddo gyflawni gwyrthiau cyffelyb? Y mae y dybiaeth na wnai yr Iesu tyner-galon iachau y naill ddyn am ei fod wedi iachau dyn arall o afiechyd cyffelyb yn rhy beiriannyddol i'w choledd am eiliad. Natur yr anghen oedd yn penderfynu ffurf ei wyrth.

**ADN. 44. Canys yr Iesu ei hun a dystiolaethodd.** Nid yw Ioan yn dyweyd yn bendant ai yn awr neu ar ryw adeg arall y tystiolaethodd; ond gwyddom iddo lefaru y ddihareb ar achlysur diweddarach (Luc iv. 14—31). Y mae yn bosibl mai yr efengylwr sydd yma yn ei defnyddio i egluro ymadawiad yr Iesu o Judea; ond y mae yn fwy tebyg i'r Iesu ei hun gymhwyso y ddihareb ato ei hun er rhoddi boddlonrwydd i'w ddysgyblion. Ond pa fodd y mae y ddihareb yn rheswm dros iddo fyned yn awr i Galilea? Ar yr olwg gyntaf ymddengys fel rheswm dros beidio myned. Y mae grym ymresymiadol yr adnod yn dibynu ar yr ystyr a roddir i'w "wlad ei hun." Pa wlad a feddylir? Yn Matt. xiii. 57, Marc vi. 4, a Luc iv. 24, dynoda Nazareth a'i chyffiniau. O ganlyniad, dysg Calfin, Hengstenburg, Olshausen, a mwyafrif y Tadau Cristionogol mai y meddwl yw nad aeth yr Iesu yn awr i Nazareth, lle nid oedd anrhydedd iddo, ond i barthau eraill Galilea. (2) Barna Alford a Watkins mai yr ystyr yw—fod yr Iesu wedi cyrhaedd poblogrwydd mor fawr yn Judea, fel yr oedd yn anghenrheidiol iddo, er cyrhaedd amcanion achubol ei Ymgnawdoliad, i ymdrechu ei leihau; ac felly aeth "i'w wlad ei hun," canys nid oes neb mor boblogaidd gartref ag oddicartref. Ar yr un egwyddor yr archai yr Iesu i'r cleifion, ar ol eu hiachau, i "dewi a sôn"—buasai poblogrwydd gormodol yn dyrysu ei gynlluniau. (3) Meyer a Godet a edrychant ar y ddihareb fel rheswm paham y dechreuodd ei weinidogaeth yn Judea, ac nid yn Galilea. Pe dechreuasai yn Galilea, buasai eiddigedd rhai o'i gydwladwyr, a difaterwch eraill, yn rhwystr effeithiol ar ffordd llwyddiant ei weinidogaeth. Gan hyny, dechreuodd yn Judea, yn mysg pobl ddyeithr; cynyddodd ei boblogrwydd yn fawr; yna dychwelodd "i'w wlad ei hun," sef Galilea, ac anrhydedd gwlad arall yn goron ar ei ben. Yr oedd ei enwogrwydd yn Judea yn ei gymeradwyo i'w gydwladwyr yn Galilea. Rhaid cyfaddef fod yr esboniad hwn yn gyson â'r hanes sydd yn dilyn. (4) Ond dadleua Origen yn mhlith yr henafiaid, a Westcott yn mhlith yr awduron diweddar, tra yn caniatau mai Galilea a feddylir wrth ei "wlad ei hun" yn yr efengylau eraill, mai Judea a olygir yn yr efengyl hon. Dyma yr eglurhad sydd yn ei gymeradwyo ei hun i ni fel y mwyaf esmwyth a naturiol. Yn Matt. xiii. 57, *patridos auton* yw y frawddeg, ac yn Luc iv. 24 *te patridi sou*, ond yma *te idia patridi—idia*, yr un gair ag yn i. 11, "At ei eiddo ei hun y daeth." Teimlwn y dylid esbonio yr adnod hon yn ngholeuni honyna. Felly rheswm yr Iesu sydd yma dros gilio o Judea a chychwyn tua Galilea. Nid ei boblogrwydd, ond gwrthwynebiad chwerw y Phariseaid, oedd y rheswm iddo gyfnewid y naill dalaeth am y llall.

45 Yna pan ddaeth efe i Galilea, y Galileaid a'i derbyniasant
ef, wedi iddynt weled y holl bethau a wnaeth ef yn Jeru-
salem ar yr wyl: canys hwythau a ddaethant i'r wyl.
46 Felly yr Iesu a ddaeth drachefn i Cana yn Galilea, lle y
gwnaeth efe y dwfr yn win. Ac yr oedd rhyw bendefig, yr
hwn yr oedd ei fab yn glaf yn Capernaum.
47 Pan glybu hwn ddyfod o'r Iesu o Judea i Galilea, efe a
aeth atto ef, ac a attolygodd iddo ddyfod i waered, a iachâu
48 ei fab ef: canys yr oedd efe ym mron marw. Yna Iesu a
ddywedodd wrtho ef, Oni welwch chwi arwyddion a
49 rhyfeddodau, ni chredwch. Y pendefig a ddywedodd
wrtho ef, O Arglwydd, tyred i waered cyn marw fy mach-
50 gen. Iesu a ddywedodd wrtho ef, Dos ymaith, y mae dy
fab yn fyw. A'r gwr a gredodd y gair a ddywedasai Iesu

---

**ADN. 45. Yna pan aeth Efe i Galilea.** Ailgydia yr hanes yn adn. 3. **Y Galileaid a'i derbyniasant Ef.** Ond prawf rhan olaf yr adnod fod eu croesaw iddo yn sylfaenedig ar y gwyrthiau a gyflawnodd yn yr ŵyl (ii. 23), ac nid ar ganfyddiad teimladwy o'r gwirionedd a ddysgai. Ffydd sylfaenedig ar yr hyn oedd gryf, ac nid ar yr hyn oedd wir, ydoedd, a ffydd sâl yw hono bob amser.

**ADN. 46. Felly yr Iesu a ddaeth drachefn i Cana yn Galilea.** Yr oedd ganddo gyfeillion yno—y pâr ieuangc a'u cydnabod, y rhai a gofient y wyrth gyntaf. **Ac yr oedd rhyw bendefig.** Ansoddair (*basilikos*) yn golygu brenhinol. Dyma yr unig dro y defnyddir ef yn y Test. Newydd; ond defnyddir ef gan Josephus yn aml i ddynodi swyddog brenhinol, gwladol neu filwrol. Y brenin oedd Herod Antipas, tetrach y dalaeth (Matt. xiv. 9). **Yr hwn yr oedd ei fab yn glaf yn Capernaum.** Y mae banod o flaen "mab," i ddangos feallai mai ei unig fab ydoedd.

**ADN. 47.** Aeth y sôn ar led am ddyfodiad yr Iesu i Galilea, ac yn ei ing brysiodd y swyddog brenhinol ato.

**ADN. 48. Oni welwch chwi arwyddion a rhyfeddoddau ni chredwch chwi mewn un modd.** Y "chwi" yn bwysleisiol. Llefarodd yr Iesu y geiriau hyn wrth y pendefig fel cynrychiolydd y genedl Iddewig (1 Cor. i. 22), yr hyn a brawf mai Iuddew oedd y pendefig ei hun,—yr oedd yn gynwysedig yn y "chwi." Y mae "arwyddion" yn cyfeirio at y gwirionedd ysbrydol y tu fewn i'r wyrth; "rhyfeddodau" at yr apêl synfawr at y synwyrau corphorol.

**ADN. 49. Fy machgen.** Yn fwy llythyrenol, "fy mhlentyn bach i," —iaith cariad tadol mewn ing.

**ADN. 50. Y mae dy fab yn fyw.** Nid bachgen ond mab,—gair o urddas. Nid yr ystyr yw, y mae ef heb farw, ond y mae bywyd wedi enill buddugoliaeth ar angeu; nid yn unig y mae y *crisis* wedi pasio, ond y mae yr afiechyd wedi diflanu, a'r mab yn fyw.

wrtho, ac efe a aeth ymaith. Ac fel yr oedd efe yr awrhon 51
yn myned i waered, ei weision a gyfarfuant âg ef, ac a
fynegasant, gan ddywedyd, Y mae dy fachgen yn fyw.
Yna efe a ofynodd iddynt yr awr y gwellhasai arno. A 52
hwy a ddywedasant wrtho, Doe, y seithfed awr, y gadaw-
odd y cryd ef. Yna y gwybu y tad mai yr awr honno 53
*oedd*, yn yr hon y dywedasai Iesu wrtho ef, Y mae dy fab
yn fyw. Ac efe a gredodd, a'i holl dŷ. Yr ail arwydd 54
yma drachefn a wnaeth yr Iesu, wedi dyfod o Judea i
Galilea.

---

ADN. 51. **Ac fel yr oedd efe yr awrhon yn myned i waered.** O Cana i Capernaum, pellder o tua 25 milldir. **Ei gaethweision.** Ffynai caethwasiaeth yn mhlith Iuddewon yn gystal a'r cenhedloedd, ond sicrhai cyfundrefn Moses ryddid i bawb flwyddyn y Jiwbili. **Y mae dy fachgen yn fyw.** Dy fab, meddai yr Iesu; dy fachgen, meddai y gweision; fy machgen bach i, meddai y tad. Mor naturiol yr oll!

ADN. 52. **Yna efe a ofynodd iddynt yr awr y gwellhasai arno.** "Gwellhasai" (*kompsóteron*)—y term meddygol am un yn cryfhau o dwymyn neu glefyd. **Doe, y seithfed awr y gadawodd y dwymyn ef.** Nid cryd, ond twymyn. Y mae y gwreiddiol (*pyretos*) yn tarddu o air sydd yn meddwl tân, ac felly yn gyfystyr a'r gair Cymraeg "twymyn," oherwydd y twymder neu y gwres llosgawl yn y cyfansoddiad. Nid dechreuodd y dwymyn lacio, ond gadawodd ef; yr oedd y gwellhâd yn uniongyrchol. Gwelir yma ynte wyrth nerth a gwyrth gwybodaeth. Pa awr oedd y "seithfed"? Cyfyd y ddadl eto rhwng pleidwyr y dull Rhufeinig a phleidwyr y dull Iuddewig o gyfrif amser. Ond gan y credwn ni mai y dull Iuddewig (gwel ar i. 39) y mae Ioan yn ddilyn, cyflawnwyd y wyrth am un o'r gloch ganol dydd; ac nid yw yn debygol y buasai y gweision Iuddewig yn dilyn dull tramor o gyfrif amser. Gan fod y pendefig wedi brysio i Cana yn y boreu, rhaid oedd iddo ef a'i anifail wrth ryw gymaint o seibiant cyn troi yn ol, fel nad oes dim yn anhygoel ei bod wedi chwech—terfyn y diwrnod Iuddewig—pan y cyfarfyddodd ef a'i weision a'u gilydd.

ADN. 53. **Efe a gredodd a'i holl dŷ.** Credodd yn gyntaf trwy glywed gan eraill am yr Iesu; yna credodd air yr Iesu ei hun; credodd yn gryfach wedi clywed tystiolaeth y gweision; cyrhaeddodd ei ffydd ei llawn dwf pan welodd y plentyn bach yn iach. Pwy oedd y pendefig? Barna rhai mai Chusa, goruchwyliwr Herod (Luc viii. 3); ac os felly, nid rhyfedd fod Joanna ei wraig yn gweini ar yr Iesu o'r pethau oedd ganddi. Tybia eraill mai Manaen ydoedd, "brawdmaeth Herod y tetrarch," yr hwn oedd swyddog yn eglwys Antiochia (Act. xiii. 1).

ADN. 54. **Dyma drachefn yr ail wyrth a wnaeth yr Iesu.** Yr ail yn Galilea: y gyntaf oedd ii. 1–11. Ond rhwng y ddwy hyn cyflawnodd wyrthiau lawer yn Judea (ii. 23).

## PENNOD V.

1 WEDI hynny yr oedd gwyl yr Iuddewon, a'r Iesu a aeth
2 i fynu i Jerusalem. Ac y mae yn Jerusalem, wrth
*farchnad* y defaid, lyn a elwir yn Hebraeg, Bethesda, ac

---

## PENOD V.

### Y WYRTH WRTH LYN BETHESDA. ADN. 1—16.

**ADN. 1. Wedi hyny.** Defnyddir dau ymadrodd cyffelyb gan Ioan wrth symud o'r naill fater i'r llall. "Wedi hyny" neu "Wedi y peth hyn," yn y rhif unigol, i ddynodi cysylltiad gweddol agos. "Wedi hyny" neu "Wedi y pethau hyn," yn y rhif luosog, i ddynodi cysylltiad mwy llac ac agored. Yr olaf a ddefnyddir yma.

**ADN. 2. Yr oedd gwyl yr Iuddewon.** Yr oedd gan Iuddewon yr oes hon amryw o wyliau neillduol: (1) Purim yn Mawrth; (2) Pasg yn Ebrill; (3) Pentecost yn Mai; (4) Pebyll yn Hydref; (5) Udgyrn yn Medi. Pa un o'r gwyliau a feddylir yma? Nid oes nemawr bwys yn y cwestiwn ynddo ei hun; ac eto ar yr ateb a roddir y dibyna ein barn am hyd gweindogaeth yr Iesu. Gwyddis fod traddodiad yn mhlith y Tadau Cristionogol boreuaf, fel y dengys Irenæus, fod yr Iesu yn llawn deugain oed pan y bu farw, ac felly i'w weinidogaeth barhau am tuag wyth mlynedd. Ond nid oes yn yr efengylau sail i'r grediniaeth yna; a gwahaniaetha y beirniaid pa un ai ychydig dros ddwy flynedd ai ychydig dros dair y parhaodd i bregethu. Try y cwestiwn yn benaf ar yr adnod hon. Mewn rhai hen lawysgrifau dodir y fanod o flaen gŵyl—"yr ŵyl"—yr hyn yn ol barn bron unfrydol yr esbonwyr a olygai y Pasg. Ond dadleua Westcott, hyd yn nod pe bai y fanod yn ddilys, mai gŵyl arall a feddylir. Dodwn yma rai o'r prif olygiadau. (1) Gŵyl yr Udgyrn yn Medi (Westcott). (2) Y Pentecost (Cyril, Chrysostom, Calfin, Bengel). (3) Purim—yr ŵyl i gofio gwaredigaeth yr Iuddewon trwy gyfryngiad Esther y Frenhines, yn ol Est. ix. 21, 26 (Meyer, Godet, Watkins, Olshausen, Neander). (4) Y Pasg (Irenæus, Eusebius, Lightfoot). Ar ol ystyriaeth bwyllog, tueddir ni at yr olaf. Y Pasg cyntaf—puro y deml (ii. 12). Yr ail—iachau y claf wrth Lyn Bethesda (v. 1—16). Y trydydd—porthi y Pum Mil (vi.). Y pedwerydd—y Croeshoeliad.

**ADN. 2. Ac y mae yn Jerusalem.** (1) Y mae defnyddiad yr amser presenol wedi arwain rhai awduron, megis Bengel a Lange, i gasglu fod yr efengyl hon wedi ei hysgrifenu cyn dinystr Jerusalem yn A.D. 70. Y mae y profion i'r gwrthwyneb, fodd bynag, yn rhy gryfion. (2) Crêd eraill, er fod y ddinas a'r deml wedi eu llosgi, eto fod y llyn a'r porth yn aros yn ddianaf. (3) Barna eraill mai dull bywiog Ioan o ddarlunio sydd yma—dychymyg byw yn presenoli ffeithiau y gorphenol. **Wrth borth y defaid.** Gan na ddarllenwn am farchnad y defaid yn yr H. D., gwell gan y beirniaid ddarllen "porth y defaid," at yr hwn y cyfeirir yn Nehemiah iii. 1 a xii. 39. Ar yr un pryd ymddengys y gwahaniaeth yn rhy fychan i dreulio llawer o nerth arno, canys os oedd yno borth arbenig i ddefaid y wlad i ddyfod i'r ddinas, diau fod yno hefyd farchnad yn ymyl i'w gwerthu. **Llyn a elwir yn Hebraeg Bethesda.** Nid Hebraeg

iddo bùm porth; Yn y rhai y gorweddai llïaws mawr o rai 3
cleifion, deillion, cloffion, gwywedigion, yn disgwyl am
gynhyrfiad y dwfr. Canys angel oedd ar amserau yn dis- 4
gyn i'r llyn, ac yn cynhyrfu y dwfr: yna yr hwn a elai i
mewn yn gyntaf ar ol cynhyrfu y dwfr, a âi yn iach o ba

---

clasurol yr H. D., ond yr Aramaeg (Act. xxi. 40). Yr un iaith, o ran cyff, a leferid gan yr holl lwythau Semitaidd o Fôr y Canoldir hyd Babilon; ond yr oedd iddi wahanol dafod-ieithoedd, megis ag y mae i'r Geltaeg yn ein dyddiau ni. Tybia rhai mai Bethsaida, ac eraill mai Bethzatha, a ddylasai yr enw fod; ond y mae genym le i gredu fod y darlleniad presenol yn gywir. Bethesda, h.y. Ty Trugaredd, oblegid fod y cleifion yn derbyn iachâd, a bod yno adeilad c amgylch y llyn at wasanaeth y trueiniaid a gyrchent iddo. **Ac iddo bum porth.** Yr oedd y llyn dan dô, ac adeilad o amgylch iddo; a thrwy yr adeilad yr oedd pum *passage* o'r tu allan hyd y llyn, ac yn y *passages* yr oedd cilfachau clyd i'r cleifion orphwys tra yn disgwyl am gynhyrfiad y dwfr.

**ADN. 3. Yn y rhai y gorweddai lluaws mawr o rai cleifion.** Enwir tri dosbarth, sef **deillion, cloffion, gwywedigion.** Gadewir gweddill yr adnod hon allan, a'r bedwaredd i gyd, yn y llawysgrifau henaf, ac felly yn y Cyf. Diw. Ymddengys mai esboniad min-ddalenol oedd y geiriau ar y cyntaf, fel corphoriad o draddodiad; a chan yr ymddangosai i'r oesoedd boreuol hyny yn eglurhâd tebygol, a chyson a chred yr Iuddewon, gwnaeth ei ffordd i'r testyn. Pa lyn ydoedd hwn? (1) Maentumia Robinson mai llyn mewn cysylltiad a Siloam ydoedd, yr un a llyn Solomon neu lyn y brenhin (Neh. ii. 14). Gorwedda yn ne-ddwyrain y ddinas. Gwelodd ef, yn gystal a Tobler yn 1845, gynhyrfiad y dwfr, pryd y cododd tua throedfedd mewn ychydig funydau, ac y llaesodd mewn llai o funydau. Dywedid wrtho gan wraig a breswyliai gerllaw y gwnai hyny amryw weithiau y dydd yn y gauaf, ac unwaith mewn rhyw ddeuddydd neu dri yn yr haf. (2) Ond y mae ymchwiliadau y blynyddoedd diweddaf yn ffafrio yn gryf le yn agos at eglwys bresenol St. Anne, i'r gogledd-ddwyrain. Adeiladodd Rhyfelwyr y Groes eglwys yno uwchben y llyn, gan roddi iddi bum porth, ac agen orchuddiedig yn y llawr i ddisgyn i'r llyn, ac ar y mur lun angel yn cynhyrfu y dwfr. Os edrychwn ar yr hanes o safle ein hoes ein hunain, rhaid dyfod i'r casgliad mai ffynhon fwnawl (*mineral spring*) ydoedd, yn enwedig gan ei bod yn ffaith addefedig fod y fath ffynhonau yn adnabyddus yn Jerusalem yn awr,—y cynhyrfiadau achlysurol yn cael eu hachosi gan nwyon yn crôni yn y ddaear, ac o bryd i bryd yn diangc, gan beri bwrlymiadau ar y wyneb. Dywed Eusebius fod y dwfr yn goch, am y golchid ynddo gig yr anifeiliaid a aberthid; ond nis gallwn lai na thybied mai cochni mwnawl (*chalybeate*) ydoedd, yn codi oddiwrth bresenoldeb hylifol haiarn. Ond yn yr oes hono credid fod y dyfroedd yn derbyn eu rhinwedd iachaol oddiwrth bresenoldeb angel—rhinwedd goruwchnaturiol—yr un modd ag yr edrychai yr hên Gymry ar ffynhonau sanctaidd ein gwlad. Priodolwn ni bobpeth i ddeddfau natur, priodolai yr henafiaid bron bobpeth i Dduw.

5 glefyd bynnag a fyddai arno. Ac yr oedd rhyw ddyn yno,
6 yr hwn a fuasai glaf namyn dwy flynedd deugain. Yr Iesu,
pan welodd hwn yn gorwedd, a gwybod ei fod ef *felly* yn
hir o amser bellach, a ddywedodd wrtho, A fynni di dy
7 wneuthur yn iach? Y claf a attebodd iddo, Arglwydd,
nid oes gennyf ddyn i'm bwrw i'r llyn, pan gynhyrfer y
dwfr; ond tra fyddwyf fi yn dyfod, arall a ddisgyn o'm
8 blaen i. Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Cyfod, cymmer dy
9 wely i fynu, a rhodia. Ac yn ebrwydd y gwnaed y dyn yn

---

ADN. 5. **Yr hwn a fuasai glaf namyn dwy flynedd deugain.** Yr oedd ei afiechyd felly yn anfeddyginiaethol: dyna y drychfeddwl a ddymuna Ioan ei drosglwyddo.

ADN. 6. **Yr Iesu pan welodd hwn yn gorwedd a gwybod ei fod ef felly yn hir o amser bellach.** Dyma yr achos gwaethaf a'r mwyaf anobeithiol ar lân y llyn. Y mae y geiriau am "weled" a "gwybod" yn cyfeirio gymaint, os nad mwy, at yr Iesu nag at y claf, i ddangos fod y gweled a'r gwybod yn cael eu penderfynu gan ei ymwybyddiaeth ei hun. Bron na ellir dywedyd am bob gwyrth a goffheir yn yr efengyl hon, oddigerth y wyrth ddiweddaf, mai hunan-gynhyrfiol oeddynt—yr Iesu yn cymeryd y cam cyntaf. Nid yw yn gofyn ffydd fel amod megis yn yr efengylau eraill. Pa fodd y gwybyddai yr Iesu am hir afiechyd y dyn a'r achos dirgelaidd o hono? Etyb Meyer mai clywed a wnaeth gan eraill. Ond diau genym ei fod yn gwybod o hono ei hun; nis gellir cau allan yr elfen oruwchnaturiol. Y mae gallu goruwchnaturiol yn amlwg yn y wyrth; pa beth a enillir wrth wadu gwybodaeth oruwchnaturiol hefyd? Yr un gwrthddadleuon sydd yn erbyn y naill oruwchnaturiol a'r llall. **A wyt ti yn ewyllysio dy wneuthur yn iach?** Ceisia yr Iesu yma ddeffro ewyllys y gwr, oblegid yr ewyllys ydyw haen ddyfnaf personoliaeth a chymeriad. Buasai cryfder i'r corph heb gryfder cyfatebol i'r ewyllys yn methu yn yr amcan uchaf. Y mae gan bob claf ddymuniad i wellhau, ond nid ewyllys. Gwyddis am ddynion yn marw o ddiffyg ewyllys i fyw.

ADN. 7. **Syr, nid oes genyf ddyn i'm bwrw i'r llyn.** Dysg hyn dri pheth. (1) Yr oedd y dyn yn eithriadol dlawd. Ei sefyllfa druenus a ddeffrôdd gydymdeimlad y Gwaredwr. (2) Gallasai ymlusgo rywfodd i'r llyn. (3) Credid na wellhâi neb ond y cyntaf a aethai i mewn. Feallai fod y grêd yn ddisail; y mae yn bosibl hefyd, ie, yn debygol, fod y nwyon cryfhaol yn prysur ddiflanu. Sylwedd yr ateb yw, mai nid diffyg ewyllys, ond diffyg arian, oedd yr achos ei fod heb dderbyn meddyginiaeth.

ADN. 8. **Cyfod—cymer i fynu—rhodia.** Gan fod y dyn yn meddu ar yr ewyllys, cyflawnodd Crist y wyrth. Yn ysbrydol, mewn ufudddod y daw nerth.

ADN. 9. **Ac yn ebrwydd y gwnaed y dyn yn iach.** Nid yn raddol fel gwellhâd trwy foddion meddyg, ond ar unwaith. *Result* sydd yma

iach; ac *efe* a gododd ei wely, ac a rodiodd. A'r Sabbath
oedd y diwrnod hwnnw.
Am hynny yr Iuddewon a ddywedasant wrth yr hwn a 10
wnaethid yn iach, Y Sabbath yw hi: nid cyfreithlawn i ti
godi *dy* wely. Efe a attebodd iddynt, Yr hwn a'm gwnaeth 11
i yn iach, efe a ddywedodd wrthyf, Cyfod dy wely, a

---

heb un *process*—yr hyn a nodwedda holl wyrthiau Crist. **Ac yr oedd yn Sabbath y diwrnod hwnw.** Cyfaddefwn fod ffurf y frawddeg yn hynod; er hyny, nid ydym yn barod i fabwysiadu y syniad mai Sabbath ychwanegol—math o *holiday*—yn nghanol yr wythnos ydoedd. Yn hytrach rhoddir y ffurf hon i'r frawddeg i bwysleisio mai y Sabbath ydoedd, y Sabbath wythnosol rheolaidd, er mwyn bod yn rhagarweiniad priodol i ddadl y Sabbath yn y gweddill o'r benod. Os Sabbath yn nghanol yr wythnos ydoedd, cyll y ddadl i raddau mawr ei phwynt.

ADN. 10 **Am hyny yr Iuddewon.** Enw cyffredin Ioan am arweinwyr dysgedig a swyddogol y genedl—ceidwaid y ddeddf. **A ddywedasant, Y Sabbath yw hi; nid cyfreithlawn i ti godi dy wely.** Wrth "wely" y meddylir math o "*rug*" ar yr hwn y gorweddai. Darllener Ex. xx. 8—12; Jer. xiii. 21, 22; Neh. xiii. 5. Ond gwthiai y Rabbiniaid y gorchymyn i eithafion afresymol, gan wneyd y Sabbath yn faich, yn lle yn adloniant, i'r genedl. Lluosogent fân reolau. Dyma un o honynt: "Pwy bynag ar y Sabbath a ddwg unrhyw beth i mewn, neu a gymer unrhyw beth allan o le cyhoedd i le *private*, os gwnaeth hyn yn ddifeddwl, efe a abertha dros ei bechod; os o ewyllys, torer ef ymaith a llabyddier ef." Dim ond yn y Synagog a'r Deml y gellid anymwybyddu y rheolau Rabbinaidd am y Sabbath—y rheolau trymion a roddent ar wârau eraill ni fynent eu dwyn eu hunain (Matt. xxiii. 4). Ni fuasai rheol a waharddai ddwyn aberthau a rhoddion i'r deml ar y Sabbath yn ateb dyben uchelgeisiol yr offeiriaid; am hyny dysgent nad oedd Sabbath mewn pethau cysegredig. Ni chaniateid i'r claf ddwyn ei *rug* nag i'r newynog dynu tywysen ar y Sabbath; ond gallesid cyneu tân yn y deml, pobi y bara gosod, talu y siclau i'r drysorfa, lladd colomenod ac anerod, &c. O bob diwrnod y Sabbath oedd y prysuraf yn y deml, oblegid disgwylid i bob Iuddew dalu dwy sicl yn lle un, dwy golomen yn lle un, a dau hwrdd yn lle un. Caniatâi eu rheolau i roddi ymwared lle yr oedd bywyd mewn perygl; ond yn achos y claf hwn, ymresyment y gellid aros hyd drannoeth. Paham ynte y cyflawnodd yr Iesu y wyrth ar y Sabbath? Yn un peth o gydymdeimlad â'r truan tlawd; ond yn benaf i ysgafnhau y beichiau trymion ag oedd y Phariseaid trwy eu traddodiadau wedi eu gosod ar ysgwyddau dynion, nes troi y Sabbath, a fwriedid i fod yn ddydd o orphwys corphorol ac adfywiad ysbrydol, yn ddydd gofid a blinder.

ADN. 11. **Efe a ddywedodd wrthyf.** Yr "Efe" yn bwysleisiol. Teimlai y dyn yn reddfol fod y gwr a gyflawnodd wyrth mor ryfeddol arno yn meddu awdurdod i roddi gorchymyn iddo i gyfodi ei wely a rhodio, er mai y Sabbath ydoedd. Os oedd yn myned yn erbyn eu hawdurdod hwy, teimlai ei fod yn ufuddhau i awdurdod uwch; ac yr

12 rhodia. Yna hwy a ofynasant iddo, Pwy yw y dyn a
13 ddywedodd wrthyt, Cyfod dy wely, a rhodia? A'r hwn a
iachesid ni wyddai pwy oedd efe: canys yr Iesu a giliasai
14 o'r dyrfa oedd yn y fan *honno*. Wedi hynny yr Iesu a'i
cafodd ef yn y deml, ac a ddywedodd wrtho, Wele, ti a
wnaethpwyd yn iach: na phecha mwyach, rhag digwydd i
15 ti beth a fyddo gwaeth. Y dyn a aeth ymaith, ac a fyneg-

---

oedd ei deimlad ef yn iachach na'u rhesymeg hwy. Nid allwn gydsynio â Meyer fod y dyn yn bradychu ysbryd her-feiddiol.

**ADN. 12. Pwy yw y dyn a ddywedodd wrthyt ti?** "Y dyn" (*hŏ ánthrōpŏs*) i daflu anfri arno, yr hyn sydd bron yn gyfystyr â'r Saesonaeg, "This fellow." Ond os ydoedd wedi cyflawni gwyrth, dylasent o leiaf ei alw yn brophwyd. **Cyfod dy wely a rhodia.** Gadawant yn ddigrybwyll y gwaith rhyfedd a gyflawnodd, yr iechyd a adferodd mor wyrthiol i'r claf. Canolbwyntient eu sylw ar fân-bethau dibwys,—yr un ysbryd ag sydd yn cynhyrfu rhai dynion, yn nghanol dadleuon pwysig, i godi i "*points of order.*"

**ADN. 13. Ni wyddai pwy oedd Efe, canys yr Iesu a giliasai gan fod tyrfa yn y fan hono.** Cynygir i'r gair am "giliasai" (*ĕxĕnĕusĕn*) ddau darddiad. Y cyntaf o *ĕknĕō*, yn meddwl nofio—Crist yn gwthio allan trwy y dorf fel dyn yn nofio trwy ddwfr. Yr ail o *ĕknĕúō*--plygu, plygu neu droi pen; felly y meddwl ydyw i'r Iesu blygu ei ben a diflanu, yn hytrach na bod yn wrthrych cywreinrwydd y dyrfa oedd yn y lle. Cyd. viii. 59, a Luc iv. 30. Barna Godet yr enwir y dyrfa yn y lle i ddangos yr hawsder gyda pha un y gallai yr Iesu ymgolli yn y lluaws; ond tybiwn ni mai amcan yr awdwr yma yw, nid dangos y ffordd pa fodd, ond y rheswm paham y diflanodd, sef i osgoi sylw gormodol y dorf.

**ADN. 14. Wedi hyny.** "Ar ol y pethau hyn"—cysylltiad llâc; gallasai fod yr un diwrnod neu y diwrnod canlynol. Golyga y gair "cafodd" fod yr Iesu yn chwilio am dano. Mor rasol, mor feddylgar! Gwyddai fod y claf wedi tynu arno ei hun gerydd yr awdurdodau crefyddol, a thrwy hyny beryglu ei fywyd; chwiliodd yntau am dano i'w gysuro, ac i droi y wyrth anianyddol i'w gorph yn fendith ysbrydol i'w enaid. Yr oedd y dyn erbyn hyn wedi cael amser i feddwl, ac felly yn addfed i dderbyn adeiladaeth ysbrydol. Beth oedd y dyn yn ei wneyd yn y deml? Gan ei fod mewn lle da, yr ydym yn rhwym o roddi yr esboniad mwyaf ffafriol ar ei ymddygiad—yr oedd yno i gydnabod Duw am ei adferiad. **Na phecha mwyach, rhag digwydd i ti beth a fyddo gwaeth.** Beth sydd yn waeth na 38 mlynedd o nychdod corph ond damnedigaeth enaid? Bodola cysylltiad cyffredinol rhwng pechod fel achos ac afiechyd fel effaith, ond rhybuddia yr Iesu ni yn Luc xiii. 1—5 a Ioan ix. 1—3, rhag tynu casgliad annheg am bechadurusrwydd arbenig personau anffodus. Ond yma dysgir fod cysylltiad neillduol rhwng rhyw arferiad bechadurus o eiddo y dyn a'i ddolur: arferiad drwg wedi anmharu ei iechyd am oes.

odd i'r Iuddewon, mai yr Iesu oedd yr hwn a'i gwnaethai
ef yn iach. Ac am hynny yr Iuddewon a erlidiasant yr 16
Iesu, ac a geisiasant ei ladd ef, oblegid iddo wneuthur y
pethau hyn ar y Sabbath.

---

**ADN. 15. Y dyn a aeth ymaith ac a fynegodd, &c.** Beth oedd ei gymhelliad i fynegu? Mŷn rhai mai ei ddrygioni—esgusodi ei hunan trwy daflu y cyfrifoldeb o dori y Sabbath ar yr Iesu. Ond ni welwn ni un rheswm dros bardduo ei gymeriad. Gwell genym gredu fod yr Iesu wedi gweled ynddo, nid yn unig afiechyd a thrueni, ond y posiblrwydd o bethau gwell, a'i fod trwy gymwynasgarwch y wyrth wedi deffro teimladau da y dyn, a'i fod yntau wedi myned fel mater o ddyledswydd i hysbysu yr awdurdodau pwy oedd awdwr y wyrth. **Mai yr Iesu a'i gwnaeth yn iach.** Pery y dyn i daraw yr un tant,—nid mai yr Iesu a ddywedodd wrtho am dori y Sabbath, ond mai yr Iesu a'i gwnaethai yn iach. Y wyrth oedd yn ei lanw â syndod, a disgwyliai y cawsai yr un argraph ar y swyddogion eglwysig.

**ADN. 16. Am hyny yr Iuddewon a erlidiasant yr Iesu.** Nid corph y genedl, ond y penaethiaid swyddogol (i. 19; vii. 1; ix. 22; xviii. 12, &c.), y rhai yn raddol a lefeiniasant y bobl a'u gwenwyn eu hunain. (1) Wrth yr "erlid" y dealla mwyafrif yr esbonwyr—siarad pob drygioni am dano, drygu ei gymeriad, creu teimladau gwrthwynebol iddo. (2) Ond barna Kuinoel, Grotius, Lightfoot, a Lange, mai "erlyn" yw y meddwl—erlid trwy "erlyn" mewn llys cyfreithiol, sef o flaen y Cynghor neu y Sanhedrin. Tueddwn ni at yr ail, am resymau a ymddangosant wrth fyned yn mlaen. **Ac a geisiasant ei ladd Ef.** Gadewir y frawddeg hon allan yn y Cyf. Diw., am resymau na ymddangosant i ni yn ddigonol, yn enwedig gan fod y frawddeg hon yn angenrheidiol i ddeall y gair "mwy" yn adn. 18. Ond pa fodd y ceisiasant ei ladd Ef? Yn sicr nid trwy drais ar yr heol—dynion cyfrifol mewn cymdeithas oeddynt. Pa fodd ynte? Nis gallwn ni weled un ffordd arall ond trwy *process of law*—ei wysio o flaen y Sanhedrin, ei brofi yn euog o dori y Sabbath, y gosp am yr hwn drosedd oedd marwolaeth. Ei ladd trwy gyfraith y wlad. **Oblegid iddo wneuthur y pethau hyn ar y Sabbath.** Defnyddir yma yr amser anmherffaith; y meddwl gan hyny yw, "Oblegid ei fod yn arferol o wneuthur y pethau hyn ar y Sabbath." Nid damwain ydoedd, ond arferiad; o'r gwyrthiau a groniclir yn yr efengylau, cyflawnwyd saith ar y Sabbath, yr hyn a awgryma ei bod yn egwyddor lywodraethol yn mywyd yr Iesu i wneyd gweithredoedd o drugaredd ar ddydd addoliad.

### AMDDIFFYNIAD YR ARGLWYDD IESU. ADN. 17—47.

Po fwyaf yr astudiwn yr adran hon, cryfaf yw ein hargyhoeddiad mai ystyr y gair "erlid" yw erlyn mewn cyfraith, er mwyn gweinyddu y gosp ddyledus am droseddu deddf y Sabbath. Nid oedd llywodraeth Rhufain, yn ol ei harfer, wedi ymyryd ond ychydig â threfniadau cyf reithiol tufewnol y genedl; gadewid i'r llysoedd barhau yn eu grym—gallent garcharu, esgymuno, cosbi, ie, a dedfrydu i farwolaeth, er fod

17 Ond yr Iesu a'u hattebodd hwynt, Y mae fy Nhad yn gweithio hyd yn hyn, ac yr ydwyf finnau yn gweithio.

---

amheuaeth a allent weinyddu y ddedfryd heb gydsyniad y llywodraethwr gwladol Rhufeinig. (Cyd. ix. 13—44; xix. 7.)

Fodd bynag, yr oedd tori y Sabbath yn drosedd yn erbyn deddf yr eglwys a'r wladwriaeth yn Israel; a thybiwn i'r Iesu yn awr gael ei wysio o flaen y Cynghor (cyd. Act. iv. 1—7) ar y cyhuddiad o dori cyfraith y Sabbath. A dyna yw y benod hon, o adn. 17 i'r diwedd,—amddiffyniad yr Iesu o hono ei hun o flaen ei farnwyr, y rhai oeddynt dduwinyddion proffesedig bob un, pobl ag oedd wedi gwneyd duwinyddiaeth yr H. D. yn bwngc arbenig eu hefrydiaeth. Cyfrifa hyn am nodwedd gyffredinol ei araeth ac am ei gyfeiriadau mynych at dystion a thystiolaeth (adn. 31, 32, 33, 34, 36, 39)—anhebgorion treial cyfreithiol. Cyfrif hyn hefyd am ei ymresymiad dwfn a dadleugar, yr hyn a nodwedda i ryw raddau ei holl areithiau yn yr efengyl hon. Am y pregethau a gofnodir yn y tair efengyl cyntaf, traddododd hwynt i'r werin-bobl yn Galilea,—eglur, damhegol, cyfaddas i ddealldwriaeth y gwrandawyr. Ond y mae i'r pregethau a gofnodir yn efengyl Ioan benaethiaid y genedl yn wrandawyr—duwinyddion wrth eu proffes; felly y mae y pregethau yn ddyfnach, yn fwy ymresymiadol, ac ar ryw olwg yn alluocach. Sut y cyfrifir am y gwahaniaeth? Dau bregethwr gwahanol y sydd, meddai yr esbonwyr anghrediniol. Nage, meddai yr esbonwyr uniongred; yr un pregethwr y sydd, ond nid yr un gwrandawyr,—cyfrifir am y gwahaniaeth yn y pregethau gan y gwahaniaeth yn y cynulleidfaoedd.

**ADN. 17. Ond yr Iesu a'u hatebodd hwynt.** Pa un bynag ai ei erlid mewn ystyr boblogaidd ai ei erlyn mewn ystyr gyfreithiol a gafodd, nid yw yn gwneyd dim gwahaniaeth yn mhwysigrwydd y gwirioneddau a draddododd yn ei araeth amddiffynol, canys amddiffynol ydyw ar y naill dybiaeth a'r llall. Cymerodd gyfleusdra yn y deml i gyfarch cynrychiolwyr dysgedig y genedl, i amddiffyn ei hun yn erbyn y cyhuddiad o dori y Sabbath, ac i egluro iddynt ei hawliau fel Mab Duw, ac i'w hargymhell i'w arddel fel y Messiah addawedig. Ni lefarodd erioed yn fwy nerthol, uniongyrchol, a dwfn—gwna apêl bendant atynt i'w dderbyn fel y Messiah. **Y mae fy Nhad yn gweithio hyd yn hyn.** Dyma y drydedd waith y darllenwn am dano yn y deml (Luc. ii. 49; ii. 16), a phob tro yr oedd perthynas y Ty â'r Tad yn dwyn yn fywiocach i'w ymwybyddiaeth ei berthynas ei hun â'r Tad. Y cyhuddiad oedd ei fod yn euog o dori y Sabbath, oblegid iddo iachau y claf ar y Sabbath. Ei ateb yw—"Y mae fy Nhad yn gweithio hyd y foment hon," ac o ganlyniad yn gweithio ar y Sabbath: a yw Efe yn tori y Sabbath wrth weithio ar y Sabbath? Yr oedd hwn yn gwestiwn ag yr oeddynt hwy eu hunain wedi ei ddadleu a'i benderfynu yn nacaol yn eu Cynghor. "Paham nad yw Duw yn tori y Sabbath, ac yntau yn gweithio ar y Sabbath?" gofynent. Atebent trwy ofyn cwestiwn arall, "A yw dyn yn tori y Sabbath trwy rodio yn ei dŷ ei hun? Felly nid yw Duw yn tori y Sabbath, canys wrth gynal y greadigaeth nid yw ond rhodio yn ei dŷ ei hun." Yn ol eu duwinyddiaeth hwy, gan hyny, nid oedd Duw wrth weithio ar y Sabbath yn tori y Sabbath. "**Ac yr ydwyf finau yn gweithio.**" Y "Finau" yn bwysleisiol. Y mae y ddwy frawddeg yn gydradd

Am hyn gan hynny yr Iuddewon a geisiasant yn fwy ei 18
ladd ef, oblegid nid yn unig iddo dorri y Sabbath, ond
hefyd iddo ddywedyd fod Duw yn Dad iddo, gan ei

---

(*co-ordinate*), i ddangos cydraddoldeb y ddau weithiwr. "Fy Nhad a Finau!" A yw yr hyn sydd iawn i Dduw ei wneyd yn bechod ynof fi? Ond oni ddysgir yn Gen. ii. 1—3, fod Duw wedi gorphwys ar y Sabbath, ac yn Ex. xx. 8—11, mai ei Sabbath Ef yw sylfaen Sabbath dyn? Gwir; ond er iddo orphwys oddiwrth greu, ni orphwysodd oddiwrth gynal. Ac felly y deallai yr esbonwyr Iuddewig y mater,—er i Dduw orphwys oddiwrth wneyd bydoedd, ni orphwysodd oddiwrth wneyd daioni. Y mae seithfed dydd Duw yn parhau o orpheniad y greadigaeth hyd yn awr—y mae ei Sabbath Ef yn ddidòr; ond y ffordd y mae Efe yn cadw ei Sabbath yw, nid trwy segura, ond trwy wneyd daioni—cynal yr hyn a wnaeth a gwella yr hyn a niweidiwyd. Y mae Efe yn peri i'r haul godi a'r gwenith dyfu ar y Sabbath, ie, pâr Efe i glwyfau y claf wella ar y Sabbath. Felly Finau, meddai'r Iesu,—gwneuthur y Sabbath diweddaf yr hyn y mae fy Nhad yn ei wneuthur bob Sabbath—gwella y claf. Nid tori y Sabbath oedd hynyna, fel y dysgai eu traddodiadau hwy, ond cadw y Sabbath. Gan hyny, nid esgusodi ei hun dan aden Duw dros dori y Sabbath y mae, ond cyfiawnhau ei hun am ei gadw megis y mae Duw yn ei gadw. Torai eu deddfau hwy, ond cadwai ddeddf Duw, am ei fod yn gwneyd fel y gwnai Duw.

**ADN. 18. Am hyn, gan hyny, yr Iuddewon**—swyddogion crefyddol y genedl—**a geisiasant yn fwy ei ladd Ef.** Mor bell ag y mae yr adnod hon yn myned y mae yn ddadl dros ddilysrwydd y cyffelyb ymadrodd yn adn. 16. (1) Os "erlid" anffurfiol oedd yma, y meddwl yw mai siarad cyffredinol oedd yn y gynulleidfa ei bod yn hen bryd ei symud o'r ffordd, ei ladd; ond gedy hyn y cysylltiad rhwng yr adnod hon a'r un ddilynol yn fwy llac nag y mae yr hanes yn ganiatau. (2) Ond os erlyniad cyfreithiol ydoedd, torodd y llys yn y fan hyn ar ei draws, gan ddadansoddi yr hyn oedd newydd ei ddyweyd, a dangos fod ei ymadrodd yn cynwys cabledd, trosedd newydd a mwy ysgeler na'r cyntaf, a'r ddau yn ol cyfreithiau y wlad yn haeddu marwolaeth. **Oblegid nid yn unig iddo dori y Sabbath.** Y mae y gair am dori (*lúō*) yn golygu "rhyddhau"—llacio deddf y Sabbath nes tori y cwlwm. Tuedd yr ysbryd offeiriadol (*sacerdotal*) yn mhob oes yw tynhau yr iau ar wârau dynion, lluosogi mân reolau. Felly yn awr yn y gwledydd Pabyddol: canlyniad hyny yw, nid derchafu, ond dinystrio, moesoldeb. **Ond hefyd iddo ddywedyd fod Duw yn Dad iddo ei hun, gan ei wneuthur ei hun yn gydradd a Duw.** Dyma ddau gyhuddiad—halogiad y Sabbath a chabledd. Galwodd Duw yn "Dad iddo ei hun" (*patéra ídiōn*). Pe galwasai Dduw yn Dad cyffredinol, "ein Tad," ni fuasent yn gwrthddadleu. Ond gan iddo ddywedyd "Fy Nhad," gan awgrymu ei fod yn Dad iddo ei hun mewn ffordd nad oedd iddynt hwy; ac wrth haeru ei fod yn gweithio megis y mae Duw yn gweithio, ie, gweithio yr un gwaith a Duw; amlwg yw yr hawlia gydraddoldeb â Duw. "Deallai yr Iuddewon yr hyn ni ddealla yr Ariaid," meddai Awstin. Gan fod dau gyhuddiad yn awr yn ei erbyn, a'r ddau, os gwir, yn ei brofi yn haeddianol o farwolaeth, ä yr

19 wneuthur ei hun yn gystal â Duw. Yna yr Iesu a atteb-
odd ac a ddywedodd wrthynt, Yn wir, yn wir, meddaf i
chwi, Ni ddichon y Mab wneuthur dim o hono ei hunan,

---

Iesu yn mlaen i amddiffyn ei hun yn erbyn y naill a'r llall, ond yn benaf yn erbyn yr olaf. Neu yn hytrach, eglura y seiliau ar ba rai yr hawlia gydraddoldeb â Duw.

**ADN. 19. Yna yr Iesu a atebodd ac a ddywedodd wrthynt, Yn wir, yn wir, meddaf i chwi.** Yn gymaint mai ei ogyfuwchder a Duw yw y pwngc yn awr mewn dadl, "gan na allai dyngu i neb oedd fwy, Efe a dyngodd iddo ei hun." Y mae yma lw i ddangos gwirionedd y mater a geirwiredd y llefarwr. Dàlient hwy mai cabledd oedd iddo hòni cydraddoldeb â Duw; dengys yntau mai nid cabledd ydoedd, ond gwirionedd. Ac y mae hyn yn wahaniaeth hanfodol rhyngddo â phawb a aeth o'i flaen neu a ddaeth ar ei ol. Ni hawliodd sylfaenwyr crefyddau eraill y byd erioed gydraddoldeb â Duw, eithr yn unig ysbrydoliaeth oddiwrth Dduw. Prophwydi Duw, offerynau yn llaw Duw, y galwent hwy eu hunain, nid cydraddolion â Duw. "Duw sydd Dduw, a Mahomet yw ei brophwyd," yw egwyddor sylfaenol Mahometaniaeth. Ond yn y paragraph hwn hawlia Crist gydraddoldeb â Duw, ac Efe yn unig o holl blant dynion a faentumiodd y fath hawl. Rhaid, gan hyny, ei fod y dyn goreu neu y dyn gwaethaf; mwy—rhaid ei fod yn Dduw neu yn ddiafol. Yr argraph gyntaf a wna y geiriau sydd yn canlyn yw fod yr Iesu yn israddol i'w Dad—israddoldeb swydd; ond yr ail argraph yw fod gwaith y swydd mor bwysig fel ag i ofyn un cydradd â Duw i'w gyflawni—cydraddoldeb personoliaeth. **Ni ddichon y Mab wneuthur dim o hono ei hunan.** Nid oes un weithred o eiddo y Mab yn ffynhonellu yn y Mab ei hunan,—cychwyn yr ergyd o lygad y ffynhon yn y Tad. Yn lle y rhagenw "Fi" fel yn adn. 17 a 24, defnyddia yr enw "Mab," oblegid fod yr enw Mab yn cyfateb i'r enw Tad, ac felly fod y naill yn adlewyrchu goleuni ar y llall. Ond pa un ai y Mab mewn swydd, ynte y Mab uwchlaw swydd, sydd yma? Mewn geiriau eraill, Pa un ai y Mab yn ei raghanfodiad yn y Duwdod, ynte y Mab yn ei ymgnawdoliad yn y Dyndod, a feddylir? Mỳn amryw mai y Mab fel ail Berson yn y Drindod; ond dyogelach i ni ddàl yn dỳn at y rheol nad amcan yr Ysgrythyr yw egluro *metaphysics* y Duwdod—ei berthynasau tufewnol; ac, o ganlyniad, mai at y Mab y cyfeirir yma, nid fel y mae y tu fewn i'r Duwdod, ond fel y mae y tu allan—y Mab fel y mae yn ymgnawdoledig. Y mae gwybod sut y mae y tu faes yn help i ddirnad sut y mae y tu fewn; ond yr amcan yw ei osod allan, nid yn ei berthynas noeth â'r Tad yn y Drindod, ond yn ei berthynas achubol fel Cyfryngwr—ei berthynas fel Messiah â Duw. Fel y cyfryw "ni ddichon y Mab wneuthur dim o hono ei hunan"—o'i ewyllys neu ei fympwy ei hunan. Anallu moesol a feddylir—anallu Mab perffaith, mewn swydd o gyfrifoldeb perffaith, i wneuthur dim ar wahân i Dad perffaith. Mae yn bosibl, ie, yn debyg fod yr anallu moesol hwn ynddo fel Mab ymgnawdoledig—Mab mewn swydd—yn cyfeirio at anallu hanfodol ynddo fel ail Berson yn y Drindod; ond anallu i gyflawni gwaith ei swydd ar wahân i ewyllys ei Dad sydd yma. Y mae swydd yn golygu

eithr yr hyn a welo efe y Tad yn ei wneuthur: canys beth
bynnag y mae efe yn ei wneuthur, hynny hefyd y mae y
Mab yr un ffunud yn ei wneuthur. Canys y Tad sydd yn 20

---

ewyllys yr Hwn a'i gosododd mewn swydd; nid Efe, ond Hwnw, sydd i benderfynu gwaith y swydd bob awr, a helaethrwydd ei therfynau. Y mae yr egwyddor yna yn gyffredinol am bob swydd—nid oes un swyddog da perffaith yn gwneuthur dim o hono ei hunan, yn ol ei ewyllys neu ei farn ei hun, ond yn ol cyfarwyddiadau y Gallu a'i dododd mewn swydd; ac os yw yn aml yn gorfod arfer ei ewyllys a'i farn ei hun, prawf yw hyny o anmherffeithrwydd yr awdurdod a greodd y swydd. Swyddog perffaith, mewn swydd berffaith, dan awdurdod berffaith, ni wna ddim o hono ei hunan, ond fel y cyfarwyddir ef gan ei uwchafiaid. **Eithr yr hyn a welo Efe y Tad yn ei wneuthur.** Y Tad yn ei gymeriad fel achubydd, a chreawdwr y swydd Gyfryngol. Beth yw y Tad fel y person cyntaf yn y Drindod ni fedrwn ni ddirnad, ac nid yw yr Ysgrythyr yn datguddio; ond yn ei berthynasau achubol gosodir Ef allan yn Dad, ac y mae hyny yn rhyw ddangoseg i ni ei fod yn Dad hefyd yn ei berthynasau tufewnol. Gellir bod yn sicr, beth bynag ydyw yn fwy, nad yw ddim yn llai, na Thad. Ond y gwirionedd y dylem ni ei gofio yma yw, mai nid *metaphysics* yr Hanfod sydd yn cael eu hegluro yma, ond perthynas y Tad a'r Mab yn y drefn Gyfryngol. Y mae y "gweled" yma yn dynodi canfyddiad ysbrydol yr Iesu fel Mab o waith ei Dad fel achubydd; y teimladau a'r bwriadau yn Nuw fel Tad yn dyfod yn ymwybyddiaeth glir, loew, yn yr Iesu fel Mab. Gan hyny, nid yw yn euog o gabledd. Hanfod cabledd yw—herio Duw, gosod ein hunain i fynu fel cystadleuwyr âg Ef, y ni ac Efe yn alluoedd gwrthwynebol i'n gilydd. Hòna yr Iesu ei fod yn gystadl, eithr nid yn gystadleuydd; yn gydradd, nid am ei fod yn gwrthwynebu, ond yn ymdoddi i'w Dad—ei ewyllys ei hun yn ymgolli yn ewyllys ei Dad. **Canys beth bynag y mae Efe yn ei wneuthur, hyny hefyd y mae y Mab yr un ffunud yn ei wneuthur.** Nid undod, canys dangosir fod y Tad a'r Mab yn bersonau gwahaniaethol; ond undeb llwyr serch hyny, canys er eu bod yn wahaniaethol nid ydynt yn wahanol. Gosodir allan berffeithrwydd yr undeb mewn dau beth. (1) Yn y gair "beth bynag." "Beth bynag"—"yntau hefyd." (2) "Yr un ffunud"—"yr un modd yn gymhwys." Nid efelychiad, ac nid cyfranogiad, ond cyffelybrwydd (*hŏmŏiōs*) llwyr a pherffaith. Nid prentis mohono yn graddol wella yn ei waith mewn efelychiad o'i feistr; ond "*beth bynag* y mae y Tad yn ei wneuthur" y mae yr Iesu hefyd yn ei wneuthur. Ac nid yn unig hyny, ond y mae yn gwneuthur pob peth "yr un ffunud" â'r Tad—"yr un modd yn gymhwys." Felly y mae gwaith y Mab yn gydradd â gwaith y Tad mewn cyffredinolrwydd ac mewn perffeithrwydd; ac y mae cydraddoldeb y gwaith yn arwyddocau cydraddoldeb y personau. Megis y mae bysedd y clòc y tu faes yn symud gyda ac yn gyfamserol â'r olwynion y tu fewn, y naill yn effaith a'r llall yn achos, felly yr oedd gweithredoedd y Mab y tu allan i'r Duwdod yr un ffunud ac yn gyfamserol â gweithredoedd y Tad y tu fewn—y naill yn effaith a'r llall yn achos. Nid dangos gwaith y clòc y tu fewn yw y dyben, ond dangos ei waith y tu faes; eto gellir casglu am y symudiadau tufewnol oddiwrth y symudiadau allanol.

caru y Mab, ac yn dangos iddo yr hyn oll y mae efe yn ei wneuthur; ac efe a ddengys iddo ef weithredoedd mwy

---

**ADN. 20. Canys y Tad sydd yn caru y Mab.** Yn iii. 35 y gair am Dduw yn caru y Mab yw *agapaō*, yma *phileō*. Y mae amrywiaeth barn am y gwir wahaniaeth rhwng y ddau air; ond hyd y gellir gwneyd allan dynoda y cyntaf gariad fel egwyddor, yn tarddu o'r ewyllys ddwyfol, ac felly gariad o anfeidrol ewyllys da; tra y dynoda yr olaf gariad fel teimlad, yn tarddu o'r galon ddwyfol, ac felly gariad o anfeidrol hyfrydwch yn y gwrthrych, yn tarddu o gymeriad neu waith y gwrthrych. Yn y cyntaf y mae y *subject* yn fwy amlwg, tra yn yr olaf yr *object* sydd benaf yn y golwg. Y mae y Mab yn wrthrych y ddau gariad; yma yn wrthrych cariad o hyfrydwch ei Dad yn rhinwedd ei swydd Gyfryngol. **Ac y mae yn dangos iddo yr hyn oll y mae Efe yn ei wneuthur.** Megis yr oedd yr adnod flaenorol yn dangos agwedd meddwl y Mab at y Tad, felly y mae yr adnod hon yn dangos agwedd gyfatebol meddwl y Tad at y Mab. Y mae y Mab yn "gweled," y mae y Tad yn "dangos"; y mae y Mab yn sylwi ar "beth bynag" a wnêl y Tad, y mae y Tad yn dangos yr "oll" i'r Mab. Y mae cyfatebiaeth berffaith felly rhwng y tu faes a'r tu fewn i'r Duwdod. Yr oedd y Mab wedi iachau y claf ar y Sabbath: dangoseg oedd hyny fod y clôc yn taraw y tu fewn, ac yn taraw yn uwch ar y Sabbath nag un diwrnod arall. Dyma esboniad yr Iesu ar y wyrth, ac esboniad na fedrai yr esbonwyr Iuddewig ei wrthdroi, canys yr oedd yn un o wirebau hunaneglur eu dysgeidiaeth "na allai neb wneuthur y gwyrthiau hyn ag oedd Efe yn eu gwneuthur onibai fod Duw gydag ef" (iii. 2); ac os oedd Duw yn gweithio trwyddo yn y wyrth, pa fodd y gallent wadu fod Duw yn llefaru trwyddo yn ei esboniad ar y wyrth? **A gweithredoedd mwy na'r rhai hyn a ddengys Efe iddo.** Mwy na iachau y claf. A yw y geiriau yn golygu cynydd yn ngwybodaeth yr Iesu am y dwyfol gynllun o achub y byd? Wrth ateb rhaid cofio fod dirgelwch dau-ochrog yr Ymgnawdoliad yn ein gwynebu yma eto. Ar un llaw, prin y gellir dyweyd fod yma gynydd gwybodaeth, gwyddai Efe y dechreu o'r diwedd, canys yn y Pasg cyntaf (ii. 19—21) sieryd am ei farwolaeth a'i adgyfodiad. A gŵyr yn awr beth oedd y gweithredoedd mwy oedd i gael eu dangos iddo yn y dyfodol: pa fodd y gallasai eu rhagddywedyd, os nad ydoedd yn eu gwybod? Ar y llaw arall, y mae cynydd yn ei ymwybyddiaeth ddynol. Nid oedd ei wybodaeth ddwyfol i gyd wedi ei throi yn ymwybyddiaeth ddynol o'i fewn. Os dywedir na allwn gysoni gosodiadau fel yna â'u gilydd, ni ddywedir ond yr hyn y mae yr apostolion a'r prif dduwinyddion yn ei ddysgu o'r dechreu—dirgelwch mawr i'w gredu, ac nid i'w amgyffred. Ni ddylid aberthu y dwyfol i'r dynol; ar y llaw arall, ni ddylid aberthu y dynol i'r dwyfol. Ac eto nid oes dim yn ddyeithr i'n profiad ni fod ein gwybodaeth, mewn rhyw ystyr, yn ehangach na'n hymwybyddiaeth. Gall yr hyn sydd yn wybodaeth ddrychfeddyliol un adeg droi ar adeg arall yn ddylanwad yn ein hanes a gadael ei marc yn ddwfn ar ein bywyd a'n cymeriad. Yr oedd "gweithredoedd mwy" y dyfodol o fewn cylch gwybodaeth yr Iesu yn awr; deuant yn raddol o fewn cylch ei ymwybyddiaeth hefyd—os caniateir i ni arfer y ddau air mewn ystyr rydd yn hytrach nag yn yr ystyr athronyddol gywir. **Fel y rhyfeddoch chwi.** Y "chwi" yn

na'r rhai hyn, fel y rhyfeddoch chwi. Oblegid megis y 21
mae y Tad yn cyfodi y rhai meirw, ac yn *eu* bywhâu ; felly

---

bwysleisiol. Ymddengys fel pe byddai y gyneddf o "ryfeddu" wedi gwywo yn y bobl hyn ; tuedd *culture* yw mygu y gallu i synu. Ond paham "rhyfeddu," ac nid "credu"? Yr amcan penaf yn ddiau oedd eu dwyn i gredu. Ond ni allesid eu dwyn i gredu heb yn gyntaf eu dwyn i ryfeddu. Nid oes un arwydd mwy gobeithiol ar wrandawyr na'u bod yn dechreu rhyfeddu ; arwain rhyfeddu hwy i gredu ; ac arwain credu hwy i ryfeddu mwy.

### Bywhau y Meirw. Adn. 21—24.

Coleddir gwahanol farnau am fater adn. 21—30. (1) Tybia rhai mai adgyfodiad ysbrydol yw mater yr holl adran, (2) ac eraill mai yr adgyfodiad corphorol. (3) Ond barnwn ni fod yr Iesu yn trafod y ddau, fel y canlyn : gosodiadau cyffredinol am ei allu i fywhau a'i awdurdod i farnu yn adn. 21—24 ; cymhwysiad o'r gwirionedd cyffredinol at y bywhâd ysbrydol yn adn. 25—27 ; ac at yr adgyfodiad cyffredinol yn y dydd diweddaf yn adn. 28—30.

**ADN. 21. Oblegid megis y mae y Tad yn cyfodi y rhai meirw ac yn eu bywhau.** Diau fod y "cyfodi" a'r "bywhau" yn cyfeirio at yr un weithred, y cyntaf yn ei dynodi yn ei dechreuad, a'r olaf yn ei gorpheniad. Beth ynte yw y meddwl? (1) Y mae yn anmhosibl eu gwâghau o'r ystyr lythyrenol, ac y mae eu perthynas â iachad y claf yn ein gorfodi i'w gymeryd i mewn. Rhaid y cynwysant gyfeiriad at Dduw yn yr H.D. yn cyfodi o feirw fab y Sunamees trwy Eliseus, &c. : gwyrthiau cyffelyb o ran natur i'r wyrth sydd yn awr yn achlysur y ddadl. (2) Eithr yn gorwedd dan yr ystyr lythyrenol y mae yr ystyr ysbrydol. Yr oedd Israel wedi syrthio i ystâd o farwolaeth ysbrydol unwaith a thrachefn, megis ei desgrifir yn ngweledigaeth yr esgyrn sychion yn Ezek. xxxvii. 1—11 ; ond yr oedd Duw wedi anadlu ynddynt, a daethant yn fyw drachefn. Gwir hynyna am bersonau unigol, ac am y genedl yn gyffredinol. (3) Y mae y gweithredoedd yna o eiddo y Tad yn y gorphenol yn arwyddion o'i weithredoedd arferol yn hanes y byd (Deut. xxxii. 19 ; 1 Sam. ii. 6 ; Isa. xxvi. 19). O herwydd paham llefara yr Iesu yma am waith y Tad yn yr amser presenol. **Felly hefyd y mae y Mab yn bywhau y rhai a fyno.** Gadewir allan "codi y rhai meirw," am fod "bywhau" fel perffeithiad y weithred yn cynwys ei dechreuad. Nid oes dim cyfyngiad ar allu y Mab yn fwy nag ar allu y Tad. (1) Megis yr oedd y Tad wedi bywhau y meirw llythyrenol yn yr H. D. felly yr oedd Crist yn myned i fywhau y meirw naturiol, megis Lazarus, &c. Nid yw fod y gwyrthiau hyn eto heb eu cyflawni yn un rheswm dros wrthod yr esboniad hwn, oblegid y maent yn gynwysedig yn y "gweithredoedd mwy" oedd i gael eu cyflawni. Perthyn y Bywhâd ysbrydol ar ddydd y Pentecost a'r Adgyfodiad cyffredinol hefyd i'r dyfodol, ac eto cyfaddef pawb fod cyfeiriad atynt hwy yn yr adnodau dilynol. Cyhoeddi y gwirionedd cyffredinol y mae yr Iesu yn awr, gan adael i'r dyfodol brofi y manylion. (2) Megis ag yr oedd y Tad wedi bywhau y meirw ysbrydol yn eglwys yr H. D., felly y gwnai y Mab yn

22 hefyd y mae y Mab yn bywhâu y rhai a fynno. Canys y
Tad nid yw yn barnu neb; eithr efe a roddes bob barn i'r
23 Mab: Fel yr anrhydeddai pawb y Mab, fel y maent yn
anrhydeddu y Tad. Yr hwn nid yw yn anrhydeddu y

---

yr eglwys ag oedd Efe i'w sefydlu yn y byd—y mae yn "bywhau y rhai a fyno." Nid oedd prophwydi yr H. D. yn gallu bywhau y rhai a fynent; trwy hir ymbil â Duw y bywhaent hwy y meirw; ond y mae y Mab yn bywhau y rhai a fyno. Nid penarglwyddiaeth ei ewyllys sydd yma, ond ehangder ei allu. Gyda dynion yn ddieithriad y mae y gallu yn llai na'r ewyllys; ond yn y Mab y maent yn ogyfuwch a gogyfled. Nid cyfyngiad ar ei allu i fywhau, ond helaethiad—y mae ei allu mor rhydd a dilyfethair â'i ewyllys.

**ADN. 22. Canys y Tad nid yw ychwaith yn barnu neb.** Ystyr lythyrenol y gair "barnu" (gwel iii. 18) yw—chwilio i mewn i'r mater, pwyso y tystiolaethau o blaid ac yn erbyn, a chyhoeddi dedfryd o rydd-hâd neu gondemniad fel canlyniad. Ond yn efengyl Ioan y mae y syniad o gondemniad yn gorbwyso y syniad o ryddhâd—y mae i'r gair gysgod tywyll. Gallesid tybied hefyd oddiwrth y gair "ychwaith" mai gwaith priodol y Tad yw barnu, mai ei hawlfraint Ef yn unig yw penderfynu tynghed dragwyddol ei ddeiliaid. Ond gan nad beth a fuasai ffurf-lywodraeth y greadigaeth pe parhasai mewn cyflwr dibechod, gwyddom mai ei ffurf-lywodraeth bresenol yw y Gyfryngol. Trwy gyfryngwriaeth ei Fab y mae Duw yn awr yn llywodraethu; ac yn unol â'r gyfundrefn Gyfryngol, nid yw y Tad yn barnu neb. Buasai i'r Tad weinyddu barn yn anghyson a ffurf-lywodraeth bresenol y byd. Llywodraeth bersonol yw yr eiddo Rwssia; o ran hawl y mae pob barn yn nwylaw yr Ymherawdwr, a gall arfer ei hawl pryd y myno heb dreisio yr un gyfraith; ond, er mwyn cyfleusdra, dirprwya yr hawl i eraill i farnu yn ei le. Ond nid llywodraeth bersonol, fe ymddengys, yw llywodraeth y Brenin Mawr yn bresenol, eithr llywodraeth Gyfryngol. Felly nid dirprwywr yn lle Duw yw yr Arglwydd Iesu, yn meddu hawl ail-law i drafod achosion dynion, ond Cyfryngwr, yn meddu yn ol y gyfundrefn lywodraethol yr un hawl i farnu ag a berthynai yn wreiddiol i'r Tad. **Eithr Efe a roddes bob barn i'r Mab**. Gan hyny, yn unol â'r gyfundrefn Gyfryngol y mae llywodraeth y Mab yn ddiamodol, a'i farn Ef yn derfynol—nid oes apêl at un awdurdod uwch. Nid yw hyn yn golygu llywodraeth wrthwynebol i'r eiddo y Tad; oblegid yn gyntaf Efe ei hun a'i sefydlodd o'i rydd ewyllys; ac yn ail derbyniodd y Mab ei awdurdod Gyfryngol oddiwrth y Tad. Gan fod yma berffaith Faboliaeth a pherffaith Dadoliaeth, sicrheir cydgordiad perffaith, ac nid gwrth-wynebiad na chystadleuaeth. "Pob barn"—"yr holl farn": y farn yn mhob cangen o honi—nid oes un pwynt wedi ei gadw yn ol i lys uwch, ac felly nid oes apêl yn erbyn dedfryd y Mab.

**ADN. 23. Fel yr anrhydeddai pawb y Mab fel y maent yn anrhyd-eddu y Tad.** Golyga hyn gydraddoldeb llywodraethol. Nid *viceroy* i Dduw yw y Mab fel llywodraethwr yr Iwerddon neu yr India i'r Frenhines. Y mae gan y diweddaf frenhiniaeth ddirprwyol; ond am

Mab, nid yw yn anrhydeddu y Tad yr hwn a'i hanfonodd
ef. Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, Y neb sydd yn 24
gwrandaw fy ngair i, ac yn credu i'r hwn a'm hanfonodd i,
a gaiff fywyd tragywyddol, ac ni ddaw i farn; eithr efe a

---

mai dirprwyol ydyw, gellir apelio at y Frenhines oddiwrth ei ddyfarniad ef. O ganlyniad, ni all neb anrhydeddu y brenhin dirprwyol hwn fel yr anrhydedda y Frenhines ei hun. Ond gorchymyn Duw i bawb anrhydeddu y Mab fel y maent yn anrhydeddu y Tad. Paham? Am mai nid Dirprwywr mohono, ond Cyfryngwr, ac felly saif ei lywodraeth ar ei gwaelod ei hun. Rhoddodd ei Dad iddo fel Cyfryngwr ryddid diderfyn, annibyniaeth hollol; ac yna cysegrodd yntau ei ryddid a'i annibyniaeth i ewyllys y Tad, fel ag y mae undeb mor ddifwlch rhyngddynt yn y deyrnas Gyfryngol ag oedd ynddynt erioed yn yr Hanfod dragwyddol. Y mae yr undeb rhyngddynt fel personau, ag oedd yn tarddu o angenrheidrwydd yn yr Hanfod Ddwyfol, yn y deyrnas Gyfryngol yn tarddu o ryddid ewyllys y Tad a'r Mab. Llifa hyn oll o gariad y Tad at y Mab; yn nerth ei gariad trosglwyddodd y Tad ei holl hawlfreintiau i'r Mab. **Yr hwn nid yw yn anrhydeddu y Mab, nid yw yn anrhydeddu y Tad yr hwn a'i hanfonodd Ef.** Dyma frawddeg fawr efengyl Ioan eto, "Yr Hwn a'i hanfonodd Ef," yn dynodi fod yr Iesu yn llanw swydd y gosodwyd Ef ynddi gan ei Dad. Gan hyny, rhaid mai y Mab ymgnawdoledig a feddylir; oblegid nis gall y Mab, yn noethder ei Dduwdod, lanw swydd. Y mae gan y Tad a'r Ysbryd eu gwaith, ond nid eu swyddau, oherwydd nid oes neb uwch na hwy i'w dodi mewn swyddau, ac i ymddiried gwaith swyddogol iddynt. Y mae y peth a wna dyn o'i ewyllys ei hun, heb fod yn gyfrifol i neb y tu allan iddo ei hun, yn waith, eithr nid yn waith swyddol, am y rhagdybia swydd ryw awdurdod uwchraddol, yr hwn sydd yn rhoddi gwaith fel ymddiriedaeth i'w gyflawni. Pan y daeth y Mab mewn cnawd y daeth i sefyllfa y gallesid ei osod mewn swydd—ymddiried gwaith iddo i'w wneuthur mewn darostyngiad i ewyllys uwch. Tra y perthyn gwaith i'r Personau eraill, i'r Arglwydd Iesu yn unig y perthyn gwaith swyddogol, yn nhrefn yr achub. Felly y mae dianrhydeddu y Mab—y Mab mewn swydd, yn ddianrhydeddu y Tad hefyd, oblegid diystyrir Ef yn y swydd y gosododd y Tad Ef ynddi. Mewn geiriau eraill, y mae dianrhydeddu y Mab yn ei swydd Gyfryngol, y Mab ymgnawdoledig, y Mab y tu allan i'r Duwdod, yn ddianrhydeddu y Tad y tu fewn i'r Duwdod. Teimlwn ein bod yn defnyddio geiriau cryfion; ond pa ystyr arall a allwn roddi i ymadroddion mor ddyrchafedig?

**ADN. 24. Yr hwn sydd yn gwrandaw fy ngeiriau i.** Y mae "gwrandaw" i "glywed" yr hyn yw "edrych" i "weled" yn Ioan i. 2, 3, golyga astudrwydd a meddylgarwch. **Ac yn credu yr hwn a'm hanfonodd i.** Nid credu ynddo neu iddo, ond ei gredu Ef, y gris isaf a chyntaf mewn credu. **A gaiff fywyd tragwyddol.** Y mae ganddo yn awr. Nid parhâd bywyd, ond ei ansawdd, sydd yn ei wneuthur yn dragwyddol. Pe estynasid oes anghredadyn yn ddiddiwedd, ni fuasai er hyny yn berchen bywyd tragwyddol. Un bywyd tragwyddol y sydd—bywyd y Bôd tragwyddol. **Ac ni ddaw i farn.** Nid yw hyn yn gwadu fod barn gyffredinol yn aros pawb, credinwyr ac anghredinwyr fel eu

25 aeth trwodd o farwolaeth i fywyd. Yn wir, yn wir, meddaf
i chwi, Y mae yr awr yn dyfod, ac yn awr y mae, pan
glywo y meirw lef Mab Duw: a'r rhai a glywant, a fydd-

---

gilydd; ond ni ddaw person y credadyn i farn—nid eisteddir mewn barn ar ei gyflwr, er yr eisteddir mewn barn ar ei weithredoedd. Mewn llysoedd daearol y mae dau fath o dreialon—treialon personau a threialon achosion. Mewn *civil cases* achosion sydd yn cael eu trin, a gall dyn gonest ac anrhydeddus golli ei achos heb golli ei gymeriad. Ond mewn *criminal cases* personau sydd yn cael eu trafod, ai euog neu ddieuog eu cyflwr yn ngwyneb cyfraith; os euog, dyfarna y barnwr eu cosp yn ol graddau eu drwghaeddiant. Felly gyda golwg ar y Farn ddiweddaf. Bydd yno *criminal cases:* rhaid i'r annuwiolion sefyll eu treial o ran eu cyflwr, ai euog ai dieuog fyddant; a chyhoeddir collfarn arnynt. Ond ni ddaw y credadyn i farn o ran ei gyflwr; y mae Duw yn y cyfiawnhâd wedi ei gyhoeddi ef yn gyfiawn—y mae ei gyflwr wedi ei benderfynu am byth. Ni fydd ail-dreio arno. Ond bydd rhaid iddo yntau sefyll ei brawf o ran ei weithredoedd; "rhaid i ni oll sefyll gerbron brawdle Crist," a thra y mae bywyd pob sant wedi ei ddyogelu yn y cyfiawnhâd mewn canlyniad i gredu, penderfynir graddau eu gwobr yn ol eu diwydrwydd mewn gweithredoedd da. **Eithr efe a aeth trosodd o farwolaeth i fywyd.** Nid "trwodd" ond "trosodd." Yn yr adenedigaeth y mae y credadyn yn myned trwodd o farwolaeth i fywyd; ond yn cyfiawnhâd y mae yn myned trosodd,—y mae yn croesi y llinell rhwng yr euog a'r dieuog, rhwng dedfryd angeu a dedfryd bywyd. Y mae mwy na hawl i fyw yn y "bywyd tragwyddol," fel y dengys yr adran nesaf; ond dylid cofio mai yr *objective* sydd bob amser yn nhrefn grâs yn sylfaen i'r *subjective.*

Y BYWHAD YSBRYDOL. ADN. 25, 26.

**ADN. 25. Y mae yr awr yn dyfod, ac yn awr y mae.** (1) Tybia rhai mai at yr Adgyfodiad cyffredinol y cyfeirir. Os felly, pa fodd yr eglurir y frawddeg,—"ac yn awr y mae"? Trwy ddyweyd fod yr Iesu yn ei fywyd wedi rhoddi amlygiadau o'r un gallu ag a gyfyd y meirw yn y dydd diweddaf, yn adgyfodiad Lazarus, mab y weddw o Nain, &c. Teilynga yr eglurhâd hwn fwy o barch nag a roddir iddo gan esbonwyr diweddar. (2) Ond diau mai yr adgyfodiad ysbrydol yw y drychfeddwl llywodraethol. Dechreuodd Crist, yn ei weinidogaeth bersonol, fywhau y meirw ysbrydol. Cyfarfyddodd ar ddiwedd ei weinidogaeth o dair blynedd tua 500 brodyr ar y mynydd, heb gyfrif y gwragedd a'r plant,—pobl i gyd wedi eu cyfodi o farwolaeth ysbrydol i fyw buchedd newydd. Cyfreithlona hynyna yr ymadrodd, "ac yn awr y mae hi." Ond yn llawn ystyr y gair, "dyfod" oedd yr awr; ar ddydd y Pentecost y dechreuodd llef fywydol Mab Duw ddeffro y meirw ysbrydol ar raddfa ehang. **Pan glywo y meirw lef Mab Duw.** Y meirw ysbrydol. Y "Mab" y galwai ei hun yn yr adnodau blaenorol; yma "Mab Duw." Paham y cyfnewidiad? I ddangos nad oedd ond y goruwch-naturiol yn ei ffurf uwchaf a fedrai gyflawni y gwaith. Clywodd y claf ar lan y llyn ei lef; ond yn y dyfodol cyflawna weithredoedd mwy—caiff y meirw ysbrydol glywed ei lef a chyfodant i adnewyddiad buchedd. Yn mhob

ant byw. Canys megis y mae gan y Tad fywyd ynddo ei 26
hunan, felly y rhoddes efe i'r Mab hefyd fod ganddo fywyd
ynddo ei hun; Ac a roddes awdurdod iddo i wneuthur 27
barn hefyd, oherwydd ei fod yn Fab dyn. Na ryfeddwch 28

---

gwlad lle y pregethir Crist gellir dangos gweithredoedd mwy na iachâd y dyn claf—meirwon ysbrydol yn sefyll ar eu traed ac yn moliannu Duw. **A'r rhai a glywant a fyddant byw.** Ni chlyw pawb, yr hyn a ddengys fod cydweithrediad yr ewyllys, er yn eiddil, yn angenrheidiol i droedigaeth. Clywed i fuddioldeb fel ag i deimlo nerth. Parhâ llef Mab Duw i swnio yn nghlustiau dynion o'r pryd hwnw hyd yn awr: ond ni chlyw pawb i fuddioldeb, am na ewyllysiant ddeall y genadwri.

**ADN. 26. Canys megis y mae gan y Tad fywyd ynddo ei hunan.** Rheswm dros y gosodiad yn yr adnod flaenorol. Fel y Person cyntaf yn y Drindod, Efe yw ffynhonell pob bywyd; o hono Ef fel yr Achos gwreiddiol y dylifa bywyd i'r Mab a'r Ysbryd, a thrwyddynt hwy i'r cread. **Felly y rhoddes Efe i'r Mab hefyd fod ganddo fywyd ynddo ei hun.** Y gosodiad yw, fod gan y Mab fywyd, nid o hono, ond ynddo, ei hun, bywyd a roddes y Tad iddo. Ai i'r Mab fel ail Berson yn y Drindod, ynte i'r Mab fel Cyfryngwr Ymgnawdoledig? Rhaid cofio eto mai nid egluro perthynasau tufewnol yr Hanfod yw amcan datguddiad, ond y perthynasau allanol—perthynas y Tad fel ffynhonell y Duwdod â'r Mab fel Iachawdwr y byd. Nid ydym yn gwadu y priodoldeb o gymhwyso y gair "rhoddes" yn yr adnod at y Cenhedliad Tragwyddol, yn ol syniad Awstin a'r Tadau Cristionogol, oblegid nid yw anghenrheidrwydd y Cenhedliad yn cau allan weithrediad yr Ewyllys ddwyfol—yn y Bôd perffaith y mae rheidrwydd a rhyddid yn un. Er hyny, y mae rhediad ac amcan datguddiad yn ein rhwymo i gymhwyso y geiriau at y Mab yn ol y trefniant Cyfryngol—rhoddi i'r Mab fel Cyfryngwr fod ganddo fywyd, nid o hono, ond ynddo ei hun—bywyd i'w gyfranu i bechadur. Rhoddes y Tad iddo fel Cyfryngwr rywbeth nad oedd ganddo yn wreiddiol a hanfodol, trosglwyddodd iddo o'i wir ewyllys yr hawlfraint a berthynai yn wreiddiol iddo ei hunan. Yr oedd y Mab, o ganlyniad, mewn rhyw ystyr yn enillydd yn rhinwedd ei Gyfryngwriaeth,—gwnaed Ef, nid yn fwy na Mab, ond yn fwy o Fab, yn nhrefn yr iachawdwriaeth. Gwyddom ein bod yn sangu ar ddaear sanctaidd; am hyny, diosgwn ein hesgidiau oddiam ein traed a phlygwn ein penau mewn gwyleidd-dra addoliadol.

**ADN. 27. Ac a roddes awdurdod iddo i wneuthur barn hefyd.** Yn y Cyf. Diw., gosodir "hefyd" i mewn yn nghorph yr adnod, ond gadewir ef allan ar ymyl y ddalen, yr hyn a ddengys fod tystiolaethau y llawysgrifau dros ac yn erbyn yn agos a bod yn gydbwys; eithr mor bell ag y mae gorbwysedd, o blaid cadw y gair y mae. Y mae y bywyd ynddo, a'r awdurdod ganddo, a'r ddau wedi eu derbyn yn ei gymeriad fel Cyfryngwr. Gan y Tad yr oedd yr hawl wreiddiol i gyfranu bywyd, a'r awdurdod wreiddiol i farnu; ond Efe a roddes y naill a'r llall i'r Mab fel Cyfryngwr. **Oherwydd ei fod yn Fab Dyn.** "Mab Dyn" heb y fanod, tra yn mhobman arall Mab y Dyn gyda dwy fanod. Beth yw y gwahaniaeth? Y mae Mab y Dyn gyda y fanod yn cyfeirio at berson yr

am hyn: canys y mae yr awr yn dyfod, yn yr hon y caiff
29 pawb a'r sydd yn y beddau glywed ei leferydd ef: A *hwy* a

---

Arglwydd Iesu,—at yr hyn a'i gwahaniaethai oddiwrth bawb eraill; ond "Mab Dyn" heb y fanod at ei natur ddynol,—nid at yr hyn oedd wahaniaethol, ond at yr hyn oedd gyffredin rhyngddo a phawb eraill, sef ei ddynoliaeth lawn berffaith, nid fel mwy na dyn ond fel mwy o ddyn. Ond pa fodd y mae dynoliaeth lawn yr Arglwydd Iesu yn rheswm dros ei benodi yn Farnwr? Rhoddir amryw atebion, ac y mae rhyw gymaint o wirionedd yn yr oll, eithr nid yr holl wirionedd yn yr un. (1) Un ateb yw, mai am y gŵyr Iesu Grist trwy brofiad beth sydd mewn dyn, beth yw gwendidau a themtasiynau plant dynion, ac felly y medr wneyd yr *allowance* priodol i'r bobl fydd yn cael eu barnu. Y mae hynyna yn wirionedd, ac o'n safle ni yn wirionedd cysurlawn iawn; ond ai ni fuasai y Tad yn medru gwneyd yr un peth? A fuasai perygl i'r Tad, o ddiffyg gwybodaeth neu gydymdeimlad, wneyd cam â gwr yn ei fater? Nid ydym yn tybied. (2) Gorfoda hyn ni i chwilio am reswm arall,—mai gweddus oedd i'r Hwn oedd Waredwr fod hefyd yn Farnwr (cyd. Heb. ii. 10). Lle nad oes anghenrheidrwydd y mae gweddusrwydd. Y mae safon y Farn yn ei berson dwyfol-ddynol Ef ei hun; bydd Ef ar y faingc yn safon o'r hyn y dylasai dynoliaeth fod. Nid safon yn yr *abstract*, ond yn y *concrete;* nid 36 modfedd mewn ffigyrau mewn llyfr, ond llathen lawn hyd ar y bwrdd. (3) Bydd hefyd *interest* y Goron ac *interest* y carcharor yn ei ofal. Am ei fod yn Fab Duw bydd ynddo allu i farnu, a bydd carictor yr Orsedd yn ddyogel. Am ei fod yn Fab Dyn bydd ynddo gymhwysder i farnu, a bydd *interest* y carcharorion yn ddyogel yn ei law. Y mae yn berthynas agos i'r naill a'r llall. (4) Ond yn benaf, gan mai dan lywodraeth Gyfryngol y mae dynion yn pechu, dan lywodraeth Gyfryngol y mae yn iawn iddynt gael eu barnu. Priodol i'r Gwaredwr fod yn Farnwr. Y mae damnedigaeth y byd felly wedi ei roddi ar yr un sylfaen â'i iachawdwriaeth,—ein perthynas â Christ sydd i benderfynu ein tynghed dragwyddol. Beth yw ein hagwedd tuagat Grist? Dyna fydd yn penderfynu ein nefoedd neu ein huffern byth.

### YR ADGYFODIAD A'R FARN GYFFREDINOL. ADN. 28—30.

**ADN 28. Na ryfeddwch am hyn.** "Hyn" yn bwysleisiol, ac yn golygu y bywhâd ysbrydol. **Y mae yr awr yn dyfod.** Ni ychwanegir "ac yn awr y mae" fel yn yr adran flaenorol, yr hyn a ddengys mai at ryw gyfnod yn y dyfodol pell y cyfeirir. Yr oedd yr adgyfodiad ysbrydol eisoes wedi cychwyn, ond perthyn i'r dyfodol pell oedd adgyfodiad y corph. Yr un Person a'r un Llef a effeithia y ddau; ond gan y bydd yr adgyfodiad corphorol yn fwy gweledig ac yn apelio yn gryfach at y synwyrau, bydd i olwg ddynol yn fwy rhyfeddol. **Yn yr hwn y caiff pawb a'r sydd yn y beddau glywed ei leferydd Ef.** Yn adn. 25, y "meirw" yw y gair, gan feddwl y meirw ysbrydol; ond yma "pawb a'r sydd yn eu beddau," i ddynodi y meirw naturiol. O'r meirw ysbrydol, llawer, eithr nid pawb, a glywant ac a gyfodant; ond bydd i rai gau eu clustiau, ac o herwydd eu hanewyllysgarwch arosant yn eu pechodau,—y mae yr elfen foesol yn rhedeg trwy y geiriau. Ond am y meirw naturiol, "caiff pawb"—bodd neu anfodd—"glywed ei

ddeuant allan : y rhai a wnaethant dda, i adgyfodiad
bywyd; ond y rhai a wnaethant ddrwg, i adgyfodiad barn.
Ni allaf fi wneuthur dim o honof fy hunan : fel yr ydwyf 30

---

leferydd Ef," ac adgyfodi. Gallu sydd yma yn gweithredu yn anwrthwynebol,—nid perswadio ond gorfodi. Ac nid haeriad noeth sydd yma: y tu cefn i'r haeriad ac yn ei ategu y mae y wyrth ar y dyn claf. Hwyrach fod y claf yn sefyll yn ei ymyl, yn dyst byw o'i allu. Ac os medrodd iachau hwnw â'i air, pa derfyn a ellir roddi i'w allu i fywhau?

**ADN. 29. Ac a ddeuant allan.** Dywed Olshausen mai yn y lle hwn ac yn Act. xxiv. 15 yn unig y cawn ni dystiolaeth uniongyrchol i adgyfodiad corphorol yr anghyfiawnion. Ond priodol y sylwa Alford y dysgir hyn yn yr H. D. yn Dan. xii. 2, ac y tybir hyn yn Matt. x. 38; xxv. 34; Dat. xx. 5, 12. Crêd llawer, ar seiliau a ystyrir yn Ysgrythyrol, y cyfyd y meirw yn Nghrist yn gyntaf, a'r anghyfiawnion ar ol hyny; ac yn sicr ffafrir y syniad hwn gan y teimlad o drefn a gweddusrwydd. Y pwngc a bwysleisir yma yw—adgyfodiad pawb, pa un ai yn gyfamserol ai peidio. "Hwy a ddeuant allan"! Hanes dynolryw hyd yn hyn yw —hwy a aethant i mewn; ond dyma un a hawlia allu i droi llif hanesyddiaeth yn ei wrthol—hwy a ddeuant allan! Nid oes yma swn amheuaeth na phryder—hwy a ddeuant allan! Portreadwn o flaen ein llygaid saer gwledig o Galilea yn sefyll yn y deml o flaen torf o swyddogion mwyaf dysgedig y genedl, ac yn llefaru mewn llais tawel ond hyderus— "Y mae yr awr yn dyfod, yn yr hon y caiff pawb a'r sydd yn y beddau glywed fy lleferydd i, a hwy a ddeuant allan"! Rhaid ei fod yn ddoethawr neu yn wallgofddyn; yr oedd Duw ynddo neu yr oedd cythraul ganddo; nid oes le canol i'w roddi. Anghredinwyr, Pa un? **Y rhai a wnaethant dda i adgyfodiad bywyd.** Am y gwahaniaeth yn yr ymadroddion a ddefnyddir am "wneuthur da" a "gwneuthur drwg" gwel iii. 21. Y mae y fanod o flaen "da"—y da; nid rhyw dda, ond *y* da sydd yn gwreiddio mewn ffydd. Adgyfodant hwy i fywyd—bywyd enaid a chorph mewn cyflawnder. Ni fydd perygl taraw y graig byth. **Ond y rhai a wnaethant ddrwg i adgyfodiad barn.** Y fanod yma eto —*y* drwg, sef y drwg sydd yn gwreiddio mewn anghrediniaeth. Nid a wyt ti yn meddwi, yn tyngu, &c., a fydd cwestiynau mawr y Farn, oblegid y mae gan Dduw drefn i faddeu y pechodau yna i gyd; ond a wyt ti yn credu yn Iesu Grist? Ar ein hateb i'r gofyniad yna y dibyna ein tynghed dragwyddol, oblegid nid oes gan Dduw drefn i faddeu anghrediniaeth derfynol yn ei Fab. Felly nid yw "gwneuthur drwg" o angenrheidrwydd yn cynwys anfoesoldeb buchedd,—yr oedd llawer, os nad yr oll, o wrandawyr Crist ar yr achlysur presenol yn bobl fucheddol. Y mae pob drwg yn cyrhaedd ei addfedrwydd mewn anghrediniaeth—gwadiad o ddwyfol hawliau yr Arglwydd Iesu! Y drwg ydyw anghredu. Adgyfodir yr anghredinwyr i farn—i gollfarn; **nid yw y ddedfryd yn amheus.**

**ADN. 30. Ni allaf fi wneuthur dim o honof fy hunan.** Ailadroddiad o adn. 19 yn dangos fod cylch ei ymresymiad yn gyflawn. Yn adn. 19, cymhwysa yr Iesu y gwirionedd at ei waith yn bywhau, ond yn y fan hon at ei waith yn barnu. Yn y naill gylch a'r llall nid yw ei waith yn

yn clywed, yr ydwyf yn barnu : a'm barn i sydd gyfiawn ;
canys nid ydwyf yn ceisio fy ewyllys fy hunan, ond ewyllys
31 y Tad, yr hwn a'm hanfonodd i. Os ydwyf fi yn tystiol-
aethu am danaf fy hunan, nid yw fy nhystiolaeth i wir.
32 Arall sydd yn tystiolaethu am danaf fi ; ac mi wn mai

---

gwreiddio mewn hunan-ewyllys ; gwaith ydyw a roddwyd iddo fel Cyfryngwr gan y Tad, swydd a ymddiriedwyd iddo. **Fel yr ydwyf yn clywed yr ydwyf yn barnu.** Y "clywed" yma yn cyfateb i'r "gweled" yn adn. 19, a'r naill yn gymhwysach na'r llall yn ei le ei hun. Fel Cyfryngwr wedi ei osod yn y swydd farnol, cyflawna ddyledswyddau y swydd, nid yn ol mympwy, ond yn ol y rheolau a osodwyd i lawr gan yr awdurdod a'i penododd. Dyledswydd pob swyddog yw, nid gwneyd ei hun yn feistr, ac felly weithredu o hono ei hunan, ond fel y "clywodd" gan y person neu yr awdurdod a ymddiriedodd y swydd iddo. **A'm barn i sydd gyfiawn, canys nid ydwyf yn ceisio fy ewyllys fy hunan, ond ewyllys y Tad yr hwn a'm hanfonodd i.** Dyma egwyddor fawr pob ffyddlondeb swyddogol—ymostyngiad llwyr ac ymroddiad hollol i ewyllys yr awdurdod a greodd y swydd ac a benododd y swyddog. Dyma yr egwyddor a esbonia holl fywyd Crist. Tra yn meddu ewyllys o'i eiddo ei hun, fel y dysgir mewn Ysgrythyrau eraill, ac yn ogyfuwch â Duw, eto o ran swydd, fel Cyfryngwr, yr oedd yn ddarostyngedig i ewyllys y Tad. Nid yw byth yn anghofio mai un anfonedig ydyw, swyddog i wneyd gwaith arbenig, ac felly na ddaeth i'r byd i wneyd ei ewyllys ei hun ond ewyllys yr Hwn a'i hanfonodd. Yn ei berthynas bersonol â'r Tad, y mae dwy ewyllys ; yn ei berthynas Gyfryngol, un : dwy ewyllys bersonol, un ewyllys foesol a swyddogol.

TYSTIOLAETH Y TAD. ADN. 31—47.

**ADN. 31. Os ydwyf fi yn tystiolaethu am danaf fy hunan, nid yw fy nhystiolaeth i wir.** Tystiolaethu o hono ei hunan yn yr adnodau blaenorol, tystiolaethu am dano ei hunan yma. Os cynulleidfa gymysg o Iuddewon swyddogol ac answyddogol oedd yn gwrandaw arno, tebyg iddynt atal dylifiad ei ymadrodd trwy ei adgofio nad oedd hunan-dystiolaeth i ddibynu arni, a gofyn iddo am brofion i gefnogi ei honiadau. Ond os o flaen yr Iuddewon swyddogol yr ydoedd, y Cynghor, y mae yn debyg iddynt alw arno am brofion—ymyrasant âg Ef fel yn adn. 18, ac megis y gwnânt yn y penodau dilynol. Nid yw eu gwrthddadl wedi ei chofnodi, ond y mae yn amlwg mai galw am *evidence* yr oeddynt—tystiolaeth amgen i'w eiddo ei hun. Ni dderbynid hunan-dystiolaeth yn y llysoedd cyfreithiol gynt, oblegid nid ydyw i ddibynu arni, gan fod dynion yn dueddol i feddwl am danynt eu hunain yn amgen nag y dylid meddwl. Yma cymer yr Iesu yr egwyddor i fynu er mwyn dwyn i mewn dystiolaeth y Tad. Nid yw yr adnod hon, gan hyny, yn anghyson â viii. 14, canys yno ymresyma oddiar safle ei Dduwdod a'i ddibechadurusrwydd. Nid yw yr adnod hon, wrth reswm, yn tybied fod ei dystiolaeth flaenorol am dano ei hun yn anghywir, ond yn hytrach ei bod yn ddyblyg wir, gan y cadarnheir hi gan dystiolaethau eraill.

**ADN. 32. Arall yw yr hwn sydd yn tystiolaethu am danaf fi.** Pwy yw yr "arall"? Mŷn lluaws o esbonwyr, hen a diweddar, mai Ioan

gwir yw y dystiolaeth y mae efe yn ei thystiolaethu am
danaf fi. Chwychwi a anfonasoch at Ioan, ac efe a ddug 33
dystiolaeth i'r gwirionedd. Ond myfi nid ydwyf yn derbyn 34
tystiolaeth gan ddyn: eithr y pethau hyn yr ydwyf yn eu
dywedyd, fel y gwareder chwi. Efe oedd ganwyll yn 35
llosgi, ac yn goleuo; a chwithau oeddych ewyllysgar i
orfoleddu dros amser yn ei oleuni ef.

---

Fedyddiwr a feddylir, canys enwir ef yn yr adnodau dilynol. Ond y mae y modd y cyfeiria yr Iesu at dystiolaeth Ioan yn adn. 34, yn ein tueddu i gredu mai Duw, ac nid Ioan, a ddynodir yma. Cadarnheir hyn gan amser presenol y ferf, tra y cyfeirir at Ioan yn yr amser gorphenol, canys yr oedd Ioan yn awr wedi ei fwrw i garchar. **Ac mi a wn mai gwir yw y dystiolaeth, &c.** Gwybod (*oîda*) yn sicr ac yn uniongyrchol, nid trwy sylwadaeth neu ymresymiad, ond trwy ei ymwybyddiaeth. Ar ochr uchaf ei fôd, yr elfen ddwyfol oedd bob amser yn llywodraethu.

**ADN. 33. Chwychwi a anfonasoch at Ioan.** Y "chwychwi" yn bwysleisiol, i ddangos fod tystiolaeth Ioan yn deilwng o barch un amser hyd yn nod yn eu barn hwy. Diau mai at y ddirprwyaeth yn i. 19–28, y cyfeirir, yr hon a anfonwyd gan y Sanhedrin ei hun, ei farnwyr presenol Ef. **Ac efe a ddug dystiolaeth i'r gwirionedd.** Cawsant dystiolaeth Ioan yn hollol gyson a'i dystiolaeth bresenol Ef.

**ADN. 34. Ond y dystiolaeth ag wyf fi yn ei derbyn nid yw oddiwrth ddyn.** *Y* dystiolaeth, yr "*y*" yn bwysleisiol,—y dystiolaeth *absolute*. Iddynt hwy yr oedd tystiolaeth Ioan yn bwysig; ond iddo Ef tystiolaeth Duw. **Eithr y pethau hyn**—y pethau am Ioan—**yr ydwyf yn eu dywedyd fel yr achuber chwi.** Gan na dderbynient ei dystiolaeth Ef am dano ei hun, gwasga ar eu hystyriaeth yn y modd mwyaf difrifol dystiolaeth Ioan am dano.

**ADN. 35. Efe oedd lamp yn llosgi ac yn goleuo.** Geiriau a ddygant i'n cof 2 Sam. xxi. 17, lle y gelwir Dafydd yn Lamp yr Israel. Defnyddir y fanod ddwywaith, ac nid yw y ddwy ferf yn yr un llais (*voice*). Anhawdd, gan hyny, ydyw rhoddi cyfieithiad llythyrenol, ond nid mor anhawdd rhoddi aralleiriad: "Efe oedd lamp wedi ei gyneu ac yn goleuo." Gan mai lamp ydoedd, rhaid oedd iddo dderbyn goleuni cyn ei gyfranu; ond haul oedd yr Iesu yn goleuo yn ei oleuni ei hun. Perthynai i'r Iuddewon dderbyn tystiolaeth Ioan; ond yr oedd yr Iesu yn annibynol ar dystiolaeth creadur—derbyniai Ef dystiolaeth o ffynhonell y goleuni ei hun. **A chwithau oeddych ewyllysgar i orfoleddu dros enyd awr yn ei oleuni ef.** Profa hyn fod llawenydd mawr wedi tori allan yn mhlith yr Iuddewon fel cenedl ar ddechreu gweinidogaeth Ioan, tybient fod oes y Messiah wedi dyfod. Ond llawenydd arwynebol ydoedd, cyffelyb i lawenydd plant mewn marchnad neu lawenydd gwybed yn ngoleuni ffagl. Dyna, debygir, yw ystyr y "llawenydd." Diffoddodd y ffagl, a diflanodd y llawenydd—ni arweiniodd ei weinidogaeth yr Iuddewon i ddifrifoldeb a gweithgarwch. "Ioan oedd lamp" awgrym ei fod wedi llosgi allan, wedi gorphen a thystiolaethu.

36 Ond y mae gennyf fi dystiolaeth fwy nag Ioan: canys y
gweithredoedd a roddes y Tad i mi i'w gorphen, y gweith-
redoedd hynny y rhai yr ydwyf fi yn eu gwneuthur, sydd
yn tystiolaethu am danaf fi, mai y Tad a'm hanfonodd i.
37 A'r Tad, yr hwn a'm hanfonodd i, efe a dystiolaethodd am

---

ADN. 36. **Ond y mae genyf fi dystiolaeth fwy nag Ioan.** Y pwyslais ar "fi" yn gyferbyniol i "chwithau." Y dystiolaeth, tystiolaeth y Tad, ac y mae tystiolaeth y Tad yn fwy nag eiddo Ioan, o gymaint ag yw y Tad yn fwy nag Ioan. Yna dengys yr Iesu fod tystiolaeth y Tad yn rhanu ei hun yn dair caingc: (1) gweithredoedd, (2) geiriau, (3) ysgrifen. Yn yr adnod hon, enwa y gaingc gyntaf. **Canys y gweithredoedd a roddes y Tad i mi i'w gorphen.** Eu gorphen i amcan, ac felly o anghenrheidrwydd yn ol cynllun. Y wyrth ar lan llyn Bethesda, nid hap neu ddamwain ydoedd—yr oedd iddi le yn y cynllun. "A roddes," i ddesgrifio trosglwyddiad y gweithredoedd i Grist fel Cyfryngwr i'w cyflawni,—gweithredoedd neillduol i amcan arbenig. Beth feddylir wrth y gweithredoedd? Mŷn lluaws o esbonwyr fod ei weithredoedd yn gyfystyr a'i waith, ac felly yn cynwys yr oll a wnaeth neu a gyflawnodd, ei holl fywyd. Ond os olrheiniwn y gair yn yr efengyl hon, cawn ei fod yn ddieithriad yn dynodi ei wyrthiau: paham y dehonglir ef yn wahanol yma? **Y gweithredoedd hyny y rhai yr ydwyf fi yn eu gwneuthur, sydd yn tystiolaethu am danaf fi, mai y Tad a'm hanfonodd i.** Arferiad yr oes hon yw rhedeg i lawr werth gwyrthiau fel profion allanol o ddwyfoldeb person yr Iesu; ond dysga yr Iesu ei hun eu bod yn cynwys tystiolaeth Duw i wirionedd ei ddwyfol hawliau, *credentials* ei Dad iddo.

ADN. 37. **A'r Tad ei hunan, yr hwn a'm hanfonodd i, Efe a dystiolaethodd am danaf fi.** Yn y Cyf. Diw. fel yn y Gymraeg gadewir "ei hunan" allan; ond dadleua rhai o'r prif feirniaid dros ei gadw i mewn megis y gwneir yn y cyfieithiad Saesonaeg. Nid yn unig y mae y Tad yn tystiolaethu yn anuniongyrchol trwy y gweithredoedd, ond yn uniongyrchol yn ei berson ei hun—"y Tad ei hunan." Amddiffynir y darlleniad hwn gan Meyer, Godet, ac eraill, fel yn dwyn i mewn ffurf newydd ar dystiolaeth y Tad, sef tystiolaeth geiriau, yr ail ganghen y cyfeiriwyd ati uchod; ond gwrthwynebir ef gan Westcott a Hort. Tueddir ni, fodd bynag, i'w fabwysiadu. Tra y mae tystiolaeth y gweithredoedd yn yr amser presenol, y mae tystiolaeth y "Tad ei hunan" yn y gorphenol. Caua hyn allan dystiolaeth y Tad yn ymwybyddiaeth y Mab, fel y dysga amryw esbonwyr, canys y mae hono yn barhaus, ac felly yn bresenol. Caua allan hefyd y golygiad a awgrymir gan De Wette, ac a goleddir gan Meyer, mai at lais Duw yn nghydwybodau y gwrandawyr y cyfeirir,—yr oedd y llais hwn yn un presenol, parhaus. Beth ynte yw y dystiolaeth orphenedig hon? (1) Etyb Westcott mai prophwydoliaethau a chysgodau yr H. D.; ond ni welwn ni ddim yn y cysylltiadau i awgrymu hyn. (2) Barna eraill mai tystiolaeth Duw yn Ysgrythyrau yr H. D. ydyw. Dyma y golygiad a gymeradwya ei hun i fwyafrif yr esbonwyr, ac y mae llawer i'w ddywedyd drosto. Ond gan yr enwir yr Ysgrythyrau yn bendant yn adn. 39, nid priodol eu dwyn i mewn yma os oes ffordd arall i esbonio y geiriau, ac y mae ffordd arall yn bod. (3) Gan hyny,

danaf fi. *Ond* ni chlywsoch chwi ei lais ef un amser, ac ni
welsoch ei wedd ef. Ac nid oes gennych chwi mo'i air ef 38
yn aros ynoch: canys yr hwn a anfonodd efe, hwnnw nid
ydych chwi yn credu iddo.
Chwiliwch yr ysgrythyrau; canys ynddynt hwy yr ydych 39

---

gorfodir ni i syrthio yn ol ar esboniad Chrysostom, Bengel, a Godet, mai tystiolaeth uniongyrchol Duw yn y Bedydd a feddylir, pan y clywyd llef o'r nef yn dywedyd, "Hwn yw fy anwyl Fab, yn yr hwn y'm boddlonwyd," a phan y gwelwyd ei lun Ef megis colomen yn disgyn ac yn aros arno. Er nad oedd yr Iuddewon hyn yn bresenol, yr oedd Ioan wedi taenu y newydd trwy y wlad—dyna oedd baich ei weinidogaeth ar ol hyny. **Ni chlywsoch chwi ei lais Ef un amser, ac ni welsoch ei lun Ef.** Ffordd ffugyrol o siarad am ddatguddiad Duw yn yr H. D., meddai yr esbonwyr uchod; ond y mae yn hollol groes i arfer Crist i ddefnyddio ffugr mor amwys ac *anthropomorphic* wrth lefaru am Dduw yn ei berthynasau ysbrydol. Ond os cymerir y geiriau yn llythyrenol, datguddiant i ni eu cyfrinach. Yn y Bedydd clywyd Llais a gwelwyd Llun; ond nid oedd yn yr Iuddewon swyddogol y cymhwysder ysbrydol i glywed y naill nac i weled y llall. Casgla rhai fod y gair "un amser" (*pōpŏte*) yn milwrio yn erbyn yr eglurhad hwn; eithr ymddengys i ni nad yw y geiriau ond gosod i lawr egwyddor gyffredinol—nid oeddynt hwy wedi derbyn un datguddiad uniongyrchol oddiwrth Dduw oherwydd anghydnawsedd eu tymher â'r dwyfol.

**ADN. 38. Ac nid oes genych chwi mo'i air Ef yn aros ynoch.** Symudir yma yn mlaen at gymal adnewyddol. Y rheswm eu bod yn gwrthod y dystiolaeth ddwyfol o'r tu faes oedd, eu bod yn amddifad o'r dymher ddwyfol y tu fewn—nid oedd "gair" Duw yn aros ynddynt. Nid yw llais Duw yn y gydwybod byth yn cael ei alw yn "air"—sŵn Duw yn hytrach na'i air sydd mewn natur, pa un ai materol a'i meddyliol. "Nid oes iaith nac ymadrodd; ni chlybuwyd eu lleferydd hwynt" (Ps. xix. 3). Pan y mae Duw yn llefaru "gair," y goruwchnaturiol a feddylir bob amser. Yr oedd "gair" Duw yn cyrhaedd eu clustiau yn ngweinidogaeth Ioan Fedyddiwr a'i eiddo yntau; ond nid oedd yn cael aros ynddynt—trigo yn eu calonau mewn myfyrdod a chydymdeimlad, nes lefeinio eu tymher i ansawdd ddwyfol. Lle y triga y "gair," crea awyrgylch oleu a chynhes o'i amgylch—daw yr hyn oedd ddirgelwch yn eglur. **Canys yr hwn a anfonodd Efe, hwnw nid ydych yn gredu.** Prawf nad oedd y genadwri yn gymeradwy oedd fod y Genad yn cael ei wrthod. Y mae cysylltiad bywiol rhwng y gair pregethedig a'r Gair Ymgnawdoledig.

**ADN. 39. Yr ydych yn chwilio yr Ysgrythyrau.** Dyma drydedd gangen tystiolaeth y Tad. O ran gramadeg gellir cyfieithu yn y modd gorchymynol fel yn y Gymraeg a'r Saesonaeg, neu yn y modd mynegol fel yn y Cyf. Diw. O blaid y modd gorchymynol y mae y Tadau Groegaidd ac amryw o esbonwyr diweddar, am, yn mhlith rhesymau eraill, nad yw y gair "chwi" i mewn, yr hyn a allesid ei ddisgwyl pe gosodiad, ac nid gorchymyn, a fuasai yma. Ar y llaw arall, y mae Cyril yn mhlith y Tadau yn dewis y modd mynegol, a dilynir ef gan fwyafrif yr esbonwyr

chwi yn meddwl cael bywyd tragywyddol: a hwynt-hwy
40 yw y rhai sydd yn tystiolaethu am danaf fi. Ond ni
41 fynnwch chwi ddyfod attaf fi, fel y caffoch fywyd. Nid

---

diweddar. Ymddengys hyn i ni yn fwy cyson a rhediad y berfau sydd yn dilyn, ac ag arfer adnabyddus yr Iuddewon yn yr oes hono. Nid oedd eisieu eu gorchymyn i chwilio yr Ysgrythyrau, gwnaent hyny gyda zêl ddiarhebol. Yr oeddynt wedi rhifo holl eiriau a llythyrenau yr H. D., a gallent roddi eu bys hyd yn nod ar y lythyren ganol. Yn llythyrenol golyga y gair "chwilio" (*ĕrĕunáō*)—chwilio fel mwnwyr am ronynau aur yn y graig neu fel bytheiaid am arogl yr ysglyfaeth ar y maes. Y mae y naill gydmariaeth neu y llall yn ddesgrifiadol iawn o ysbryd ymchwilgar yr Iuddewon, ac yn gosod allan yn darawiadol y dymher yn yr hon y dylasai pawb neshau at Air Duw. Tybir yn mhellach gan rai fod i'r gair "chwilio" ystyr mwy *technical* a chyfyng. Cofier y llefarai yr Iesu yn yr Aramaeg, ac felly fod cysylltiad rhwng y gair a ddefnyddiai yr Iesu a'r Hebraeg "Midrash"—enw llàe ar lyfr yn adrodd hanes (2 Cor. xiii. 22—llyfr-midrash—y prophwyd Iddo). Haner cán mlynedd cyn geni Crist dechreuwyd casglu esboniad ar y gyfraith; 30 mlynedd cyn geni Crist llafuriodd Hillel, cadeirydd y Cynghor, i gasglu ynghyd draddodiadau y Tadau; ac yr oedd Akiba, ei ddilynydd fel casglydd y traddodiadau, yn fachgen ieuangc yn Jerusalem pan y llefarai yr Iesu y bregeth hon. Dyna ddau brif awdurdod yr Iuddewon ar y rheolau traddodiadol, am droseddu y rhai y cyhuddir yr Iesu yn y benod hon; ac nid yw yn annhebyg fod y "chwilio" yma yn cyfeirio at ymchwiliadau Hillel a'i hil ysgolheigion. **Canys yr ydych yn meddwl fod genych ynddynt hwy fywyd tragwyddol.** Ni ddywed yr Iesu fod bywyd tragwyddol yn yr Ysgrythyrau, ond eu bod hwy yn "meddwl" hyny. Cadarnheir hyn gan ddywediad o eiddo yr Hillel uchod,—"Yr hwn sydd wedi cael iddo ei hunan eiriau y Gyfraith sydd wedi cael iddo ei hunan fywyd y byd a ddaw." Ond meddwl cyfeiliornus ydoedd; nid oes bywyd tragwyddol i'w gael *yn* yr Ysgrythyrau, ond *trwy* yr Ysgrythyrau. Mewn Person, nid mewn Llyfr, y ceir bywyd, ac amcan y Llyfr yw ein tywys, nid ato ei hun, ond trwyddo ei hun, at y Person y tu cefn iddo. **A hwynthwy sydd yn tystiolaethu am danaf fi.** "Hwynthwy" yn bwysleisiol. Nid oedd yr Ysgrythyrau a'u hamcan ynddynt eu hunain, ond i dywys y darllenwyr at y Messiah, yn yr hwn yr oedd bywyd i bechadur yn drysoredig. Yr oedd yr Iuddewon yn aros yn yr Ysgrythyrau yn lle myned trwy yr Ysgrythyrau at Grist; a dyna berygl mawr efrydwyr ein hoes ein hunain. Y mae yr H. D. yn taflu goleuni ar Grist, ond y mae Crist yn taflu goleuni mwy ar yr H. D.; yn ngoleuni eu gilydd y geilir deall y naill a'r llall. Diau fod yr H. D. yn ateb is-ddybenion eraill, ond y prif ddyben oedd tystiolaethu am Grist. Ein dyledswydd, gan hyny, ydyw esbonio yr oll yn ngoleuni y prif amcan—yr holl Feibl yn Fessianaidd.

**ADN. 40. Ond ni ewyllysiwch chwi ddyfod ataf fi.** Nid diffyg deall na diffyg tystiolaeth, ond anewyllysgarwch, oedd achos gwreiddiol eu hanghrediniaeth. Yr ewyllys yw y gyneddf ymherodrol yn enaid dyn; ar yr ewyllys y try iachawdwriaeth neu ddamnedigaeth. Yr hyn yw yr

ydwyf fi yn derbyn gogoniant oddi wrth ddynion. Ond 42
myfi a'ch adwaen chwi, nad oes gennych gariad Duw
ynoch. Myfi a ddaethum yn enw fy Nhad, ac nid ydych 43
ydych yn fy nerbyn i: os arall a ddaw yn ei enw ei hun,

---

ewyllys, dyna yw y dyn. Y mae cydwybod yn bwysicach na deall; ond y mae ewyllys yn bwysicach na'r ddau. Yr oeddynt wedi cychwyn, ond nid oeddynt wedi "dyfod hyd ato," fel y golyga y gair yn llythyrenol, —nid oeddynt wedi ei gyrhaedd, wedi dyfod i gyffyrddiad personol âg Ef. Onid yw hynyna yn ddesgrifiadol o filoedd o wrandawyr yn yr oes hon? Y maent wedi cychwyn, ond yn aros ar hàner y daith, gyda yr Ysgrythyrau a'r cyfarfodydd, yn lle dyfod "hyd at" yr Iesu. **Fel y caffoch fywyd.** Ynddo Ef, ac nid yn yr Ysgrythyrau, y mae bywyd. Mor eglur y llefarai yr Iesu wrth yr Iuddewon, mor daer yr ymresymai â hwynt! Nid oedd ganddynt esgus dros eu pechod.

**ADN. 41. Gogoniant oddiwrth ddynion nid ydwyf fi yn ei dderbyn.** (1) Fel pe dywedasai, Yr wyf yn llefaru fel hyn, nid i enill eich gair da chwi, ond yr eiddo Duw; a'r unig ffordd i enill ei gymeradwyaeth Ef yw gwneuthur ei ewyllys. (2) Ond ystyr arferol y gair "gogoniant" (*dŏxa*) yn yr efengyl hon yw y gogoniant Messianaidd. Nid canmoliaeth bersonol, ond y gogoniant a berthynai iddo yn rhinwedd ei swydd a'i waith cyfryngol. Nid oddiwrth ddynion y deuai hwnw; yn y benod nesaf gwrthyd goron o law y Galileaid; rhaid i'r gogoniant hwnw ddyfod oddiwrth Dduw yn unig.

**ADN. 42. Ond myfi a'ch adwaen chwi, nad oes genych gariad Duw ynoch.** Y mae y gair "adwaen" (*ginōskō*) yn golygu adwaen trwy sylwi; gwyddai oddiwrth eu hymddygiadau nad oedd "cariad Duw"—cariad at Dduw—yn eu calonau. Nid oedd dim cydnawsedd rhyngddynt â'r dwyfol. Yn ol adnod 38, nid oedd "gair Duw"—yr *objective*, ac yn ol yr adnod hon nid oedd "cariad Duw"—y *subjective*, yn trigo ynddynt.

**ADN. 43. Myfi a ddaethum yn enw fy Nhad.** Darostyngai ei hunan, yn hollol i ddybenion ei Dad. Nid oedd ganddo feddwl am ei lwyddiant neu ei glod ei hun; collai ei hunan yn gyfangwbl yn ei awydd i wneuthur ewyllys yr Hwn a'i hanfonodd ar neges arbenig i'r byd. Dyna fawredd hunan-ymwadiad. Pe daethai yn ei enw ei hun, i'w fantais ei hun, cyfaddasai ei hun i dymher y genedl, nofiai gyda y llif; ond am mai ewyllys Duw oedd yn ei ysgogi yn mhob gair a gweithred, tarawai Ef a hwynthwy yn erbyn eu gilydd. **Ac nid ydych yn fy nerbyn i.** Ffolineb yr ystyriai y byd ei ymddygiad; ond yn marn y nefoedd dwyfol hunan-ymwadiad ydoedd. **Os arall a ddaw yn ei enw ei hun,**—fel Messiah, canys gwelsom mai y gogoniant Messianaidd sydd dan ystyriaeth, i gyrhaedd amcanion personol ac uchelgeisiol, gan wenieithio i'r bobl yn lle eu diwygio, **hwnw a dderbyniwch.** Dywed Schudt fod 64 o Gristiau gau wedi codi ar ol yr Iesu, gan broffesu mai hwynthwy oedd y Messiah addawedig; gwenieithient i'r genedl, porthent ei gwagedd a'i balchder trwy addaw iddi oruchafiaeth ar ei gelynion, ac ymrestrai y bobl wrth y miloedd dan eu banerau (Act. v. 36, 37). Mor hawdd y twyllir y byd yn

44 hwnnw a dderbyniwch. Pa fodd y gellwch chwi gredu, y
rhai ydych yn derbyn gogoniant gan eich gilydd, ac heb
45 geisio y gogoniant *sydd* oddi wrth Dduw yn unig? Na
thybiwch y cyhuddaf fi chwi wrth y Tad: y mae a'ch
cyhudda chwi, *sef* Moses, yn yr hwn yr ydych yn gobeithio.
46 Canys pe credasech chwi i Moses, chwi a gredasech i

---

mhob oes gan ffug-honwyr; ond mor anhawdd i ddynion da enill ei ymddiried.

ADN. 44. **Pa fodd y gellwch chwi gredu, y rhai ydych yn derbyn gogoniant gan eich gilydd?** Y pwyslais ar "chwi." Beth oedd yn cyfansoddi eu hanallu i gredu? Cnawdolrwydd eu calonau. Yr oedd awydd am ryw fath o boblogrwydd afiach yn bwyta nerth arweinwyr crefydd y pryd hwn (Matt. vi. 1—7). Nid oes dim yn bechadurus yn y teimlad o foddhâd pan yn derbyn cymeradwyaeth y cyhoedd; ond pan yr aberthir cyfiawnder a sancteiddrwydd er mwyn ei gyrhaedd, y sylwedd er mwyn yr ymddangosiad, y mae crefydd yn myned yn esgymunbeth. Nid barn y cyhoedd, ond ewyllys Duw, a ddylasai fod yn rheol bywyd. Barn y cyhoedd oedd rheol ymarweddiad yr Iuddewon; ewyllys Duw oedd rheol ymarweddiad yr Iesu; oherwydd paham aberthwyd yr Iesu i *bublic opinion* ar Galfaria! **Ac heb geisio y gogoniant sydd oddiwrth yr unig Dduw.** Y mae amrywiaeth barn a ddylid cymeryd "unig" yn y fan hon fel ansoddair ynte fel adferf. Ar y cyfan barnwn mai gwell ydyw ei gymeryd fel ansoddair. Defnyddir yr ymadrodd "yr unig Dduw" yma ac yn xvii. 3. Paham? Nid yn unig i osod allan y gwirionedd mai un Duw sydd, ond hefyd, feallai, i roddi y Cristionogion boreuaf ar eu gwyliadwriaeth rhag tynu casgliad brysiog fod graddau yn bosibl yn y Duwdod. Gesyd yr Iesu ei hunan allan yma gyda y fath fawrhydi dwyfol fel y gallasai y perygl gyfodi, nid yn unig i'w wahaniaethu, ond hefyd i'w wahanu, oddiwrth y Tad, fel pe y dysgasai ddau Dduw—y Tad ac Yntau. Eithr nid felly ddim: nid Duw yn ochr Duw, nid is neu ail Dduw, yw Crist, fel y dysgai Gnosticiaeth ac Ariaeth,—nid oes ond un Duw; a rhaid i'r athrawiaeth am Dduwdod yr Arglwydd Iesu fod yn gyson â'r gwirionionedd sylfaenol hwn.

ADN. 45. **Na thybiwch y cyhuddaf fi chwi wrth y Tad.** Nid eu Cyhuddwr, ond eu Barnwr, a fydd Ef yn y dydd diweddaf. **Y mae a'ch cyhudda chwi, sef Moses, ar yr hwn y gosodasoch eich gobaith.** Moses fel cynrychiolwr y ddeddf. Adeiladent hwy eu gobaith am fywyd tragwyddol ar gyflawniad manwl o'r ddeddf seremoniol; yr oedd ganddynt lu o olchiadau a mil o fân reolau. Ond esgeulusent bethau trymaf y gyfraith—cyfiawnder, trugaredd, a barn; yr oedd y ddeddf foesol yn ei hegwyddorion pwysicaf wedi ei chwilfriwio ganddynt. Y mae un a'ch cyhudda chwi—nid y Fi, ond Moses; nid yr Efengyl, ond Deddf doredig! Haerwch chwi fy mod i wedi tori deddf Moses wrth roddi iechyd i gleifion ar y Sabbath; nid myfi, ond y chwi, sydd yn tori y ddeddf.

ADN. 46. **Canys pe credasech i Moses, chwi a gredasech i minau.** Difrifol meddwl y gellir trafferthu gydag allanolion crefydd, ac eto heb gredu ei gwirioneddau dyfnaf. **Canys am danaf fi yr ysgrifenodd efe.**

minnau: oblegid am danaf fi yr ysgrifenodd efe. Ond os 47
chwi ni chredwch i'w ysgrifeniadau ef, pa fodd y credwch
i'm geiriau i?

## PENNOD VI.

WEDI y pethau hyn yr aeth yr Iesu dros fôr Galilea, 1
hwnnw yw *môr* Tiberias. A thyrfa fawr a'i canlyn- 2

---

Nid efe a ysgrifenodd am danaf fi—am danaf fi yn mhlith eraill, am danaf fi fel un pwngc yn mhlith pyngciau eraill; ond "am danaf fi yr ysgrifenodd efe"—y fi oedd mater ei holl ysgrifeniadau, y fi yw testyn y Pum Llyfr. Dangos fy nyfodiad i, portreadu fy ngwaith i, tynu darlun o honof fi: dyna oedd ei waith ef. Edrychwch ar y darlun yn y Pum Llyfr, edrychwch arnaf Finau: a ydych yn ffaelu gweled y cyffelybrwydd? Felly gesyd yr Iesu ei hunan allan, nid fel gwrthwynebydd Moses, megis ei cyhuddid gan yr Iuddewon, ond fel amcan a chyflawniad y gyfundrefn a sefydlodd Moses. Y mae pob egwyddor wirioneddol yn yr hen fyd—Mosenaidd a Phlatonaidd—yn cyrhaedd ei llawn ddadblygiad yn Nghrist.

**ADN. 47. Ond os chwi ni chredwch i'w ysgrifeniadau ef, pa fodd y credwch i'm geiriau i?** Y mae y cyferbyniad, nid rhwng yr "ysgrifeniadau" a'r "geiriau," ond rhwng y ddau ragenw, "ef" a "fi." Nid fod ysgrifeniadau Moses yn eglurach na geiriau Crist a feddylir; ond fod yr un egwyddorion yn treiddio trwy y naill a'r llall. Os na chredant y gwirioneddau yn llyfrau Moses, ni chredant yr un gwirioneddau yn ngeiriau Crist.

---

## PENOD VI.

**ADN. 1. Wedi y pethau hyn.** Ffordd Ioan o ddangos llacrwydd y cysylltiad rhwng y benod hon a'r un flaenorol. Pa faint o amser sydd rhwng y ddwy benod? Os gŵyl y Pasg a ddynodir yn v. 1, fel y credwn ni, yr oedd yn agos i ddeuddeg mis. Ni chronicla Ioan ddim o ddygwyddiadau y flwyddyn rhwng yr ail a'r trydydd Pasg, yr hyn a bârodd i Ewald dybied fod rhai tudalenau o'r efengyl wreiddiol wedi myned i golli yn y fan hon. Ond diau mai y rheswm dros ddistawrwydd Ioan yw fod yr efengylwyr eraill wedi rhoddi hanes llawn o honi. Yn ystod yr amser rhwng diwedd y benod flaenorol a dechreu hon y cymerodd le y dygwyddiadau yn Matt. iv. 12—xiii.

**Yr aeth yr Iesu dros Fôr Galilea, hwnw yw Môr Tiberias.** Môr Galilea y gelwir ef gan Matthew a Marc, Llyn Gennesareth gan Luc, ond Môr Tiberias gan Ioan yma ac yn xxi. 1. Paham? Oblegid pan yr ysgrifenai Ioan yr oedd yr enw Iuddewig i raddau mawr wedi ei ddisodli gan yr enw Groegaidd; ac yn unol â hyn cawn Pausanias, y daearyddwr Groegaidd, yn ei alw yn Llyn Tiber (*límnē Tibĕris*). Adeiladwyd Tiberias ar lân gorllewin-ddeheuol y môr gan Herod Antipas, llofrudd Ioan Fedyddiwr, ac a alwyd ganddo yn Tiberias er gwenieithio i'r Ymherawdwr Rhufeinig, Tiberius Cæsar. Yno hefyd y

odd ef; canys hwy a welsent ei arwyddion, y rhai a
3 wnaethai efe ar y cleifion. A'r Iesu a aeth i fynu i'r myn-

---

preswyliai Herod, yr hyn o bosibl yw y rheswm na ddarllenwn i'r Iesu ymweled erioed â'r dref. Ar ol dinystr Jerusalem sefydlwyd yno goleg Iuddewig enwog, er sicrhau mewn cof a chadw draddodiadau y tâdau, h.y., esboniadau y dysgawdwyr Iuddewig ar yr H.D. Barna Meyer fod ffurf yr ymadrodd yn dynodi rhan neillduol o'r môr, sef y rhan oedd yn golchi traeth Tiberias, ac iddynt fyned i'r llong yn agos i'r ddinas hono. Nid yw y frawddeg "dros y môr" (*pĕran tēs thalássēs*) yn golygu o angenrheidrwydd croesi y môr i'r ochr gyferbyniol; gall olygu yn llawn cystal croesi y môr o'r naill fan i'r llall yr un ochr, megis o Aberystwyth i Borthmadog yn gystal ag i Dublin.

**ADN. 2.** Y mae yr holl ferfau yn yr adnod hon yn yr amser anmherffaith, i ddangos parhâd ei allu gwyrthiol, yr hwn oedd yn awr yn anterth ei weithrediad, fel y dengys yr efengylau eraill.

**ADN. 3. A'r Iesu a aeth i fynu i'r mynydd, ac yr oedd yn eistedd yno gyda'i ddysgyblion.** Dengys yr efengylwyr eraill y rheswm am eu hymneillduad. (1) Yr oedd yr Iesu newydd glywed am lofruddiaeth Ioan Fedyddiwr, a phârai y newydd gofidus iddo ddyheu am le o neillduaeth. (2) Yr oedd y dysgyblion newydd ddychwelyd o'u taith weinidogaethol gyntaf, ac yn llawn *excitement* oblegid eu hymarferiad o'u gallu gwyrthiol, a buasai diwrnod neu ddau o dawelwch yn adfer cydbwysedd eu meddwl. (3) Yr oedd ei boblogrwydd Ef a hwythau wedi myned yn faich, "canys llawer oedd yn dyfod ac yn myned, fel nad oeddynt yn cael encyd cymaint ag i fwyta." Nid rhyfedd, gan hyny, iddo ddywedyd, "Deuwch eich hunain i le anghyfanedd, a gorphwyswch encyd." Eisteddent yn awr ar lethr y mynydd. Ond pa fynydd? (1) Ateb yr esbonwyr o adeg y Diwygiad Protestanaidd yw, mai yr ucheldir y tu cefn i Bethsaida Julias, y gogledd-ddwyrain i'r llyn; ac felly fod y bobl wedi gorfod cerdded o amgylch pen gogleddol y llyn, a chroesi yr Iorddonen i fyned ar ei ôl. Y mae yn ddiammheu fod yr esboniad hwn yn hollol gyson â'r hanes. (2) Ond barn esbonwyr o flaen y Diwygiad Protestanaidd oedd, mai mynydd y tu cefn i Bethsaida Galilea, cartref Phylip, a feddylir, oblegid y mae desgrifiad Luc, ix. 10, o hono fel "lle anghyfanedd yn perthyn i'r ddinas a elwir Bethsaida" yn gymhwysiadol at y naill a'r llall. Gan hyny, pa un o'r ddwy Fethsaida oedd yn meddwl Luc? Y mae rhesymau cryfion dros farn yr Eglwys foreuol. (1) Y mae yr ateb a rydd esbonwyr diweddar yn tybied yn gywir fod dwy dref o'r enw Bethsaida. Ond tery y meddwl yn hynod fod yr efengylwyr yn dysgu eu bod yn morio yn gyntaf i un Bethsaida (Luc ix. 10), ac yna yn morio yn ol i Bethsaida arall (Marc. vi. 45), heb un sylw eglurhäol. (2) Nid yw myned dros y môr yn golygu o angenrheidrwydd o un traeth i draeth cyferbyniol. Ysgrifena Macgregor (Rob Roy), yr hwn a fordwyodd y rhan hon, fel y canlyn: "Ni raid i'r geiriau *ĕis tŏ pĕran*, a gyfieithir 'i'r tu hwnt,' olygu feallai ochr gyferbyniol y llyn, i'r dwyrain neu y gorllewin o'r Iorddonen. Pan adawodd Josephus Tiberias, dywed iddo 'hwylio drosodd i Tarichea' *día pĕran ōthĕn*), tra yr oedd Tiberias a Tarichea yr un ochr orllewinol

ydd, ac a eisteddodd yno gyd â'i ddisgyblion. A'r pasc, 4
gwyl yr Iuddewon, oedd yn agos.

---

i'r Iorddonen, ac heb unrhyw gulfor (*bay*) dwfn rhyngddynt." (3) Adeiladodd Phylip, brawd Herod Antipas, ddwy ddinas er anrhydedd i deulu y Cæsar. Y gyntaf oedd Paneas, gerllaw tarddle yr Iorddonen. Wedi gwneyd y pentref yn dref, newidiodd yr enw o Paneas i Cæsarea Philippi, er anrhydedd i enwau cyfunedig yr Ymherawdwr a'i hunan; ac yn yr efengylau dyna enw y dref bob amser, am mai dyna yr enw priodol. Helaethodd yn yr un modd bentref Bethsaida hefyd, ar yr ochr ogledd-orllewinol i'r Llyn, nes gwneuthur o hono ddinas harddwych. Symudodd ei lŷs i'r ddinas hon, ac yno y bu farw A.D. 34, ddwy flynedd ar ol yr amgylchiad a gofnodir yn y benod hon. Yn ol ei arfer newidiodd yr enw o Bethsaida i Julias, er anrhydedd i ferch brydferth ond anmhur yr Ymherawdwr; ac wrth yr enw Julias yr adnabyddid y dref ar ol hyny. Yn awr, os Bethsaida yn Basan (Gaulonitis) a feddyliai yr efengylwyr yn eu hanes o amgylchiad y benod hon, paham na alwent hi yn Julias fel y galwent y ddinas arall yn Cæsarea? Y mae yn rhyfedd, os galwent un ddinas wrth yr enw newydd, y parhaent i alw y ddinas arall wrth yr hen enw, pan oedd y ddwy wedi eu hadeiladu dan yr un amgylchiadau. (4) Ni enwir Bethsaida drachefn, oddigerth unwaith yn Luc x. 13, lle y cysylltir hi â Chapernaum a Chorazin, fel y tri lle y gwnaeth yr Arglwydd fwyaf o'i weithredoedd nerthol ynddynt, ac nid oes amheuaeth nad tair dinas yn Galilea oedd y rhai hyn. Y mae yn rhyfedd os defnyddiai Luc yr enw Bethsaida yn y nawfed benod i ddynodi un lle, ac yn y ddegfed i ddynodi lle arall—yr un enw ar ddau le heb un gair na sylw eglurhaol. Gan mai Bethsaida yn Galilea a feddylir yn ddiddadl yn y ddegfed benod, nid yw yn gasgliad annheg mai yr un lle sydd ganddo mewn golwg yn y nawfed. (5) Y mae adn. 23, yn amwys yn y cyfieithiad Cymraeg,—"Eithr llongau eraill a ddaethant o Tiberias yn gyfagos i'r fan lle y bwytasant hwy fara." Ai y llongau, ynte tref Tiberias, oedd yn agos i'r fan? Y mae llawysgrif Sinai, y fwyaf parchus o'r holl lawysgrifau, yn ateb mai y dref a feddylir,—"Tiberias, yr hon oedd yn gyfagos i'r fan lle y bwytasant hwy fara." Y farn gyntaf yw yr hawddaf ei deall, ond nid yw y farn hawddaf bob amser y gywiraf; gan hyny, gadawn safle y dref yn anmhenodol.

**ADN. 4. A'r Pasg, gŵyl yr Iuddewon oedd yn agos.** Yn agos o'r tu ol, ebai Paulus, am ei bod newydd fyned heibio; ond dilys mai yn agos o'r tu blaen a feddylir—wrth y drws. Paham y crybwyllir hyn yma? (1) Etyb rhai mai i gyfrif am y tyrfaoedd a ddilynent yr Iesu—pobl ar y ffordd i Jerusalem i'r ŵyl. Rheswm gwàn: onid oedd lluosogrwydd y trefi ar làn y mor yn ddigon i gyfrif am danynt? (2) Eraill mai i gyfrif am gyflawnder a gwyrddlesni y glaswellt, trwy ddangos mai yn Ebrill y cymerodd y dygwyddiad le. Rheswm gwanach eto: nid yw yn debyg y buasai ysgrifenydd o synwyr cyffredin yn ei barnu yn angenrheidiol i roddi rheswm dros fod y glaswellt yn gyflawn a gwyrdd mewn gwlad a lifeiriai o laeth a mêl. (3) Gan hyny, cauir ni i'r casgliad fod cysylltiad cyfrin yn meddwl Ioan rhwng gŵyl y Pasg, pryd y bwyteid yr oen, a'r bregeth ryfedd sydd yn canlyn am yr Iesu fel Bara y Bywyd, yr Oen ag oedd ar fedr rhoddi ei Gnawd a'i Waed dros fywyd y byd.

5 Yna yr Iesu a ddyrchafodd *ei* lygaid, ac a welodd fod
tyrfa fawr yn dyfod atto; ac a ddywedodd wrth Phylip, O
6 ba le y prynwn ni fara, fel y caffo y rhai hyn fwytta? (A
hyn a ddywedodd efe i'w brofi ef: canys efe a wyddai beth

---

**ADN. 5. Yna yr Iesu a dderchafodd ei lygaid.** Dull Hebreig o lefaru (Gen. xvii. 2; xxii. 4, 13). Ysgrifenai Groegwr, "Yna yr Iesu a edrychodd." **Ac a welodd fod tyrfa fawr yn dyfod ato.** Nid yr un dyrfa ag yn adn. 2, onite buasai y fanod o'i blaen; ond tyrfa newydd, er yn ddiau fod llawer o'r un bobl yn bresenol yn y naill a'r llall. Dengys yr efengylau eraill iddo ddisgyn o lethr y mynydd i'w cyfarfod. Gwelai eu trueni, ac Efe a'u hiachaodd; gwelai eu newyn ysbrydol, ac Efe a'u dysgodd; gwelai eu lludded, ac Efe a'u porthodd. Y wyrth a groniclir yn y paragraph hwn yw yr unig un y cawn hanes am dani yn y pedair efengyl, yr hyn a brawf fod pwysigrwydd arbenig yn perthyn iddi fel uchafnod ei weinidogaeth yn Galilea, ac achlysur y bregeth a fu yn foddion i ddidoli ei ganlynwyr gau ac arwynebol oddiwrth ei wir ganlynwyr. Yn lle diwrnod o orphwys iddo Ef a'i ddysgyblion, hwn ydoedd un o'r dyddiau prysuraf yn eu hanes. **Ac a ddywedodd wrth Phylip, O ba le y prynwn ni fara fel y caffo y rhai hyn fwyta?** Pe pobl y carafan oeddynt, ar eu taith i Jerusalem, ni fuasai eisieu gofyn y cwestiwn,—buasai pob un â'i ysgrepan gydag ef, a'i fwyd ynddi. Ond paham y cyfeiriai y cwestiwn at Phylip? (1) Bengel a etyb mai oblegid fod y gofal am y bwyd yn gorphwys wrth bob tebyg arno ef. I hyn gwrthddadleua Meyer am mai Judas oedd y trysorydd (xii. 6; xiii. 29); ond amlwg yw nad oedd dim angenrheidrwydd am i'r hwn a ofalai am y gôd i ofalu am y bwyd hefyd. (2) Etyb Alford mai am fod Phylip y nesaf ato ar y pryd, ac felly yn fwy cyfleus i'w gyfarch. (3) Ond yr ateb mwyaf naturiol yw, os ydyw esboniad y canrifoedd cyntaf yn gywir am fangre y wyrth, mai am fod Phylip yn breswylydd yn Bethsaida, ac felly yn gyfarwydd âg ystorfeydd y gymydogaeth. (4) Ond y mae Ioan ei hun yn nodi gwell rheswm yn yr adnod ddilynol, ac yn gwneyd y tri uchod yn ddifudd, os nad yn ddirym.

**ADN. 6. A hyn a ddywedodd Efe i'w brofi ef.** Sef i weled gwendid neu gryfder ei ffydd. Nid bara oedd arno eisieu gan Phylip, medd Awstin, ond ffydd; a dywed Chrysostom yr un modd mai gwendid ei ffydd oedd y rheswm dros gyfeirio y gofyniad ato. A oedd Phylip wedi meithrin yr arferiad o godi, yn ngwyneb anhawsderau, at yr ysbrydol a'r goruwchnaturiol? Yr oedd yn llygad-dyst o wyrthiau lawer o eiddo yr Athraw; a ydyw wedi gallu treiddio trwy yr enghreiphtiau unigol at yr egwyddor gyffredinol sydd yn rhwymo yr unigolion yn un cyfanwaith ysbrydol? A ydyw wedi sylweddoli fod person Crist yn drech na phob anhawsder ac yn allwedd i ddatgloi pob dyryswch? Dengys yr hyn a ganlyn nad oedd Phylip eto wedi cyrhaedd y tir uchel hwn. **Canys Efe a wyddai beth yr oedd ar fedr ei wneuthur.** Gwybod (*oída*) yn nerth ei oleuni tufewnol ei hun, yn ddiffael ac yn ddiamodol. Nid oedd Efe byth mewn anghen am gynghor neu gyfarwyddyd gan neb y tu allan iddo ei hun. Nid oedd byth yn cynal pwyllgor gyda'i ddysgyblion i ddyfeisio y mesurau goreu i'w mabwysiadu yn ngwyneb amgylchiadau

yr oedd efe ar fedr ei wneuthur.) Phylip a'i hattebodd ef, 7
Gwerth dau càn ceiniog o fara nid yw ddigon iddynt hwy,
fel y gallo pob un o honynt gymmeryd ychydig. Un o'i 8
ddisgyblion a ddywedodd wrtho, Andreas, brawd Simon
Petr, Y mae yma ryw fachgennyn, a chanddo bùm torth 9
haidd, a dau bysgodyn : ond beth yw hynny rhwng cyn-

---

neillduol. Y mae yn hollol annibynol ar bawb a phobpeth creadigol! Tafla Ioan oleuni ar weithrediadau meddwl yr Iesu, yr hyn ni wna yr efengylwyr eraill : dysga yn ddigamsyniol fod llewyrch goruwch-ddynol, er mewn ffurf ddynol, yn tanbeidio yn ei enaid (vi. 61, 64; xiii. 3; xviii. 4; xix. 28).

ADN. 7. **Phylip a'i hatebodd Ef, Gwerth dau càn ceiniog o dorthau nid yw ddigon iddynt hwy, fel y gallo pob un o honynt gymeryd ychydig.** Y mae ateb Phylip yn hollol gyson â'r cyfeiriadau ato mewn adnodau eraill, fel dyn o feddwl ymarferol, o synwyr cyffredin cryf, heb ynddo fawr neu ddim darfelydd. Medda Crist atdyniad i feddyliau o bob ansawdd. Anffodus yw defnyddiad y gair "ceiniog" yn y cyfieithiadau Cymraeg a Saesoneg. Y gwreiddiol yw "denarius," cyfartal i wyth a dimai o'n harian ni. Felly yn nameg y Winllan, noda yr Iesu y "denarius" fel cyflog diwrnod—nid ceiniog ond wyth geiniog a dimai, yr hyn oedd fwy na chyflog gweithwyr Prydain Fawr hyd amser Oliver Cromwell. Felly yr oedd dau cant o'r darnau arian hyn, yr oll ag oedd ar y pryd yn nghôd y trysorydd, yn gyfartal i tua Saith Bunt o'n harian ni.

ADN. 8. **Un o'r disgyblion a ddywedodd wrtho, Andreas, brawd Simon Petr.** (Gwel i. 40.) Enwir Andreas, am fod cyfeillgarwch dwfn yn bodoli rhwng y ddau, Andreas a Phyllip, yr hyn a brofir gan y ffaith y cyplysir eu henwau bob amser, a'u bod yn gymdeithion yn eu teithiau pregethwrol.

ADN. 9. **Y mae yma ryw fachgenyn.** Gall y gair gwreiddiol (*paidárion*) olygu bachgenyn neu gaethwas bach; ond y cyntaf yn ddiamheu a feddylir yma. (1) Barna rhai mai bachgen bychan ydoedd, a gyflogodd y dysgyblion am y diwrnod i edrych ar ol eu lluniaeth, tra y trafferthent hwy gyda gorchwylion pwysicach. Yr oedd swm y bwyd oedd dan ei ofal yn ddigon, a dim gormod, i ddeuddeg o ddynion. (2) Barna eraill mai gwâs bach rhyw bobydd lleol ydoedd, yn cymeryd mantais ar y cyfle i werthu ei nwyddau i'r dorf. **A chanddo bum torth haidd.** Torthau edyll, yn ol arfer y Dwyrain. Bara haidd oedd bara tlodion y wlad, ac yr oedd yr Iesu a'i ddysgyblion yn foddlon byw ar fwyd cyffredin y dosbarth gweithiol. Edrychai dosbrthiadau uchaf cymdeithas gyda dirmyg ar fara mor salw. "Y Rabbi Johannan a ddywedodd, Y mae yr haidd yn deg. Atebwyd ef, Dywed hynyna wrth anifeiliaid ac asynod." **A dau bysgodyn.** Y gair yn yr efengylau eraill am bysgodyn yw *ichthús*; ond yma *ŏpsáriŏn*. Y mae gwreiddyn y gair (*ĕpsō*) yn golygu berwi neu rostio, ac felly unrhyw beth a goginid i roddi blâs ar ac archwaeth at fara,—cyfystyr â'r gair Cymraeg "enllyn."

10 nifer? A'r Iesu a ddywedodd, Perwch i'r dynion eistedd i
lawr. Ac yr oedd glaswellt lawer yn y fan *honno.* Felly
y gwŷr a eisteddasant i lawr, ynghylch pùm mil o nifer.
11 A'r Iesu a gymmerth y torthau, ac wedi iddo ddïolch, efe
a'*u* rhannodd i'r disgyblion, a'r disgyblion i'r rhai oedd yn
eistedd; felly hefyd o'r pysgod, cymmaint ag a fynnasant.

---

Ond gan mai pysgod oedd y cigfwyd mwyaf cyffredin yn Galilea, daeth i ddynodi pysgod bychain y môr wedi eu halltu a'u coginio, cyffelyb i *sardines* y dyddiau hyn, i'w bwyta gyda bara.

Anhawdd trefnu y pedwar hanes yn un, ond feallai fod trefn yr mddiddan rywbeth yn debyg i hyn:

*Y dysgyblion:* "Gollwng y dyrfa ymaith fel yr elont i'r pentrefi, ac y prynont iddynt fwyd."

*Yr Iesu:* "Rhoddwch chwi beth iddynt i'w fwyta."

*Y dysgyblion:* "A awn ni a phrynu?"

*Yr Iesu wrth Phylip:* "O ba le y prynwn ni fara?"

*Phylip:* "Gwerth dau càn ceiniog nid yw ddigon iddynt hwy."

*Yr Iesu:* "Pa sawl torth sydd genych? Ewch ac edrychwch."

*Andreas:* "Y mae yma ryw fachgenyn, a chanddo bum torth a dau bysgodyn; ond beth yw hyny rhwng cynifer?"

*Yr Iesu:* "Dygwch hwynt yma i mi."

**ADN. 10. A'r Iesu a ddywedodd, Perwch i'r bobl eistedd i lawr.** Y bobl heb wahaniaeth rhyw. **Ac yr oedd glaswellt lawer yn y fan hono.** Mis Abib ydoedd, yr hwn o'i ddehongli yw, Mis y Blodau, yn cyfateb i'n Hebrill ni. **Felly y gwŷr**—ar wahân i'r gwragedd a'r plant—**a lêd-orweddasant, ynghylch pum mil o nifer.** Felly yr oedd y dyrfa o ran nifer yn debyg i gynulleidfa mewn Cymdeithasfa gyffredin. Yn ol iaith farddonol Marc, eisteddasant yn "finteioedd a minteioedd"—*prassiai-prassiai,* geiriau am welyau blodau yn yr ardd. Fel yr edrychai Petr ar y minteioedd mewn gwisgoedd amryliw yn lled-eistedd yn drefnus ar y borfa werddlas, i'w lygaid bywiog ymddangosent fel gwelyau o flodau, a dyna y gair a roddodd yn ngenau Marc i'w desgrifio. Ymddengys yr eisteddai y gwragedd a'r plant wrthynt eu hunain, o'r neilldu; ai ni phorthodd yr Iesu y rhai hyn â'i ddwylaw ei hun?

**ADN. 11. A'r Iesu a gymerth y torthau, ac wedi iddo ddiolch.** Y gair yn yr efengylau eraill ydyw "bendithio," i ddynodi gweithred o'i eiddo tuagat y torthau; ond yma "diolch" (*eucharistēsas*), yr un â'r gair "eucharist" a ddefnyddir yn yr eglwysi esgobyddol am Sacrament y Swper, i ddynodi gweithred o'i eiddo tuagat Dduw. **Efe a'u rhanodd i'r rhai oedd yn eistedd.** Gadewir allan yn y Cyf. Diw. "i'r dysgyblion, a'r dysgyblion," gan y bernir mai geiriau benthyciol ydynt o'r efengylau eraill. Diau mai rhanu trwy offerynoliaeth y dysgyblion a wnaeth—yr eglwys yn foddion i ddwyn "llawnder Crist at brinder y byd." **Felly hefyd o'r pysgod, cymaint ag a fynasant.** "A'r ddau bysgodyn bach a ranodd Efe rhyngddynt oll." Swnia yr hanes yn rhyfedd a dyeithr iawn. Pryd y cymerodd y wyrth le? Rywbryd rhwng dechreu a diwedd yr adnod hon. Cynyddodd yr ymborth yn llaw Crist, meddai Awstin;

Ac wedi eu digoni hwynt, efe a ddywedodd wrth ei ddis- 12
gyblion, Cesglwch y briw-fwyd gweddill, fel na choller
dim. Am hynny hwy a'*u* casglasant, ac a lanwasant 13
ddeuddeg basgedaid o'r briw-fwyd o'r pum torth haidd a
weddillasai gan y rhai a fwyttasent. Yna y dynion, pan 14
welsant yr arwydd o wnaethai yr Iesu, a ddywedasant,
Hwn yn ddïau yw y prophwyd oedd ar ddyfod i'r byd.

---

chwyddodd yn nwylaw y dysgyblion, meddai Chrysostom; cyrhaeddodd ei berffeithrwydd yn nwylaw y bwytawyr, meddai Ambrose. Torodd yr Iesu y torthau edyll â'i ddwylaw; dododd y darnau yn y deuddeg basged a ddygai y deuddeg dysgybl rhwng y minteioedd. Gwnaethpwyd yn gyffelyb â'r ddau bysgodyn. Ac mewn rhyw ffordd ddirgeledig i ni chwyddai y bwyd, "a hwy oll a fwytasant ac a gawsant ddigon." Onid oes gweithredoedd mor ryfeddol yn cymeryd lle bob blwyddyn? Onid yw yr hâd yn cynyddu yn y ddaear? onid yw y pysgod yn lluosogi yn y môr? ac onid oes dirgelwch annirnadwy i ni yn y gweithrediad naturiol yn gystal ag yn y gweithrediad gwyrthiol?

ADN. 12. **Cesglwch y briwfwyd gweddill, fel na choller dim.** Nid y mân friwsion ar y glaswellt, ond y darnau (*klásmata*) torthau oedd ar ol. Yn yr LXX, cyfieithir yr un gair yn Ezec. xiii. 19 yn "dameidiau." Gwelwn yma ddwyfol allu law yn llaw a dwyfol gynildeb. Y mae gwastraff yn feius yn mhalas y pendefig fel yn mwthyn y tlawd. Na choller dim, meddai Duw. Fel na chollaf ddim o hono, meddai Crist. Y mae y Drindod yn gryf yn erbyn colli.

ADN. 13. **Am hyny hwy a'u casglasant ac a lanwasant ddeuddeg basgedaid o'r briwfwyd.** Deuddeg basgedaid yn cyfateb i'r deuddeg dysgybl—basged ar gyfer pob un. Y gair a ddefnyddir yn y pedair efengyl am "fasged" yw *kŏphínŏs*—yr un a'r Saesonaeg a'r Cymraeg, coffin a choffr. Ond y gair a ddefnyddir yn Matt. xv. 37 am fasged, mewn cysylltiad a phorthi y Pedair Mil, yw *spuris*. Beth yw y gwahaniaeth? Y mae y geiriadurwyr yn gwrthddyweyd eu gilydd; ond, hyd y medrwn ni ddeall, y mae y gair *kŏphinŏs* yn golygu basged fechan, yn cynwys ymborth, tebyg i *satchel* ein dyddiau ni, yr hon a ddygai pob Iuddew gydag ef pan ar daith rhag ei halogi gan fwydydd aflan. Felly pan y gofyna yr esbonwyr anghrediniol, Pa le y cafwyd y deuddeg basged? y mae yr ateb wrth law—arfer yr Iuddewon pan ar daith oedd dwyn y rhai hyn gyda hwy. Golyga *spuris* drachefn fasged o faintioli mwy, cawell i ystorio ynddo. Ac y mae yn deilwng o sylw fod yr Arglwydd Iesu, wrth alw y gwyrthiau hyn i gof ei ddysgyblion ar adeg ddiweddarach, yn defnyddio y ddau air: "Onid ydych chwi yn deall eto, nac yn cofio pum torth y pum mil, a pha sawl basgedaid (*kŏphinŏs*) a gymerasoch i fynu? Na saith dorth y pedair mil, a pha sawl cawellaid (*spuris*) a gymerasoch i fynu?" (Matt. xvi. 10).

ADN. 14. **Yna y bobl . . . . Hwn yn ddiau yw y prophwyd oedd ar ddyfod i'r byd.** Cyfeiriad at Deut. xviii. 15. Dengys i. 20, 21, fod y Sanhedrin yn gwahaniaethu rhwng y Messiah a'r Prophwyd; ond y mae

15 Yr Iesu gan hynny, pan wybu eu bod hwy ar fedr dyfod,
a'i gipio ef i'w wneuthur yn frenhin, a giliodd drachefn i'r
16 mynydd, ei hunan yn unig. A phan hwyrhâodd hi, ei
17 ddisgyblion a aethant i waered at y môr. Ac wedi iddynt
ddringo i long, hwy a aethant dros y môr i Capernaum.

---

yn amlwg fod y gwahaniaeth a dynent yn niwliog ac anmhenodol—gwahaniaethai esbonwyr y pryd hwnw fel yn awr; a gwelwn fod y werin weithiau yn eu gwahaniaethu ac weithiau yn eu hunanieithu (vii. 40, 41). Gorweddai y gwahaniaeth yn fwy yn y geiriad nag yn y teimlad; ac mewn munydau o frwdfrydedd, fel yn yr enghraipht bresenol, nid oeddynt yn cymeryd pwyll i ddadansoddi. Hon oedd uchafnod ei wyrthiau, mor bell ag yr oedd yr effeithiau ar y cyhoedd yn cyrhaedd, a throbwynt ei weinidogaeth yn Galilea.

RHODIO AR Y MOR. ADN. 15—21.

**ADN. 15. Ac Efe, gan hyny, pan wybu eu bod hwy ar fedr dyfod.** Oblegid fod yr adnod hon, er yn foreu, yn dechreu llith newydd yn ngwasanaeth cyhoeddus yr Eglwys Gristionogol, dodwyd "yr Iesu" i mewn yn lle y rhagenw, er mwyn eglurder. "Gwybu" (*ginōskō*) mewn ffordd ddynol, trwy sylwadaeth fanwl ar eu hosgo a'u hymddangosiad; yr oedd lluaws o fân bwyllgorau ar hyd wyneb y maes, a golwg wyllt ar y gwynebau, a llawer o gyfnewid meddyliau. **A'i gipio Ef i'w wneuthur yn frenhin.** Ei gipio (*harpazĕin*) trwy nerth gewynol, ei gipio trwy drais; ac felly yn y ddau gyfieithiad Saesonaeg, "*take Him by force.*" Cynllwynent i ddisgyn arno fel curyll ar aderyn, ei ddwyn i Jerusalem, a'i goroni yn frenhin. Dyma un, yn ôl eu tyb hwy, a allasai ddymchwel Cæsar a Herod. **A giliodd drachefn i'r mynydd, ei hunan yn unig.** Mor frwdfrydig oedd y dorf fel ag i orfodi yr Iesu i gymeryd mesurau dioed i ochel gwrthryfel gwleidyddol. Dyma yr ail waith iddo gilio i'r mynydd y diwrnod hwnw.

**ADN. 16. A phan hwyrhaodd hi.** Yr oedd i'r Iuddewon ddau hŵyr: o dri hyd chwech, pan y cyflawnwyd y wyrth; ac o chwech hyd nes y gorchuddiai tywyllwch y wlad. Yn y cyfamser yr oedd yr Iesu wedi "gyru" ac wedi "cymhell" ei ddysgyblion i'r llong fechan—eu cymhell hyd at orfodaeth (*ēnágasĕn*). Paham? Oblegid fod brwdfrydedd fel clefydau yn *gatching;* ac y mae yn bosibl fod y dysgyblion mor gynhyrfus â'r dorf, a chan eu bod hwythau yn disgwyl brenhiniaeth ddaearol (Act. i. 6), atdynid hwy yn anwrthwynebol i drobwll y teimlad cyhoeddus. Onid oedd yr adeg wedi dyfod i wneuthur eu Hathraw yn frenhin? Ai nid oedd Judas yn gweled ei gyfle, ac yn chwythu fflam y brwdfrydedd yn mysg y bobl? Yr unig ffordd i ochel cyflafan wleidyddol oedd eu gwahanu—y bobl i'w cartrefi, ei ddysgyblion i'r môr, ac yntau i'r mynydd. **Ei ddysgyblion a aethant i waered at y môr**—milldir neu lai oddiwrth droed y mynydd.

**ADN. 17. Ac wedi iddynt ddringo i'r llong.** Llong a'r fanod o'i blaen, i ddynodi y llong yn yr hon yr hwyliasant y boreu. **Hwy a aethant dros y môr i Capernaum.** O un man i fan arall, pa un ai o gôst

Ac yr oedd hi weithian yn dywyll, a'r Iesu ni ddaethai
attynt hwy. A'r môr, gan wynt mawr yn chwythu, a 18
gododd. Yna, wedi iddynt rwyfo ynghylch pump ar 19
hugain neu ddeg ar hugain o ystadiau, hwy a welent yr
Iesu yn rhodio ar y môr, ac yn nesâu at y llong; ac a

---

i gôst, ai ar yr un côst. Gwir nad oedd y pellder ar hyd y ffordd yn fawr; ond cofier eu bod yn flinedig, a bod ganddynt gwch wedi ei hurio yn y boreu, yr hwn nid allasent ei adael ar ol. Er mai i Bethsaida Galilea y cynllunient fyned (Marc vi. 45), taflodd yr ystorm hwynt allan o'u cwrs, a glàniasant yn Capernaum, cartref yr Iesu y pryd hwn (Matt. iv. 13). **Ac yr oedd hi weithian yn dywyll.** Paham ynte y gorfodid hwy i gychwyn yn y nos? (1) Am fod yn rhaid eu gwahanu oddiwrth y dorf rhag i ganlyniadau gofidus ddilyn. (2) Mordaith fèr ydoedd, a gwelid goleuni y dinasoedd ar y glanau. (3) Arferid môrio yn ddyogel yn y nos (adn. 23; xxi. 3). **A'r Iesu ni ddaethai eto atynt hwy.** Y mae dadl a ddylid cadw yr "eto" i mewn, gan na chawn ef mewn amryw o hen lawysgrifau parchus; ond try y fantol o'i blaid, ac felly cawn ef yn y Cyf. Diw. Beth ynte yw ystyr yr "eto" yn y fan hon? (1) Myn rhai, ac yn eu plith Westcott a Godet, fod yr Iesu wedi appwyntio man penodol ar y traeth lle y gallai ymuno â hwynt ar awr ddiweddarach; ond nid oedd yr Iesu wedi dyfod "eto" atynt, am nad oedd y cwch oherwydd yr ystorm wedi llwyddo i gyrhaedd y man penodedig. (2) Crêd eraill mai cyfeirio yn mlaen y mae at adn. 19. Fe ddaeth, ond nid oedd "eto" wedi cyrhaedd. Barnwn mai hwn yw yr eglurhâd esmwythaf, er fod y ddau yn ddigon naturiol.

**ADN. 18. A'r môr, gan wynt mawr yn chwythu, oedd yn cynhyrfu**—yr amser anmherffaith. Yr oedd, ac y mae, Môr Galilea yn agored i dymhestloedd disymwth. Weithiau fflangellir un haner iddo gan y cwthwm tra fydd yr haner arall yn gydmarol lonydd.

**ADN. 19. Yna wedi iddynt rwyfo ynghylch pump ar hugain neu ddeg ar hugain o ystadiau.** Lled y môr yw 40 ystâd, tua chwe milldir; felly yr oeddynt wedi rhwyfo tua thair milldir. Dyfaliad sydd yma, ac nid mesuriad pendant; ond dyfaliad hen fôrwr, ac felly yn weddol gywir. **Hwy a welent yr Iesu yn rhodio ar y môr.** Yn xxi. 1, defnyddir yr un ymadrodd (*épì tēs thalàssēs*), ac yno y mae yn amlwg mai rhodio ar y traeth a feddylir; oherwydd paham mŷn yr esbonwyr anghrediniol mai yr un ystyr sydd iddo yma; ac yn unol â hyny yr esboniant weddill yr hanes. Ond dengys Ioan, yn gystal a Matthew a Marc, i'w ymddangosiad beri dychryn i'w ddysgyblion nes "ysgrechain" (*anĕkrazan*) o honynt. Os rhodio tuag atynt ar y traeth yr ydoedd, paham eu dychryn? Gan hyny, rhaid fod Ioan yn meddwl yr hyn a ddywed yr efengylwyr eraill yn ddiamwys, sef fod yr Iesu yn rhodio ar frigau y tònau. **Ac yn neshau at y llong, ac a ofnasant.** Yn eu dychryn gwaeddasant, Drychiolaeth yw. Pa fodd y rhodiai yr Iesu ar y môr? Ai y dwfr oedd yn caledu fel rhew dan ei gerddediad, ynte ei gorph oedd wedi ysgafnhau fel ag i orchfygu deddf dysgyrchiad? Nid oes ateb. Pe deallid gwyrth, peidiai a bod yn wyrth.

20 ofnasant. Ond efe a ddywedodd wrthynt, Myfi yw; nac
21 ofnwch. Yna y derbyniasant ef yn chwannog i'r llong:
ac yn ebrwydd yr oedd y llong wrth y tir yr oeddynt yn
myned iddo.
22 Trannoeth, pan welodd y dyrfa oedd yn sefyll y tu hwnt

---

**ADN. 20. Ond Efe a ddywedodd wrthynt, Myfi yw, Nac ofnwch.** "Myfi yw"=Ydwyf: yr un gair mawr ag a lefara yn viii. 58, er nad yn yr un cyflawnder o feddwl. Gwnaeth y gair rhyfedd "Ydwyf"—cyfatebol i Jehofah yr H.D.—argraph ddofn ar y dysgyblion, canys coffheir ef yn gymhwys yr un fath gan y tri efengylwr.

**ADN. 21. Yna yr oeddynt yn ewyllysgar i'w dderbyn Ef i'r llong.** Y mae y Gymraeg—"yna y derbyniasant Ef yn chwanog i'r llong"—yn gywir fel esboniad, ond nid fel cyfieithiad. Nid yw Ioan yn dyweyd yn bendant i'r Iesu fyned i'r llong, ac am hyny casgla rhai esbonwyr, ac hyd yn nod esboniwr mor egwyddorol a Meyer, nad aeth yr Iesu iddi, oblegid fod y llong eisoes wrth y tir. Ond dysga y ddau efengylwr arall yn eglur iddo fyned i'r llong yn mhell allan ar y môr; ac nid ydyw Ioan yn dysgu dim yn amgen. Rhaid esbonio ei amwysedd ef yn ngoleuni eu heglurder hwy. Dŷg Tholuck i amlygrwydd y cyferbyniad sydd yn cyfrif am ffurf ddyryslyd y frawddeg hon: yn adn. 19, dychrynent rhagddo, ac o bosibl rhwyfent oddiwrtho, gan y credent mai drychiolaeth ydoedd; ond wedi deall mai yr Iesu ydoedd, ewyllysient ei dderbyn i'r llong. Nid y weithred, ond y teimlad, yn ôl ei arfer, a ddesgrifia Ioan. **Ac yn ebrwydd yr oedd y llong wrth y tir yr oeddynt yn myned iddo.** Dysga rhai mai ystyr "ebrwydd" yw iddynt rwyfo yn gyflym, ar ôl dyfodiad yr Iesu atynt, i'r làn. Ond yr argraph a edy y geiriau ar y meddwl yw—symudiad gwyrthiol y llong at y tir. "Buasai gwyrth fwy yn hyn," ysgrifena Reynolds, "nag yn y ddau ddygwyddiad blaenorol. Y mae difodiad lle ac amser yn dileu amodau meddwl, a buasai, os dyna ystyr yr ymadrodd, yn rhyfeddod aruthol, ac, hyd y gwelwn ni, difudd. Temtiai ni yn gryf i dderbyn yr esboniad anghrediniol (*rationalistic*)." Ond oni ddifodwyd deddfau amser a lle yn Act. viii. 39, 40? Onid yw gweithredoedd goruwchnaturiol fel y Bôd goruwchnaturiol uwchlaw deddfau amser a lle, ac onid hynyna sydd yn eu gwneuthur yn oruwchnaturiol? Oferwaith yw adeiladu canolfur gwahaniaeth rhwng ychydig a llawer o'r goruwchnaturiol—nid oes y cyfryw ganolfur.

**ADN. 22.** Dyma frawddeg faith, yn estyn hyd diwedd adn. 24, y frawddeg feithaf yn yr holl efengyl. Heblaw hyny y mae ei chystrawen yn dra dyrys, fel y cenfydd y neb a ddosbarth-dreiglia (*parse*) y tair adnod. **Trannoeth pan wêlodd y dyrfa yr hon oedd yn sefyll y tu hwnt i'r môr.** "Yn sefyll dros y môr," yr un ochr neu yr ochr gyferbyniol. Ni feddylir i holl dyrfa y diwrnod blaenorol aros yn yr ardal dros nos, canys pe felly ni fuasai eisieu y rhagenw *hon*; yn wir darllenwn i'r Iesu ollwng y dorf ymaith. Ond yr oedd yno luaws o ddynion aiddgar, zelog, poeth eu teimladau, y rhai oeddynt anfoddlon i ddychwelyd i'w cartrefi; treuliasant y nos yn y gymydogaeth, a dranoeth yr oeddynt yn foreu ar

i'r môr, nad oedd un llong arall yno ond yr un honno i'r
hon yr aethai ei ddisgyblion ef, ac nad aethai yr Iesu gyd
â'i ddisgyblion i'r llong, ond myned o'i ddisgyblion ymaith
eu hunain; (Eithr llongau eraill a ddaethent o Tiberias yn 23
gyfagos i'r fan lle y bwyttasent hwy fara, wedi i'r Arglwydd
roddi diolch:) Pan welodd y dyrfa gan hynny nad oedd yr 24
Iesu yno, na'i ddisgyblion, hwythau a aethant i longau, ac
a ddaethant i Capernaum, dan geisio yr Iesu. Ac wedi 25
iddynt ei gael ef y tu hwnt i'r môr, hwy a ddywedasant

---

lân y Llyn, yn disgwyl am yr Iesu. **Pan welsant nad oedd un llong arall yno** (*ploiárión*, llong fach), **ond yr un hono i'r hon yr aethai ei ddysgyblion Ef**, sef y cwch yn yr hwn y daeth yr Iesu a'i ddysgyblion i'r fan, ac i'r hwn yr aeth ei ddysgyblion y noson flaenorol, **ac nad aethai yr Iesu gyda'i ddysgyblion i'r llong, ond myned ei ddysgyblion Ef ymaith eu hunain.** Naturiol, gan hyny, oedd i'r bobl hyn ddisgwyl gweled yr Iesu yn yr un ardal boreu dranoeth, gan nad oedd yno un llong i'w gludo ymaith.

**ADN. 23. Eithr llongau eraill a ddaethant o Tiberias yn gyfagos i'r fan lle y bwytasant hwy fara.** Beth oedd yn gyfagos i'r fan lle y bwytasant hwy fara,—y cychod ynte Tiberias? Etyb rhai mai y cychod, ond y lawysgrif Sinaitaidd a ddywed mai y dref. Gwel ar adn. 3. Defnyddiodd y dyrfa y llongau hyn i groesi.

**ADN. 25. Ac wedi iddynt ei gael Ef dros y môr.** Yr ochr orllewinol, mewn cyferbyniad i'r màn ar y traeth lle y gwelsid Ef y nos o'r blaen. **Hwy a ddywedasant, Rabbi, pa bryd y daethost ti yma?** Gofyniad hollol naturiol, ond fel y sylwa Bengel y mae y "pa bryd" yn cynwys y "pa fodd." Nid yw yr Iesu yn ateb eu gofyniad; ond fel arferol traddoda iddynt bregeth, yr hon a ddinoetha deimladau ac amcanion dyfnaf eu bywyd, er mwyn croniclo yr hon yr adroddwyd hanes y ddwy wyrth flaenorol. Mor brysur oedd yr Arglwydd Iesu! Echdoe nid oedd ganddo Ef a'i ddysgyblion hamdden gymaint ag i fwyta (Marc vi. 3). Boreu ddoe cyflogasant neu benthyciasant gwch i fyned dros y môr i chwilio am orphwysdra. Eithr nid cynt y cyrhaeddasant y "lle anghyfanedd" na chasglodd y torfeydd ynghyd, a bu yr Iesu yn ddiwyd trwy y dydd yn eu dysgu, yn eu iachau, ac yn eu porthi. Yn yr hŵyr ciliodd i'r mynydd i weddio, ond galwyd ef oddiyno gan enbydrwydd ei ddysgyblion yn y dymhestl, a threuliodd y nos heb roddi hûn i'w amrantau. Heddyw pregetha i'r gynulleidfa yn Capernaum un o'r pregethau rhyfeddaf a draddodwyd erioed: dadleua â'r Iuddewon, a thramgwydda y Galileaid.

Y BARA O'R NEF. ADN. 26–33.

Dyma yr unig bregeth o eiddo yr Iesu yn Galilea a gofnodir gan Ioan. Paham hon? (1) Am fod cydnawsedd, ac felly debygolrwydd, o ran ysbryd ac athrawiaeth rhwng hon a'r pregethau a draddododd yn Jerusalem. Yn wir, yn adn. 41 a 52, crybwyllir fod yr Iuddewon, swyddog-

26 wrtho, Rabbi, pa bryd y daethost ti yma? Yr Iesu a attebodd iddynt, ac a ddywedodd, Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, Yr ydych chwi yn fy ngheisio i, nid o herwydd i chwi weled y gwyrthiau, eithr o herwydd i chwi fwytta o'r

---

ion crefyddol o'r un dosbarth ag Iuddewon Jerusalem, yn mhlith ei wrandawyr, ac yn gwrthddadleu. (2) Am yr etyb yn arbenig y dyben oedd gan Ioan mewn golwg yn nghyfansoddiad ei efengyl, sef profi y gosodiad mai yr Iesu yw y Messiah, a bod y Messiah yn Fab Duw. Rhaid darllen yr holl efengyl yn ngoleuni yr ystyriaeth hon. (3) Am fod mater y benod hon, y Bara o'r Nef, yn rhan hanfodol o'r pwngc a drinir yn y benod hon a'r ddwy nesaf. Tair gwyrth fawr yr Anialwch oedd—y Manna, y Dwfr o'r Graig, a'r Golofn Dân. Yn y benod hon dangosir mai Crist yw sylwedd y Manna—"Myfi yw Bara y Bywyd." Yn pen. vii. dangosir mai Crist yw sylwedd y Graig a roddodd ddwfr i Israel—"Os oes ar neb syched, deued ataf fi ac yfed." Yn pen. viii. dangosir mai Crist ydyw sylwedd y Golofn Dân—"Goleuni y byd ydwyf fi." Y mae y tair penod yn gwneyd un cyfanwaith o'r tair gwyrth; felly yr oedd y teimlad o undod a chymesuredd yn galw am roddi i mewn bregeth Capernaum.

Rhana y bregeth ei hun yn dair adran: adn. 26—41; 42—51; 52—58. Yn adn. 59 dywedir iddi gael ei thraddodi yn y synagog yn Capernaum, er y barna rhai na thraddodwyd yr oll yn yr adeilad, nac ychwaith i'r un gynulleidfa. Ond mwy naturiol yw iddo draddodi yr oll yn y synagog i'r un gwrandawyr. Yr unig wrthddadl yn erbyn hyn ydyw—y cwestiynau a ofynir a'r gwrthddadleuon a godir. Ond dylid cofio mai nid lleoedd i fagu defosiwn oedd y synagogau, ond lleoedd i hyfforddi y bobl yn ngwirioneddau yr H. D.; ac fel canlyniad arferai y gynulleidfa fwy o ryddid nag yn eglwysi ein gwlad a'n hoes ni.

**ADN. 26. Yr Iesu a atebodd iddynt ac a ddywedodd.** Nid ateb eu geiriau, ond eu teimladau a'u dyhëadau, nodi y gwir reswm paham y dilynent Ef. **Yr ydych chwi yn fy ngheisio i, nid oherwydd i chwi weled yr arwyddion, eithr oherwydd i chwi fwyta o'r torthau a'ch digoni.** Ai ni welsant y gwyrthiau—y cleifion yn cael eu hiachau a'r miloedd yn cael eu porthi? Do; gwelsant hwy fel rhyfeddodau, ond nid fel arwyddion; gwelsant hwy fel ffeithiau unigol o flaen eu llygaid, ond ni ddeallasant y gwirionedd ag oedd y tu cefn,—yr egwyddor ag oedd yn cylymu y gwyrthiau wrth eu gilydd, a'r oll wrth berson yr Iesu. Yr oedd y gwirionedd y tu cefn i'r ffaith yn llawer pwysicach na'r ffaith ei hun. Cymerer fel engraipht afal yn syrthio oddiar goeden i'r ddaear, dygwyddiad ag oedd pawb er dechreu y byd wedi ei weled; ond nid oedd y dygwyddiad yn trosglwyddo un gwirionedd i feddwl yr edrychydd. Gwelodd Newton yr un ffaith, meddyliodd uwch ei phen, a darganfyddodd wirionedd y tu cefn i'r ffaith weledig—deddf fawr dysgyrchiad. Gwelai eraill afalau yn syrthio; Newton oedd y cyntaf i weled ynddynt un o wirioneddau sylfaenol y cread. Felly gwelai y bobl hyn y wyrth; ond nid oedd y wyrth iddynt yn arwydd, yn ddangoseg o ddwyfoldeb anfoniad a pherson y Gwr a'i cyflawnodd. Paham ynte y dilynasant Ef? Am iddynt fwyta o'r torthau a'u digoni. Digonedd o fwyd heb lafur

torthau, a'ch digoni. Llafuriwch nid am y bwyd a dder- 27
fydd, eithr am y bwyd a bery i fywyd tragywyddol, yr hwn
a ddyru Mab y dyn i chwi: canys hwn a seliodd Duw

---

cyfatebol am dano: dyna oedd yr atdyniad. Nid yr un gair sydd yma am "ddigoni" ac yn adn. 12, ond gair arall (*chŏrdtzō*) a arferid am borthi anifeiliaid. Nid priodol gosod gormod o bwys ar yr elfen ddiraddol sydd yn y gair, gan mai efe yw yr unig air a ddefnyddir yn yr efengylau eraill mewn cysylltiad â'r wyrth. Ar yr un pryd braidd na feddyliem fod yr Iesu yn defnyddio y term mwyaf materol o bwrpas i nodi mai am yr anifeilaidd yn eu natur y meddylient hwy fwyaf. Dyna hefyd y portread a dynasai y genedl o amseroedd y Messiah—digonedd o fendithion tymhorol. Ceisio yr Iesu er mwyn y torthau yr oeddynt, ac felly carent y torthau yn fwy na'r Iesu. Y rhai a garant ddyn er mwyn ei arian a garant yr arian yn fwy na'r dyn. Y rhai a ddilynant yr Iesu er mwyn rhywbeth arall a garant y rhywbeth arall yn fwy nag Ef. Ond gwrthyd yr Arglwydd Iesu bob cariad os na cherir Ef er ei fwyn ei hun. **Y mae'r Iesu yn fwy na'i roddion.**

**ADN. 27. Gweithiwch nid am y bwyd a dderfydd.** Y mae y gair "gweithio" yn bwysleisiol. Y mae i'w ddewis yn hytrach na "llafurio," er dangos y cysylltiad rhwng yr adnod hon â'r rhai dilynol, gan mai yr un gair sydd yn y tair adnod. Ac eto y mae y syniad o barhâd yn y gair -gweithio fel wrth alwedigaeth neu grefft. Nid yw y ffurf nacäol yma yn gwahardd dilyn galwedigaethau bydol—rhaid dehongli adnod fel hon yn ngoleuni synwyr cyffredin (2 Thes. iii. 10): ond ffordd darawiadol ydyw o ddysgu mai nid ceisio bwyd a dillad, aur ac anrhydedd, a ddylasai fod yn brif amcan bywyd,—nid pesgi y corph ond addurno yr enaid. "Bwyd a dderfydd": nid oes defnydd parhâd ynddo. Os na ddefnyddir ef yn fuan, fel y manna efe a faga bryfaid ac a lygra. Y mae y bwyd ei hunan ag elfenau llygredigaeth ynddo; ni all fod parhâd yn y bywyd sydd yn dibynu arno. **Eithr am y bwyd a bery i fywyd tragwyddol** Y mae ar yr enaid eisieu ymborth yn gymaint â'r corph; ac fel y corph y mae defnyddiau ei ymborth y tu allan iddo ei hun. Duw yn unig sydd yn medru byw arno ac ynddo ei hun, yn annibynol ar bob peth y tu allan iddo; rhaid i bob ysbryd creadigol dderbyn ei gynaliaeth o'r tu allan iddo ei hun, o'r Creawdwr neu y greadigaeth, onite efe a fydd farw o newyn. "Y bara a bery i fywyd tragwyddol": ni cheir hwn yn y greadigaeth, dim ond yn y Creawdwr. Nid yw gwirioneddau natur, er mor dderchafedig, yn rhoddi bywyd tragwyddol,—dim ond addurno y bywyd naturiol. **Yr hwn a ddyry Mab y Dyn i chwi.** Ar un llaw, yr oeddynt hwy i weithio am dano; ar y llaw arall, Mab y Dyn oedd yn ei roddi yn rhâd rodd. Nid cyflog mohono, ond rhodd—paham? Y mae cyflog yn ol teilyngdod y gwaith, y mae cymesuredd rhyngddynt; ond y mae y "bwyd a bery i fywyd tragwyddol" yn gyflog mor fawr nes peidio a bod yn hur ac yn troi yn wobr, yn peidio a bod yn dâl ac yn trawsnewid yn râs. A sylwer mai yn ei gymeriad fel Mab y Dyn y medr gyfranu y bywyd hwn; yn rhinwedd yr Ymgnawdoliad y mae y Natur Ddwyfol yn dyfod yn ymborth cyfaddas i bechadur. Yn y bumed benod syrth y pwyslais arno yn benaf fel Mab Duw, yn y benod hon fel Mab y

28 Dad. Yna y dywedasant wrtho, Pa beth a wnawn ni, fel
29 y gweithredom weithredoedd Duw? Yr Iesu a attebodd
ac a ddywedodd wrthynt, Hyn yw gwaith Duw; credu o

---

Dyn. **Canys hwn a seliodd y Tad, sef Duw.** Beth yw y meddwl? (1) Tybia rhai fod yma gyfeiriad at arfer pôbyddion yn mhlith yr Iuddewon, fel weithiau yn ein gwlad ni, o roddi eu stamp neu eu henwau ar y torthau a bobent; a chan mai am fara y lleferir yma, y mae y dybiaeth yn naturiol. (2) Barna eraill fod y cyfeiriad at arfer brenhinoedd o selio eu llythyrau â'r sel frenhinol,—arferiad a ffyna hyd y dydd hwn. Nid oedd gan neb hawl, heb awdurdod y llywodraethwr, i ddefnyddio y sêl hon; a pha le bynag y gwelid ei hargraph hi, yr oedd yn brawf digonol fod awdurdod yr orsedd y tu cefn. Ond yn ol y naill gydmariaeth neu y llall, yr oedd Duw wedi rhoddi ei sêl ar ei Fab. Beth oedd y sêl hono? (1) Ateba Godet mai y gwyrthiau. Ond tra yn caniatau fod y gwyrthiau yn sêl, eto y mae amser perffaith y ferf yn dynodi rhywbeth pendant yn y gorphenol. (2) Felly barna eraill mai y stamp o ddwyfoldeb a argraphwyd ar ei berson yn yr Ymgnawdoliad a feddylir. (3) Ond nis gallwn lai na chredu fod cyffelybrwydd rhwng sêliad y Mab a sêliad credinwyr yn y Mab—"yn yr hwn hefyd, wedi i chwi gredu, y'ch sêliwyd trwy Lân Ysbryd yr addewid" (Eph. i. 13). Gan hyny barnwn mai at ddisgyniad yr Ysbryd yn y Bedydd y cyfeirir—sêl y Tad trwy yr Ysbryd ar y Mab.

**ADN. 28. Pa beth a wnawn ni fel y gweithredom weithredoedd Duw?** Syrth y pwyslais ar "Pa beth?" (1) Awgryma Meyer mai gwrthddadleu y maent,—cyferbynu eu hunain â Duw i ddangos yr anmhosiblrwydd i gyflawni yr hyn a ofynir ganddynt. (2) Ond y tebyg yw fod y bobl hyn yn gofyn yn onest a difrifol, ond mai difrifoldeb arwynebol ydyw, Pa beth a wnawn fel y gweithredom weithredoedd Duw—y gweithredoedd a ofyna Efe genym, ac felly yn gymeradwy yn ei olwg? Ond er cyfaddef eu gonestrwydd, dengys y gofyniad eu hunan-ddigonolrwydd—ystyrient eu hunain yn abl i'w cyflawni ond gwybod beth oeddynt. Am iachawdwriaeth trwy eu gweithredoedd eu hunain yr ymgeisient hwy.

**ADN. 29. Hyn yw gwaith Duw.** "Gweithredoedd Duw," meddent hwy, yn y rhif luosog, gweithredoedd cymeradwy ganddo; "gwaith Duw," meddai yr Iesu, yn y rhif unigol, gwaith a orchymynir ganddo. **Credu o honoch yn yr hwn a anfonodd Efe.** Yn yr adnod flaenorol datgana y bobl eu syniad am ffordd iachawdwriaeth—iachawdwriaeth trwy weithredoedd; yma datgana yr Iesu ei syniad am ffordd iachawdwriaeth—iachawdwriaeth trwy ras. Dyma ddwy ffordd, dwy egwyddor, ag sydd hollol wrthwynebol i'w gilydd, wraidd a changhen. Pob dyfais o eiddo dyn i gyrhaedd iachawdwriaeth, iachawdwriaeth trwy weithredoedd ydyw; oherwydd paham iachawdwriaeth trwy weithredoedd a ddysgir yn holl Lyfrau Cysegredig y Dwyrain. Ond dyfais Duw i gyrhaedd iachawdwriaeth—iachawdwriaeth trwy râs ydyw; ac felly Cristionogaeth yn unig a ddysga y gwirionedd hwn—ni cheir hedyn o hono yn nghyfundrefnau crefyddol ac athronyddol y byd, nid yw yn perthyn i grefyddau natur, dim ond i grefydd oruwchnaturiol yr H. D. a'r Newydd. Y Beibl yw yr unig Lyfr Cysegredig ag sydd yn dysgu Iachawdwriaeth

honoch yn yr hwn a anfonodd efe. Dywedasant gan 30
hynny wrtho ef, Pa arwydd yr ydwyt ti yn ei wneuthur, fel
y gwelom, ac y credom i ti? pa beth yr wyt ti yn ei weith-
redu? Ein tadau ni a fwyttasant y manna yn yr anialwch, 31
fel y mae yn ysgrifenedig, Efe a roddodd iddynt fara o'r

---

trwy Râs. "Hyn yw gwaith Duw—credu." Ond a ydyw credu yn waith? Ydyw a Nac ydyw, yn ol y safle o ba un yr edrychwn. Geilw yr Iesu ef yma yn waith—y pechadur yn y mwynhâd o lawn ryddid ewyllys yn ymostwng i awdurdod Duw, ac felly yn gwneuthur gwaith mwyaf a phwysicaf ei fywyd. Ond ar y llaw arall, fel yr arferai Dr. Lewis Edwards ddysgu, arddangosiad nid o nerth ond o wendid ydyw credu; nid rhoddi, ond derbyn; nid gweithio ond peidio gweithio—dyn yn rhy wàn i sefyll ar ei waelod ei hun, ac o ganlyniad yn rhoddi ei bwys yn drwm ar Un arall, mor wàn nes syrthio ar drefn Duw am ei fywyd. Dyma waith Duw, y gwaith a ddisgwylia Duw ar ein llaw, sef peidio â'n gwaith ein hunain a chredu o honom yn ei Fab! Y mae pob gorchymyn wedi eu casglu i'r gorchymyn hwn, pob gwaith i'r gwaith hwn; nid rhyfedd gan hyny y cyfrifir anghrediniaeth y penaf o bechodau yr oes.

ADN. 30. **Pa beth yr wyt ti yn ei wneuthur?** Y "ti" yn bwysleisiol. Deallai ei wrandawyr mai ato ei hun y cyfeiriai fel anfonedig Duw; ac nid ato ei hun fel prophwyd cyffredin, ond fel *y* prophwyd—y Messiah. Y mae yma ddau gyferbyniad. Y cyntaf yw rhwng y "ni" a "thi." Yr wyt ti yn galw arnom *ni* i wneyd; ond beth wyt *ti* yn ei wneyd? Pa arwydd yr ydwyt *ti* yn ei gwneuthur fel y gwelom ac y credom i ti? Yr ail ydyw rhwng y "thi" ac "efe," rhwng Crist a Moses, fel y dengys yr adnod nesaf. (1) Y mae gofyniad o fath hwn o enau pobl a welsant y wyrth y ddoe mòr anhygoel, fel y mỳn Grotius mai pobl nad oeddynt yn bresenol y pryd hwnw sydd yma yn llefaru. (2) Ond y mae adnabyddiaeth o'r natur ddynol, yn enwedig natur ddynol Iuddewig, yn ein perswadio mai yr un bobl oeddynt. Yr oedd hyd yn nod gwrthodiad yr Iesu i gymeryd ei goroni yn frenhin iddynt hwy yn rheswm nad Efe oedd y Messiah, canys yn ôl eu barn hwy buasai y Messiah yn chwanog i wisgo'r goron. "Y mae yr Iuddewon yn ceisio arwydd" (1 Cor. i. 22); a pho fwyaf o arwyddion a gaent, mwyaf oll y crefent am eraill. Yr oedd eu gwangc am y gwyrthiol yn anniwall, ac felly yn bechadurus. Gwangc arall oedd yn nodweddu y Groegiaid—"yr oedd y Groegiaid yn ceisio doethineb" (1 Cor. i. 22). Y wangc hon sydd yn nodweddu cenhedloedd Ewrop heddyw 'r dydd—hawliant brofion athronyddol a gwyddonol o wirioneddau moesol ac ysbrydol! Y mae y naill wangc a'r llall mewn gormodedd yn bechadurus.

ADN. 31. **Ein tadau ni a fwytasant y manna yn yr anialwch.** Bwytasom ni fara haidd y ddoe, bara y tlodion, un pryd, ac y mae yr oll drosodd; ond ein tadau ni a fwytasant y manna, bara angelion, yn yr anialwch, nid unwaith, ond am ddeugain mlynedd. **Fel y mae yn ysgrifenedig.** Nid oes dim yn ein synu yn fwy na chynefindra yr Iuddewon, dysgedig ac annysgedig, ag ysgrythyrau yr H. D. **Efe a roddes iddynt fara o'r nef i'w fwyta.** (Ps. lxxviii. 24.) Mewn esboniad

32 nef i'w fwytta. Yna yr Iesu a ddywedodd wrthynt, Yn
wir, yn wir, meddaf i chwi, Nid Moses a roddodd i chwi y
bara o'r nef: eithr fy Nhad sydd yn rhoddi i chwi y gwir
33 fara o'r nef. Canys bara Duw ydyw yr hwn sydd yn dyfod

---

Iuddewig ar Lyfr y Pregethwr ceir y frawddeg: "Y Gwaredwr cyntaf (Moses) a wnaeth i'r manna ddisgyn iddynt; felly yr ail Waredwr (Messiah) a wna i'r manna ddisgyn." Eisieu bara heb weithio na thalu am dano oedd ar y bobl—gwyrth fawr barhäol fel gwyrth y manna. Dengys hyn yn mha gyfeiriad yr oedd eu meddyliau yn symud: cydmarent Moses â'r Iesu, gan farnu fod gwyrth y cyntaf yn rhoddiad y manna yn fwy na gwyrth yr olaf yn lluosogiad y torthau, ac felly na allasent gydnabod ei hawliau Ef fel yn uwchraddol i'r eiddo Moses.

**ADN. 32. Nid Moses a roddodd i chwi y bara o'r nef.** Rhodder y pwyslais yn yr adnod hon ar "Moses" a "Fy Nhad." Cywira yr Iesu eu hesboniad o'r dyfyniad uchod o'r Salm. Wrth yr "efe" y deallent hwy Moses. Nage, meddai yr Iesu, nid Moses, ond Duw, yw yr "efe" yna. Nid Moses oedd cyflawnydd y wyrth, nid oedd efe hyd yn nod yn offeryn ei chyflawniad; nid iddo ef, gan hyny, yr oedd y clod yn ddyledus, ond i Dduw. Nid oedd yn ngallu Moses i roddi i chwi fara allan o'r nef, canys nid oedd yn y nef ei hunan; rhaid oedd i'r hwn a roddai allan o'r nef fod yn y nef. **Eithr fy Nhad sydd yn rhoddi i chwi y gwir fara allan o'r nef.** Yr amser presenol, i osod allan fod Duw yn cynyg iddynt hwy y pryd hwnw well bara nag a roddodd i'w tadau yn yr anialwch. Nid oedd y manna, er ei ragoroldeb, yn "wir fara"—bara sydd yn cyfateb i'r drychfeddwl, sydd yn llanw y syniad o'r hyn y dylasai bara fod; oblegid (1) bara yn darfod ydoedd, yn llygru yn fuan fuan, ac (2) hefyd y bobl a fwytaent o hono a farwent yn gynarach neu ddiweddarach. Nid yn unig ni allasai gyfranu bywyd, ond ni allasai gynal bywyd oddieithr am dymhor byr. Nid oedd y manna, nac hyd yn nod "hen ŷd y wlad," yn llanw y drychfeddwl o'r hyn y dylasai ymborth fod; oherwydd paham y mae y ddynoliaeth yn mhob oes yn ymdrechu gwella moddion cynaliaeth—chwilio am "fwyd Paradwys" a "dyfroedd anfarwoldeb." Nid oedd y manna yn diwallu anghenion corph, onite ni fuasai y corph farw; llawer llai anghenion dyn yn ei gyfanrwydd. Ond yn awr rhydd Duw y "gwir fara"—y sylwedd, o'r hwn nid oedd y manna ond cysgod, bara a ddiwalla holl anghenion dyn yn gorph ac enaid—bara allan o'r nef.

**ADN. 33. Canys bara Duw ydyw yr hwn sydd yn dyfod i waered allan o'r nef.** Beth neu bwy a gynrychiolir gan y rhagenw "hwn"? Mŷn rhai mai yr Iesu ydyw; ond gan mai yn y paragraph nesaf yr hunanieithir y bara a Christ, gwell dilyn y Cyf. Diw. a'i ddeall fel "*that which,*" ac nid fel "*he who.*" Y mae yn wirionedd am Grist, ond bara sydd dan ystyriaeth. Yn yr adnod flaenorol gelwid ef yn "wir fara," yma yn "fara Duw." **Ac yn rhoddi bywyd i'r byd.** Ni allasai y manna ond cynal bywyd, a hyny am ysbaid byr. Ond y mae y "gwir fara," "bara Duw," yn rhoddi bywyd—yn ei gyfranu lle nid ydyw; ac os yw yn medru ei roddi, yn sicr y mae yn medru ei gynal, a'i gynal yn

i waered o'r nef, ac yn rhoddi bywyd i'r byd. Yna hwy 34
a ddywedasant wrtho, Arglwydd, dyro i ni y bara hwn yn
wastadol. A'r Iesu a ddywedodd wrthynt, Myfi yw bara 35
y bywyd. Yr hwn sydd yn dyfod attaf fi, ni newyna; a'r
hwn sydd yn credu ynof fi, ni sycheda un amser. Eithr 36

---

ddiddiwedd. Ac nid ymborth i Israel yn unig ydyw fel y manna, ond i'r byd mawr cyfan. Bara i bawb; bara sydd yn creu bywyd; bara sydd yn cynal bywyd yn ddiddiwedd: dyna fara yn wir, bara sydd yn llanw y drychfeddwl hyd ei ymylon.

CRIST YW Y GWIR FARA. ADN. 34—41.

**ADN. 34. Syr, dyro i ni y bara hwn yn wastadol.** Y mae ei ddesgrifiad o'r gwir fara wedi gwneyd argraph ar eu meddyliau—rhaid ei fod yn rhagori hyd yn nod ar y manna, a dymunant, nid yn wawdus, gael y bara hwn yn wastadol. Er hyny, gyda yr anianol yr arosai eu meddyliau—bara materol.

**ADN. 35. Myfi yw bara y bywyd.** Y mae symudiad yn mlaen yma yn yr ymresymiad. Yn yr adran flaenorol, hònai y gallai roddi iddynt y gwir fara; yma dywed mai Efe, yn ei berson, yw y bara. Rhoddwr bara yn yr adran flaenorol, y bara ei hunan yn yr adran hon. Y mae y "Myfi" yn bwysleisiol—yr Iesu ei hunan, ac nid yr athrawiaeth am dano. Gall yr athrawiaeth yn ei chyflawnder a'i huniongrededd drigo yn y deall, ac eto yr Iesu yn ei berson heb fod yn ymborth i'r enaid. Dywedir am ryw gyffyriau, megis alcohol, er eu derbyn i'r cylla, nad ydynt yn cael eu treulio ac yn myned yn rhan o'r cyfansoddiad. Felly er i'r athrawiaeth uniongred gael ei derbyn i'r deall, eto, os heb gyffyrddiad bywiol â'r Iesu trwy ffydd, nid yw yn myned yn rhan o'r natur. Ac yma y mae Cristionogaeth yn myned yn ddyfnach na phob cyfundrefn arall—gŵyr nad yw gwirionedd ddim yn ddigon i ddiwallu anghen dyn, person yn unig a all fod yn ymborth i berson. Duw, nid gwirionedd, a gyflenwa holl gynheddfau yr enaid. "Myfi yw Bara y Bywyd." Ac felly cywir y dywediad mai Crist yw Cristionogaeth—mae Crist yn fwy hanfodol iddi na'i hathrawiaethau. Gall Platoniaeth wneyd heb Plato, a Darwiniaeth heb Darwin: y mae gwerth y cyfundrefnau hyn yn gorphwys, nid ar y personau a'u dyfeisiasant, ond ar y gwirioneddau a gynwysant—gellir gwahanu, ac nid yn unig wahaniaethu, y gwirioneddau oddiwrth y personau, a bydd y gwirioneddau heb dderbyn dim niwaid. Ond nis gall Cristionogaeth wneyd heb Grist—Efe yw ei grefydd; nis gellir ei wahanu oddiwrth y gwirioneddau a ddysgodd, heb i'r gwirioneddau dderbyn *damage* andwyol. A dyna gyfeiliornad mawr Hegeliaeth—gwahanu gwirioneddau yr Efengyl oddiwrth Grist yr Efengyl, y drychfeddyliau oddiwrth y ffeithiau, yr athrawiaethau oddiwrth y Person. Ar wahân i Grist nid yw gwirioneddau Cristionogaeth yn wirioneddau mwyach. Efengyl o ffeithiau sydd yn y Test. Newydd, ac nid Efengyl o ddrychfeddyliau. Ond er fod yr Iesu yn galw ei hun yn Fara y Bywyd, nid yw yn unman yn galw ei hun yn Ddwfr y Bywyd. Y mae yn rhoddi y dwfr (iv. 14), ond nid Efe yw y dwfr, eithr yr Ysbryd

dywedais wrthych, i chwi fy ngweled, ac nad ydych yn
37 credu. Yr hyn oll y mae y Tad yn ei roddi i mi, a ddaw

---

(vii. 37—39). Nid oes dim yn hynotach na'r gwahaniaeth hwn sydd yn rhedeg trwy yr Ysgrythyr Lân: yr Iesu yn Fara, ond byth yn Ddwfr; a'r Ysbryd yn Ddwfr, ond byth yn Fara. **Yr hwn sydd yn dyfod ataf fi ni newyna; a'r hwn sydd yn credu ynof fi ni sycheda.** Iesu Grist fel Bwyd enaid yn gymaint â holl anghen dyn. Barna Godet fod gwahaniaeth ystyr rhwng y ddwy frawddeg hon, sef fod y "ni newyna" yn cyfeirio at y cryfdwr a dderbyn yr ewyllys, a'r "ni sycheda" at y dyddanwch a dderbyn y galon, trwy gredu; ond yr unig wahaniaeth y gellir yn gyfreithlawn ei wneyd yw, fod "dyfod" yn ffugyrol, a "chredu" yn ddiffugr. Hyd yn hyn newyn yn unig oedd y gydmariaeth, yma chwanegir syched. Bernir fod yma gyfeiriad, o bosibl, at Ex. xvii., lle, wedi i'r Israeliaid gael eu digoni a bara, y cwynent drachefn o eisieu dwfr.

**ADN. 36. Eithr dywedais wrthych, i chwi fy ngweled, ac nad ydych yn credu.** Hyd yma "ac" yw cysylltair mawr y bregeth, yn arwyddo fod gradd o gydnawsedd ysbryd rhwng y llefarwr a'r gwrandawyr; ond yn awr "eithr" yw y cysylltair—y mae y rhwyg yn dechreu yn yr adnod hon, ac yn cynyddu hyd y diwedd, nes myned yn agendor fawr. At ba ddywediad o'i eiddo y cyfeiria yr Iesu? (1) Barna Meyer mai cyfystyr ydyw y geiriau a phe y dywedasai, "Yr wyf am ddyweyd wrthych." (2) Tybia eraill mai at y wyrth yn nechreu y benod, pryd y gwelsant Ef a'u llygaid yn bendithio y bara: felly at adn. 26 y mae y cyfeiriad. (3) Ond y syniad mwyaf naturiol yw mai at ryw ddywediad o'i eiddo, yr hwn ni choffheir yn yr efengyl. Cyfeirir at y cyfryw ddywediadau yn x. 26; Act. xx. 35; 1 Ioan i. 5. Y meddwl, debygid, yw hyn: Yr ydych chwi yn gofyn am "weled" arwydd; yr ydych wedi fy ngweled i, y mwyaf o'r holl arwyddion; yr ydych wedi fy ngweled i yn cyflawni gwyrthiau a'm gwrandaw i yn egluro gwirioneddau teyrnas Dduw: ac eto nid ydych yn credu—y mae person y pregethwr a gwirioneddau ei bregethau wedi methu eich enill ato fel y caech fywyd. Yr Iesu ei hunan yw y wyrth fwyaf mewn hanesyddiaeth.

**ADN. 37.** Wedi cyfeirio at eu hanghrediniaeth, y mae yr Iesu megis yn aros am rai eiliadau mewn syn-fyfyrdod dwys; ac yna cysura ei hun yn ngwyneb anghrediniaeth ei wrandawyr gan wirionedd gwerthfawr ac arddunol yr adnod hon. Os gwrthodir Ef gan y bobl hyn, a ffaela amcan mawr ei anfoniad i'r byd? A dry trefn y cadw yn fethiant? Na; y mae dwyfol sicrwydd am lwyddiant ei waith fel Cyfryngwr. **Yr hyn y mae y Tad yn ei roddi i mi a ddaw ataf fi.** Cyrhaedda ben ei daith, fel y golyga y gair (*ēkō*)—a ddaw hyd ataf fi. Yr oedd ei wrandawyr presenol wedi cychwyn eu taith ato—yr oedd eu hosgo gyntaf yn yr iawn gyfeiriad; ond yr oedd arwyddion amlwg yr arosent cyn cyrhaedd pen eu taith, heb ddyfod hyd ato mewn gwirionedd. Ond er eu bod hwy yn dechreu tynu yn ol, yr oedd ochr ddwyfol i'r drefn, ac yr oedd yr ochr hono yn warantu llwyddiant. **A'r hwn a ddel ataf fi nis bwriaf ef allan ddim.** Y mae y Gymraeg fel y Groeg yn defnyddio dau air nacäol, "nis" a "dim," er gwneyd yr ymadrodd mor gryf ag sydd bosibl.

Nis gellir gwella ar sylwadau Bengel: "Gair gwir bwysig yw yr 'hyn oll' (*pân*), ac wrth gydmaru ag ef y pethau sydd yn canlyn y mae yn wir deilwng o ystyriaeth; canys, yn mhregethau Iesu Grist, yr hyn a roddodd y Tad i'w Fab a elwir yn 'hyn oll' *(omne)*, yn y rhif unigol a'r rhyw annhersonol *(neuter)*; y rhai a ddeuant at y Mab a ddesgrifir yn y rhyw wrywaidd, ac hyd yn nod y rhif luosog, 'pob un' (*omnis*) a 'hwynthwy' (*illi*). Y mae y Tad megis wedi rhoddi y cyfanswm i'r Mab, fel y bo yr oll a roddodd yn un corph (*unit*); y cyfanswm hwnw y mae y Mab yn ei dynu allan bob yn un ac un, yn ngweithiad allan y cynllun dwyfol. Hyn sydd yn cyfrif am yr ymadrodd yn xvii. 2, 'fel am y cwbl (*pân hŏ*) a roddaist ti iddo, y rhoddai Efe iddynt hwy (*aútŏîs*) fywyd tragwyddol.'"

Ond y mae cwestiwn duwinyddol o'r pwys mwyaf yn aros. Beth ydym i ddeall wrth fod y Tad yn "rhoddi" dynion i'r Mab? A ydyw yn weithred wahanol oddiwrth y "tynu" a'r "dysgu" yn adn. 44, 45? Ai gweithred wrthrychol ydyw rhwng y Tad a'r Mab, ac felly yn annibynol ar deimlad dyn, ynte gweithred dufewnol (*subjective*) yn mhrofiad y pechadur? (1) Myn mwyafrif mawr yr esbonwyr mai yr un a'r unrhyw weithred a ddynodir gan y tri gair, "rhoddi," "tynu," a "dysgu," y naill yn eglurhäol o'r llall, ac o ganlyniad nad oes gysylltiad achosol (*causal*) rhyngddynt â'u gilydd. Nid yw y gair cyntaf, "rhoddi," meddai Godet, yn cyfeirio dim mwy at fwriadau Duw na'r ddau olaf. (2) Dàlia dosbarth arall, canlynwyr Awstin a Chalfin, mai gwrthrychol yw y "rhoddi," ond mai tufewnol yw y "tynu." Mai dyna yr argraph gyntaf a edy y geiriau ar y meddwl sydd i ni yn ddiamheuol, a chrêdwn mai dyna yr eglurhâd cywir,—"rhoddi" yn achos, a'r "tynu" yn effaith. Ac nid eu rhoddi o un i un y mae y Tad, ond eu rhoddi yn un cyfanswm, "yr oll," a'u tynu bob yn un ac un. Rhoddwyd credinwyr pob oes—"yr oll"—i'r Mab gan y Tad; ond tynir hwy o un i un trwy holl oesoedd amser; a phan y gorphenir y gwaith, ceir fod y ddwy weithred, y "rhoddi" a'r "tynu," yn cyfateb i'w gilydd yn mhob dim. "A gwnaf i chwi fyned dan y wialen, a dygaf chwi i rwym y cyfamod" (cyd. Ezek. xx. 37 a Jer. xxxiii. 13),—yr un nifer yn myned yn ol i'r gorlan dan wialen y Bugail yn niwedd y byd ag a aeth allan o honi dan yr un wialen yn yr arfaeth foreu, heb ewin ar ol. Geilw Paul, ac Awstin a Chalfin ar ei ol, y "rhoddi" yn etholedigaeth, a'r "tynu" yn alwedigaeth effeithiol. Cynwys hyn fod Duw yn achub yn ol cynllun—gŵyr yn mlaen llaw nifer, maint, ac ansawdd y meini yn yr adeilad ysbrydol. Ac yma syrthia Crist yn ol ar gynllun neu arfaeth Duw; os na chrêd yr Iuddewon, rhaid er hyny i gynghor Duw sefyll—ni all yr Ymgnawdoliad a'r Iawn fyned yn ofer. "Yr hyn oll y mae y Tad yn ei roddi i mi." Rhoddi i'r Mab sydd yma, ac nid rhoddi i bechadur—rhoddi pechaduriaid i'r Mab, ac nid rhoddi teimladau da i bechadur; gweithred rhwng y Tad a'r Mab yw etholedigaeth, ac nid rhwng y Mab a'r pechadur. "A ddaw ataf fi,"—hyd ataf fi, i gyffyrddiad bywydol â fi. Arferir genym ddyweyd, ar ol Dr. Lewis Edwards, fod yr Iawn wedi gwneyd iachawdwriaeth pawb yn bosibl, ond ei fod wedi gwneyd iachawdwriaeth rhyw nifer mawr yn sicr. Ond y mae yr ymadrodd, er yn wir, yn rhy lydan ac anmhenodol i feddwl ymchwilgar allu gorphwys ynddo. Pwy yw y rhai y mae eu hiachawdwriaeth yn sicr yn rhinwedd yr Iawn? Y sawl a gredant. Felly nid yw y sicrwydd hwn yn dechreu hyd y foment y

attaf fi: a'r hwn a ddêl attaf fi, nis bwriaf ef allan ddim.
38 Canys myfi a ddisgynais o'r nef, nid i wneuthur fy ewyllys

---

credant—o hyny allan y mae eu hiachawdwriaeth yn sicr, gwirionedd a gredir yn ddiamheu yn ein plith. A dyna y gwahaniaeth hanfodol, ebe y Prifathraw D. Charles Davies (*Yr Iawn a'r Eiriolaeth*, pen. I.) rhwng Calfiniaeth ac Arminiaeth, sef fod y gyntaf yn dysgu sicrwydd bywyd tragwyddol o'r funyd y credir, tra nad yw yr olaf yn sicrhau cadwedigaeth dragwyddol hyd y foment y cyrhaeddir y nefoedd—y mae yn sicr oddiyno yn mlaen. Ond i ni y mae cwestiwn arall mwy anhawdd, ac yn achlysur mwy o aflonyddwch meddwl, sef, A oes sicrwydd y dygir pechaduriaid i gredu? Nid yw athrawiaeth yr Iawn yn ateb y gofyniad, o leiaf yn uniongyrchol; ac nid ydym yn cael y ddau brifathraw a enwasom, hyd y gwyddom ni, yn ei wynebu yn uniongyrchol a llawn yn eu hysgrifeniadau. (Gadawer i ni gyfeirio at yr erthygl ar Etholedigaeth yn y Gwyddioniadur gan y Prifathraw D. Charles Davies yn gystal ag at ei bregethau ar y pwngc hwn). Ond tybiwn y cawn ateb iddo yn athrawiaeth yr Etholedigaeth fel ei gosodir allan yn yr adnod hon. Y mae Etholedigaeth y Tad yn sicrhau y crêd tyrfa fawr nas gall neb ei rhifo yn y Mab; ac y mae Iawn y Mab yn sicrhau bywyd tragwyddol i bawb a gredant. Dyna ddysgeidiaeth yr adnodau hyn: gwaith y Tad yn sicrhau y cred pechaduriaid, a gwaith y Mab yn sicrhau y cedwir credinwyr. **A'r hwn a ddel ataf fi, nis bwriaf ef allan ddim**—allan o gylch bywyd tragwyddol. Dyma ochr dyn, lle y mae yr ewyllys ddynol mewn llawn weithrediad. Yn y rhan gyntaf yr ewyllys ddwyfol mewn anfeidrol râs sydd yn gweithredu, megis pe na bai ewyllys ddynol yn bod, ac felly siaredir am ddynion yn y rhyw anmhersonol; ond yn yr ail yr ewyllys ddynol sydd yn gweithredu fel pe na byddai ewyllys ddwyfol yn bod, ac felly siaredir am danynt yn y rhyw wrywaidd. Onibai am ewyllys rasol Duw ni fuasai yr un gallu i'n hachub; ac onibai am ryddewyllys dyn ni fuasai ynom ddim yn werth i'n hachub. Pa fodd i gysoni y ddau wirionedd sydd y tu hwnt i'n hamgyffred; ond eu bod yn gyson sydd yn ffaith a gadarnheir gan Ysgrythyr y tu allan a chan brofiad y tu fewn. Y mae yr hyn a ddysg Calfiniaeth am ewyllys Duw yn wirionedd; ac y mae yr hyn a ddysg Arminiaeth am ewyllys dyn yn wirionedd; ac y mae y ddau wirionedd yn cydsefyll yn y "Fi" sydd yn nwy ran yr adnod.

**ADN. 38. Canys myfi a ddaethum i lawr allan o'r nef.** Dywedir hyn bedair o weithiau, sef yn adn. 38, 50, 51, a 58. Ni ddefnyddir yr ymadrodd "dyfod i lawr" am yr Ymgnawdoliad ond yn y bregeth hon, ac yn iii. 13 ac Eph. iv. 9. Golyga yr ymadrodd ei fod i fynu cyn dyfod i lawr, yn rhaghanfodi yn y nef cyn ei ymddangosiad ar y ddaear. Onid ydoedd yn haeriad rhyfedd i'w wneuthur gan un oedd yn sefyll o'u blaen fel un o honynt eu hunain? Rhaid fod yma y ddoethineb uchaf neu yr ynfydrwydd penaf. Yr oedd ynddo ymwybyddiaeth fyw o'i gyn-hanfodiad. Nid fel y dysga Plato a'r bardd Wordsworth ein cyn-hanfodiad ni, rhywbeth niwliog, drychfeddyliol; ond cyn-hanfodiad byw, personol. A phan yr ymddangosodd yn y byd, teimlai mai dyfod i lawr a wnaeth, ac nid dyfod i fynu; disgyn ac nid esgyn. **Nid i wneuthur fy ewyllys fy**

fy hun, ond ewyllys yr hwn a'm hanfonodd. A hyn yw 39
ewyllys y Tad a'm hanfonodd i; o'r cwbl a roddes efe i
mi na chollwn ddim o hono, eithr bod i mi ei adgyfodi ef
yn y dydd diweddaf. A hyn yw ewyllys yr hwn a'm han- 40
fonodd i; cael o bob un a'r sydd yn gweled y Mab, ac yn

---

**hun, ond ewyllys yr hwn a'm hanfonodd.** Dyma reswm yr Iesu na wrthodai neb a ddelai—yr oedd eu dyfodiad ato yn ddangosiad o ewyllys y Tâd, a gwneyd yr ewyllys hono oedd amcan mawr ei fywyd.

ADN. 39. **A hyn yw ewyllys yr hwn a'm hanfonodd i.** Perthyn i'r adnod nesaf y mae y gair "Tâd." Gan fod y ddwy adnod yn dechreu gyda yr un frawddeg, camgymerodd llygad rhyw gopiwr y naill am y llall. **O'r cwbl a roddes Efe i mi na chollwn ddim o hono.** Sylwer mai yr un gair yw y "cwbl" yma a'r "oll" yn adn. 37, ac yn dynodi y saint fel un cyfangorph. Felly, yn lle dywedyd na chollai yr "un" o honynt, dywed na chollai "ddim" o hono,—dim o'r cyfanswm. Y mae yr ewyllys i gael ei gwneyd i gyd heb un iod na thipyn ar ol, cyfanswm yr iachawdwriaeth yn ei gweithiad allan i hollol gyfateb i gyfanswm yr iachawdwriaeth yn ei chynlluniad. Ond y mae peidio colli dim o'r cyfanswm yn cynwys peidio gwrthod neb a ddaw. Y mae sicrwydd am bob un a roddwyd i Grist yn yr arfaeth y daw at Grist mewn amser, h.y. sicrwydd y crêd: dyna ddysgeidiaeth adn. 37. Ac y mae sicrwydd y cyrhaedda pob un a grêd fywyd tragwyddol: dyna ddysgeidiaeth yr adnod hon. Gwelir, gan hyny, fod y gwirioneddau yn dolenu yn dŷn yn eu gilydd. **Eithr bod i mi ei adgyfodi Ef y dydd diweddaf.** Cawn yr ymadrodd "y dydd diweddaf" saith waith yn yr efengyl hon, ond dim unwaith mewn unrhyw ran arall o'r Ysgrythyr. Ymresyma Reuss, gan mai ysgrifenydd cyfriniol oedd Ioan, nas gall gyfeirio at adgyfodiad y corph yn niwedd y byd; ond yr unig beth a brofa Reuss i foddlonrwydd yw, nad yw duwinyddiaeth gyfriniol yr efengyl hon o'r un nodwedd ag y dychymyga efe y dylasai duwinyddiaeth gyfriniol fod. Ond pa gysylltiad sydd rhwng adgyfodiad y corph a Bara y Bywyd? Y cysylltiad dyfnaf ac agosaf. Ar un llaw, dymuna yr Athraw i'r bobl ddeall yn eglur nad oedd Efe yn addaw i'w ddilynwyr ddihangfa rhag marwolaeth naturiol; pe felly, dilynasai yr holl fyd Ef, nid oblegid y bendithion ysbrydol, ond oblegid y bendithion tymhorol, a gawsid trwyddo. Ar y llaw arall, hòna ei fod Ef yn rhoddi bywyd llawn a thragwyddol i bawb a gredant. Ond y mae credinwyr yn marw, ac onid ydyw hyny yn profi fod marwolaeth yn drech na bywyd? Na, meddai yr Iesu, y mae Duw yn ymddiried i mi eu hadgyfodi yn y dydd diweddaf; y mae bywyd cryfach na'r bedd ynof fi i'w roddi i bawb a gredant. Nid Angeu ond Bywyd, nid y Felldith ond y Fendith, a enilla y fuddugoliaeth.

ADN. 40. **Canys hyn yw ewyllys y Tad.** Yma yw lle y "Tad," i gyfateb i'r Mab. Beth yw y gwahaniaeth rhwng yr ewyllys yn yr adnod hon ac yn yr adnod flaenorol? Yno yr ewyllys yn ei pherthynas â'r cyfanswm; yma yn ei pherthynas â'r unigolion. **Cael o bob un sydd yn gweled y Mab, ac yn credu ynddo Ef, fywyd tragwyddol.** Y "cwbl"

credu ynddo ef, fywyd tragywyddol: a myfi a'i hadgyfodaf
41 ef yn y dydd diweddaf. Yna yr Iuddewon a rwgnachasant
yn ei erbyn ef, o herwydd iddo ddywedyd, Myfi yw y bara
42 a ddaeth i waered o'r nef. A hwy a ddywedasant, Onid
hwn yw Iesu mab Joseph, tad a mam yr hwn a adwaenom
ni? pa fodd gan hyny y mae efe yn dywedyd, o'r nef y

---

neu yr "oll" yw y gair yn adn. 39, lle yr edrychir ar ddynion o safle yr arfaeth, yn annibynol ar eu hewyllysiau eu hunain. Yma "pob un," oblegid y mae yr ewyllys sydd yn cyfansoddi personoliaeth yn gweithredu. Defnyddir gair cryfach yma am "weled" (*thĕōrōn*) nag yn adn. 36 (*hŏrân*),—gair sydd yn golygu edrych yn feddylgar ar y Mab, a myfyrio ar yr hyn a wêl. Pwy bynag sydd yn edrych felly, ac yn credu, a gaiff fywyd tragwyddol. Ond pa fodd pan y mae y credadyn fel yr anghredadyn yn ddarostyngedig i farwolaeth y corph? Y mae y frawddeg nesaf yn ateb. **Myfi a'i hadgyfodaf ef yn y dydd diweddaf.** Y mae y "Myfi" yn galw am bwyslais arbenig. Bydd i Fara y Bywyd, ond ymborthi arno, brofi yn gryfach nag Angeu a'r Bedd. Honiadau digyffelyb.

CNAWD CRIST YN WIR FARA. ADN. 41–51.

**ADN. 41. Am hyny yr Iuddewon a rwgnachasant yn ei gylch Ef.** Y swyddogion crefyddol, yn cael eu chwerwi yn ddiau gan yr ysbiwyr a anfonodd eu cyfathrach o Jerusalem i wylied yr Iesu fel y gallent ei gyhuddo Ef (Marc iii. 2). Ond diau fod "grwgnach" yr Iuddewon yn rhoddi datganiad i'r teimlad hunan-gyfiawn a lechai yn mynwesau y Galileaid hefyd. Nid yw y gair am "rwgnach" (*gŏggízō*) ynddo ei hun yn golygu anghymeradwyaeth; ond dengys y cyd-destyn mai yn yr ystyr yna y rhaid ei ddeall yma. Yr oedd honiadau yr Iesu mor anghydmarol uchel fel y cyffrowyd eu holl natur, a throent y naill at y llall gan sibrwd wrth eu gilydd nes fod eu swn fel trydar gwenyn neu furmur afon. **Oherwydd iddo ddywedyd, Myfi yw y bara a ddaeth i waered o'r nef.** Ni lefarodd yr Iesu y frawddeg yn y ffurf hon; eto llefarodd ei chynwys, fel y gwelir wrth gydmaru adn. 33, 35, a 38. Hawliai yr Iesu ei fod Ef wedi disgyn o'r nef, yr hyn a barai i'r "Iuddewon" wrthddadleu gyda chwerwder. Sefydlent eu meddyliau ar yr hyn oedd ddyrys er mwyn taflu anfri ar yr hyn oedd eglur—dull o ymresymu ag sydd bob amser yn ddinystriol.

**ADN. 42. Onid hwn yw Iesu, mab Joseph, tad a mam yr hwn a adwaenom ni?** Y mae y "ni" yn bwysleisiol. Nid yw hyn o angenrheidrwydd yn cynwys adnabyddiaeth bersonol, er fod hyny yn bosibl; ond gwyddent yr hanes, yr oeddynt wedi chwilio i mewn i'r achau. **Pa fodd yn awr y mae Efe yn dywedyd, o'r nef y daethum i lawr?** Ni allent ddeall pa fodd yr oedd gwr ag oedd ei achyddiaeth ddaearol yn adnabyddus, yn awr yn olrhain ei achyddiaeth i'r nefoedd. Cofier na wyddent am yr Enedigaeth wyrthiol: yr oedd hyn yn ddirgelwch rhy gysegredig i'w gyhoeddi ar benau tai tra yr oedd Mair yn fyw; ac yn ei ateb nid yw yr Iesu yn gwneyd un cyfeiriad at ei genhedliad yn mru y Wyryf, rhag iddo, fel y dywed Euthymius, wrth symud un maen tram-

disgynais? Yna yr Iesu a attebodd ac a ddywedodd 43
wrthynt, Na furmurwch wrth eich gilydd. Ni ddichon neb 44
ddyfod attaf fi, oddi eithr i'r Tad, yr hwn a'm hanfonodd,
ei dynnu ef: a myfi a'i hadgyfodaf ef y dydd diweddaf.

---

gwydd greu maen arall mwy. Pe disgynasai yr Iesu o'r nef mewn cwmwl, hwy a'i derbyniasent; ond gan iddo ddyfod mewn dynoliaeth, ni fynent ei groesawi. Ond pa un sydd fwyaf anrhydeddus, tarth awyrawl ynte y natur ddynol? Mor ddall yw dynion i ogoniant eu natur eu hunain.

**ADN. 43. Na furmurwch wrthych eich hunain.** Tybia rhai mai galw am osteg y mae, heb ddeall y sibrwd cydrhyngddynt. Ond yr ydym wedi cael gormod o brofion eisoes fod yr Iesu yn deall eu meddyliau. Y mae y geiriau yn gweinyddu cerydd yn gystal ag yn galw am osteg.

**ADN. 44. Ni ddichon neb ddyfod ataf fi, oddieithr i'r Tad yr hwn a'm hanfonodd i ei dynu ef.** Fel pe dywedasai, Yr ydych chwi yn ffaelu deall fy hòniadau uchel i; ni ddeallwch mohonynt heb daflu eich calonau yn agored i'r dylanwadau dwyfol. Nid diffyg eglurder o'm tu i yw yr achos o'r cam-ddealltwriaeth rhyngom, ond diffyg cydymdeimlad â'r ysbrydol o'ch tu chwi. Y mae yr Iesu wedi llefaru yr un gwirionedd mewn ffordd gadarnhaol yn adn. 37: llefara ef yma mewn ffordd nacäol; ac y mae y nacäol yn ychwanegiad at y cadarnhaol. Nid yn unig Duw yw yr achos fod dynion yn dyfod at Grist, ond Efe yw yr unig achos, ac nis gellir cynyrchu yr effaith gan un achos arall,—gan na dysg, na gwrteithiad, na dygiad i fyny. "Ni ddichon neb ddyfod ataf fi"—neb, fel y dysga Calfin, yn gyfangwbl yn ei nerth ei hun. Ond nid anallu naturiol neu feddyliol mohono, ond anallu moesol; nid anallu yn y cynheddfau, ond gwrthnysigrwydd yn yr ewyllys. "Oddieithr i'r Tad yr hwn a'm hanfonodd i ei dynu ef." Y mae yr "anfon" a'r "tynu" ar gyfer eu gilydd—"anfon" y Ceidwad at bechadur, "tynu" y pechadur at y Ceidwad: rhaid wrth y ddau i sicrhau iachawdwriaeth neb. Ond beth a olygir wrth "dynu" y pechadur at Grist? Credwn ni, yn groes i luaws o esbonwyr o fri, fod gwahaniaeth rhwng y "rhoddi" yn adn. 37, a'r "tynu" yn yr adnod hon. Am fod Duw yn eu rhoddi i'w Fab mewn arfaeth y mae yn eu tynu mewn bywyd; onite ni fuasai y "rhoddi" ond drychfeddwl yn unig heb un weithred gyfatebol mewn hanes. Ond pa fodd y mae y Tad yn tynu? Diau fod Duw trwy ei Ysbryd yn dylanwadu mewn ffordd naturiol ar ddynion yn mhlaid daioni—goleuni natur oddi-allan yn cyfarfod a goleuni rheswm a chydwybod oddifewn; ond y mae yn amlwg mai at y "tynu" gan Dduw yn ffordd ei râs y cyfeirir yma, ac y mae ffordd ei râs bob amser yn ffordd oruwchnaturiol. (1) Tŷn trwy ordinhadau yr Efengyl a phregethiad neu ddarlleniad o'r Ysgrythyr. Y mae gan wirionedd ynddo ei hun ryw atdyniad i'r deall; eithr nid digon i dynu dyn allan o'i bechod (iii. 18—22). Y mae atdyniad ei ewyllys at bechod yn gryfach nag atdyniad ei ddeall at wirionedd. (2) Tŷn hefyd trwy arddangosiad o gariad hunan-aberthol yr Arglwydd Iesu. "A minau, os derchefir fi oddiar y ddaear, a dynaf"—yr un gair ag yn yr adnod

45 Y mae yn ysgrifenedig yn y prophwydi, A phawb a fyddant wedi eu dysgu gan Dduw. Pob un gan hynny a glyw-

---

dan sylw—"bawb ataf fy hun" (xii. 32). Dios fod atdyniad y Groes yn gryf, ac eto y mae y ffaith o flaen ein llygaid nad yw yn tỳnu pawb sydd yn gwybod am dani at yr Iesu. (3) Y mae yn canlyn fod yn rhaid wrth ryw allu cryfach na gallu deallol gwirionedd, ac na gallu moesol hunanaberthiad, sef gallu ysbrydol y Trydydd Person. Nid yw Crist yn dyweyd yma pa fodd y mae y Tad yn tynu, ond yn unig yn crybwyll y ffaith; ond dysga mewn man arall ei fod yn tynu, nid yn unig trwy y gwirionedd, ond trwy Ysbryd y Gwirionedd. Arferir trais sanctaidd, ond trais er hyny sydd yn hollol gyson a rhyddid ewyllys dyn. Yn unol a hyn defnyddir y gair yma am "dynu" am dynu mèn, tynu cleddyf, tynu rhwyd, a "llusgo" carcharor i'r gell. Y mae defnyddiad arferol y gair yn ddiamheu yn awgrymu rhyw gymaint o *force* i orchfygu yr anhawsderau ar y ffordd,—nid *force* anianyddol, ond y fath *force* ag y medr Ysbryd ei arfer ar ysbryd (xviii. 10; xxi. 6, 11; Act. xvi. 19). Y mae gan Dduw ffordd trwy ei Ysbryd i ddylanwadu ar yr ewyllys yn ei gwraidd, a'i throi, heb ei hamddifadu o'r rhyddid sydd yn hanfodol iddi. Dyma yr hyn a elwir yn "alwad effeithiol." Ond a ydym i ddeall fod y "tynu" yn anorchfygol? A all dyn wrthwynebu y dylanwadau dirgelaidd hyn yn llwyddianus? Y mae "tynu" ag y gall dynion yn ddiau ei wrthwynebu; ond rhaid fod y "tynu" y cyfeiria yr Iesu ato yma yn anorchfygol, onite ni fuasai sicrwydd yn y "rhoddi" na'r "tynu." Gwirionedd mawr yr adnodau hyn yw—sicrwydd digrỳn yr Iesu nad aiff ei waith yn ofer. Ond os oes ansicrwydd am effeithiau y "tynu," y mae ansicrwydd yn y weithred o "roddi"—ac felly ansicrwydd am iachawdwriaeth neb pwy bynag. Teimlwn, gan hyny, nas gallwn osgoi yr athrawiaeth o râs anorchfygol (*irresistible grace*).

**ADN. 45. Y mae yn ysgrifenedig yn y prophwydi.** Dosrenid yr H.D. yn dair rhan: y Gyfraith, y Prophwydi, a'r Salmau. Cyfeiriad sydd yma at yr ail ran, gyda golwg arbenig ar Is. liv. 13, Jer. xxxi. 13, a Joel iii. 1. Tybia Godet mai y rhan hon o Esaiah oedd llith y dydd yn y Synagog (cyd. Luc iv. 16, 17). **A phawb a fyddant wedi eu dysgu gan Dduw.** Yn y "pawb" cynwysir holl ddeiliaid y deyrnas Fessianaidd. Gan hyny, y mae y "pawb" yn ogyfled a'r "oll" neu y "cwbl" a roddodd y Tad i'r Mab. Felly y mae y "dysgu" yma yn gyfystyr â "thynu" yr adnod flaenorol,—tynu trwy ddysgu. Eithr disgyn y pwyslais nid ar y gair "dysgu" ond ar y gair "Duw"—bydd pawb wedi eu dysgu, nid gan eu gilydd, ond gan Dduw. Pa fodd y mae Duw yn dysgu? Y mae yn amlwg y golygir mwy na'r datguddiad a roddodd o hono ei hun yn yr Ysgrythyrau, canys yr oedd y rhai hyny yn feddiant cyffredin; ac eto nid oedd yr Iuddewon wedi eu dysgu gan Dduw. Beth ynte sydd yn gynwysedig ynddo? Diau y golyga weithrediad uniongyrchol *ar* yr enaid yn gyntaf, ac *yn* yr enaid wedi'n. Cawn gysgod egwan yn null athraw dynol llwyddianus o ddysgu. Yn gyntaf, rhydd lyfr i'r efrydydd yn cynwys yn y ffurf egluraf y gwirioneddau sydd i'w dysgu; po berffeithiaf y llyfr, goreu oll. Yn nesaf, cymer afael yn nghyneddfau meddwl yr efrydydd, meddylia ynddo hyd y gall, tafl belydryn ar ol pelydryn o oleuni i mewn i'w feddwl, ymdrecha ei agor a'i

odd gan y Tad, ac a ddysgodd, sydd yn dyfod attaf fi.
Nid o herwydd gweled o neb y Tad, ond yr hwn 46
sydd o Dduw; efe a welodd y Tad. Yn wir, yn wir, 47

---

ddadblygu, nes o'r diwedd y daw yr efrydydd yn ddigon cryf i afael, a dal gafael, yn y gwirionedd drosto ei hun. Yn gyffelyb y mae dwy elfen yn nysgeidiaeth Duw. Yn gyntaf, gwirionedd datguddiedig yn yr Ysgrythyr,—goleuni pur a gwŷn y tu allan. Ond nid yw goleuni allanol yn tycio dim i ddyn dall. Am hyny, rhaid wrth yr ail elfen—Ysbryd y Gwirionedd yn gweithio ar ac yn yr enaid, yn agor llygaid y meddwl, yn bywiocau y deall, ac felly yn oleuni tufewnol. "Datguddia fy llygaid fel y gwelwyf bethau rhyfedd allan o'th gyfraith di": datguddiad y llygaid yw y datguddiad tu fewnol, y gyfraith yw y datguddiad allanol; a chydgyfarfyddiad o'r ddau yw troedigaeth pechadur. Rhydd rhai yr holl bwys ar weithrediad yr Ysbryd yn y Beibl; dadleuant mai yr oll sydd yn angenrheidiol er credu yw *moral suasion*—datganiad teg a llawn o'r gwirionedd. Dyry eraill, megis y Cyfrinwyr a'r Crynwyr, yr holl bwyslais ar y goleuni tufewnol (*the inner light*), gan i raddau ddarostwng yr ordinhadau a gweinidogaeth yr efengyl. Ond dysga y Beibl yr angenrheidrwydd am y ddau. **Pob un a glywodd gan y Tad ac a ddysgodd, sydd yn dyfod ataf fi**. Gadawer "gan hyny" allan, canys er fod y gair yn dygwydd yn fynych yn y rhanau hanesyddol, ni ddefnyddir ef ond anaml yn mhregethau yr Iesu—gwneyd *declaration* oedd ei waith Ef, nid adeiladu ymresymiad. "Clywed gan y Tad": dyna yr elfen gyntaf, goleuni oddiuchod ac nid o'r tu fewn; goleuni goruwchnaturiol yn disgyn ar y meddwl. "Ac a ddysgodd": dyna yr ail elfen, yr ewyllys wedi ei phlygu ac yn derbyn y goleuni yn y cariad o hono. Y mae y goruwchnaturiol felly yn ddyblyg—yn allanol ac yn dufewnol; a'r bobl hyn, a'r bobl hyn yn unig, sydd yn dyfod at Grist.

**ADN. 46. Nid o herwydd gweled o neb y Tad.** Dygir y geiriau hyn i mewn i rwystro unrhyw gamargraph oddiwrth yr adnod flaenorol. Er fod pawb dan yr oruchwyliaeth hon yn cael eu dysgu gan Dduw, eto nid cymundeb uniongyrchol a digyfrwng ydyw, ond trwy Grist fel Cyfryngwr. Hyd yn nod yr Ysbryd, Ysbryd Crist ydyw. "Clywed" sydd yn yr adnod flaenorol, "gweled" sydd yn hon—ffordd fwy uniongyrchol o wybod. Nid yw y "dysgu" neu y cymundeb rhwng dyn a Duw, cyn credu neu ar ol credu, yn ddigyfrwng—nid ydyw yn "weled"; yn hytrach "clywed" ydyw—dysgu trwy gyfryngau. Ond y mae gwybodaeth trwy gyfryngau yn rhagdybied gwybodaeth ddigyfrwng; y mae y "clywed" yn dibynu ar ryw "weled," ac y mae Un wedi "gweled" Duw, ac felly yn meddu gwybodaeth uniongyrchol, ddigyfrwng o hono. **Ond yr hwn sydd o Dduw.** Y mae yr arddodiad "o" yn dibynu ar y ferf "sydd"—bod o Dduw. Dywedir am Ioan ei fod wedi ei "anfon oddiwrth (*pará*) Dduw"; ond am yr Iesu ei fod yn "bod oddiwrth (*para*) Dduw"—ymadrodd rhy gryf i'w gymhwyso at neb creadigol. Derbyn yr Iesu, nid yn unig ei genadwri, ond hefyd ei fôd, o Dduw. Ni allasai neb, nad oedd ond dyn, wneyd y fath haeriad. **Efe a welodd y Tad.** Nid gwybodaeth ail-law yw ei wybodaeth Ef, trwy "glywed"; ond gwybodaeth wreiddiol, ddigyfrwng, trwy "weled"; ac felly rhaid i'w

meddaf i chwi, Yr hwn sydd yn credu ynof fi, sydd
48 ganddo fywyd tragywyddol. Myfi yw bara y bywyd.
49 Eich tadau chwi a fwyttasant y manna yn yr anial-
50 wch, ac a fuont feirw. Hwn yw y bara sydd yn dyfod
i waered o'r nef, fel y bwyttâo dyn o hono, ac na byddo
51 marw. Myfi yw y bara bywiol, yr hwn a ddaeth i waered

---

"weled" Ef fod yn sylfaen "clywed" pawb eraill. Efe yw yr unig un sydd yn meddu adnabyddiaeth o Dduw yn annibynol ar dystiolaeth allanol.

ADN. 47. **Yr hwn sydd yn credu ynof fi sydd ganddo fywyd tragwyddol.** Y mae ffydd yn dwyn Crist a'r credadyn i undeb mor agos â'u gilydd fel mai yr un egwyddor o fywyd sydd yn y naill a'r llall – bywyd Crist yw bywyd y credadyn; nid dau fywyd ond un. Un yw bywyd y ddynoliaeth, er maint nifer y personau dynol; felly un yw y bywyd tragwyddol, er maint nifer y credinwyr.

ADN. 48. **Myfi yw bara y bywyd.** Wedi egluro i'r Iuddewon achos eu hanghrediniaeth, sef anghydnawsedd â'r dwyfol, dychwela yr Arglwydd Iesu yn yr adnod hon at brif fater ei bregeth. Dyma yr ail waith iddo adrodd y geiriau hyn, yr hyn a ddengys eu pwysigrwydd; ond ailadroddir hwynt i amcan pellach. Hyd yma y bara yw y mater, a bywyd yw y briodoledd –bara y *subject*, a bywyd y *predicate;* ond dengys y paragraph sydd yn dilyn fod y ddau yn newid eu lle. O hyn yn mlaen bywyd yw y mater a'r bara yw y briodoledd –bywyd yw y *subject*, a bara yw y *predicate*.

ADN. 49. **Eich tadau chwi a fwytasant y manna yn yr anialwch, ac a fuont feirw.** Nid oedd y manna yn medru cynal bywyd lle yr oedd, llawer llai ei roddi lle nad oedd. Y mae y drychfeddwl o fywyd yn dyfod i'r ffrynt yn awr,—y bywyd yn cymeryd lle y bwyd.

ADN. 50. **Hwn yw y bara sydd yn dyfod i waered o'r nef.** Pan yn llefaru am ddisgyniad y bara fel ffaith hanesyddol, defnyddia yr amser perffaith; ond pan yn llefaru am dano yn ei effeithiau bywhäol a pharhäol, defnyddia yr amser presenol. **Fel y bwytäo dyn o hono, ac na byddo marw.** Rhaid fod marw yn yr adnod hon, meddai Godet, yn meddwl yr un peth a marw yn yr adnod flaenorol, sef marw naturiol; ac felly nad yw marwolaeth y credadyn yn farwolaeth naturiol o gwbl. Ond pa les taraw pen yn erbyn synwyr cyffredin? Y meddwl yw fod y bywyd sydd yn dyfod yn eiddo dyn trwy ymborthi ar Fara y Bywyd yn sicr yn y diwedd o enill goruchafiaeth ar farwolaeth naturiol. Yn nheyrnas natur y mae angeu yn drech na bywyd; ond yn nheyrnas grâs bydd i fywyd brofi ei hun yn gryfach nag angeu. Byw—marw, yw hi yn y naill; marw—byw, yw hi yn y llall: a diwedd rhyfel, nid ei ddechreu, sydd yn dangos i ba ochr y perthyn y fuddugoliaeth.

ADN. 51. **Myfi yw y bara bywiol, yr hwn a ddaeth i waered o'r nef.** Defnyddir yr amser perffaith, gan y cyfeiria at ei ddisgyniad o'r nef yn yr Ymgnawdoliad—ffaith hanesyddol yn y gorphenol.

o'r nef. Os bwytty neb o'r bara hwn, efe a fydd byw yn
dragywydd. A'r bara a roddaf fi, yw fy nghnawd i, yr
hwn a roddaf fi dros fywyd y byd. Yna yr Iuddewon a ym- 52

---

Ac y mae hòni ei fod yn Fara Bywiol yn fwy na hòni ei fod yn Fara y Bywyd. Wrth Fara y Bywyd y meddylir bara sydd yn medru cyfranu a chynal bywyd; ond wrth Fara Bywiol y meddylir bara sydd a bywyd yn briodoledd iddo, ac felly yn hanfodol iddo.. Y mae yn meddu bywyd ynddo ei hunan. Gallasai gyfranu bywyd heb feddu bywyd, yn rhinwedd ordeiniad dwyfol; ond y mae y bara hwn yn feddiannol ar fywyd, ac felly yn meddu cyfaddasder cynhenid yn gystal ag ordeiniad dwyfol i gyfranu bywyd. Gall yr ordinhad o bregethu, yn rhinwedd appwyntiad Duw, fod yn gyfrwng i gyfranu bywyd—y mae pregethwyr annuwiol wedi bod yn foddion achubiaeth i eraill cyn hyn. Nid yw bywyd yn briodoledd hanfodol i'r ordinhâd—appwyntiad ydyw, nid meddiant. Eithr nid felly Crist: y mae bywyd yn briodoledd hanfodol ynddo. "Myfi yw y bara byw." **Os bwyti neb o'r bara hwn**—"hwn" yn bwysleisiol—**efe a fydd byw yn dragywydd**, nid yn unig trwy ordeiniad dwyfol, ond trwy gyfaddasder gwreiddiol. **A'r bara a roddaf fi**—y "fi" yn bwysleisiol i ddwyn allan y cyferbyniad rhyngddo Ef a Moses—**yw fy nghnawd i, yr hwn a roddaf fi dros fywyd y byd**. Fan hyn y mae yr adran hon yn cyrhaedd ei huchafnod. Y mae dau gysylltair (*kaì . . . dĕ*) yn y gwreiddiol er mwyn rhoddi arbenigrwydd ar y frawddeg. Ni ellir, feallai, gyfleu yr ystyr yn gywirach yn y Gymraeg nag fel hyn, "ïe, a'r bara a roddaf fi iddo," &c. Y mae amrywiaeth barn yn mhlith y beirniaid a ddylasai "a roddaf fi" yn y frawddeg olaf fod i mewn. Gadewir hwy allan yn y Cyf. Diw.; ond dadleua Meyer a Godet yn gryf dros eu cadw i mewn. Teimlwn fod grym yn eu dadl. Hyd yma gesyd yr Iesu ei berson allan fel bara y bywyd, heb ddeffinio dim ar ei berson; yn awr dengys mai ei berson fel yn feddiannol ar "gnawd"—y natur ddynol—yw y bara. Fel person dwyfol yn yr Hanfod dragwyddol nis gallasai fod yn fara bywiol i bechadur. Rhaid oedd iddo wisgo cnawd; ac nid yn unig hyny, ond "rhoddi ei gnawd dros fywyd y byd." Yn y geiriau hyn cawn y drychfeddwl o aberth, yr hwn a ddadblygir ganddo yn yr adran ddilynol. Mỳn Westcott mai yr Ymgnawdoliad a feddylir, ac y mae ei olygiad yn gydnaws â drychfeddwl llywodraethol yr eglwys i'r hon y perthyna, lle y mae athrawiaeth yr Ymgnawdoliad i raddau helaeth yn cymeryd lle athrawiaeth yr Iawn fel athrawiaeth ganolog yr Efengyl. Ond y mae amser dyfodol y ferf yn milwrio yn erbyn y syniad; ac y mae cryfder yr ymadrodd, pa un ai y cyfieithiad arferol ynte y Cyf. Diw. a fabwysiedir, yn fwy desgrifiadol o'i farwolaeth nag o'i enedigaeth. Nid rhoddi ei gnawd yn lle (*pĕrì*), ond dros (*hupĕr*) fywyd. Y mae adranau eraill yn profi i Grist farw yn lle dynion; ond yma marw o'u plaid, er eu mwyn. Yr oedd gŵyl y Pasg yn ymyl; yn mhen ychydig ddyddiau byddai ei wrandawyr yn bwyta cnawd oen y Pasg; y Pasg ar ol hwn byddai yntau, Oen Duw, yn rhoddi ei gnawd dros fywyd y byd.

## CNAWD A GWAED CRIST YN FWYD. ADN. 52—59.

Nid yn mhlith ei wrandawyr ar y pryd yn unig y mae y geiriau hyn wedi peri ymryson, ond yn mhlith duwinyddion pob oes o hyny hyd yn awr. (1) Mŷn rhai megis Tertullian, Clement o Alexandria, ac Origen yn mhlith y Tadau; Luther, Melancthon, a Tholuck yn mhlith y Lutheriaid; Calfin, Zuingluis, Grotius, ac Owen yn mhlith yr Eglwysi Diwygiedig; De Wette ac eraill yn mhlith yr esbonwyr anghrediniol: nad oes yma gyfeiriad o gwbl at Swper yr Arglwydd. Ond o braidd y gallwn fabwysiadu y golygiad hwn. Mae y naill frawddeg ar ol y llall mor gymhwysiadol at Sacrament y Swper fel nas gallwn gredu mai damwain ydyw. Nid yw yr wrthddadl nad oedd y Swper wedi ei sefydlu yr amser hwn yn tycio dim; nid oedd ond blwyddyn i fyned heibio cyn iddo gael ei sefydlu, a dilys ei fod yn meddwl yr Iesu y Pasg hwn. Nid oedd ordinhâd y bedydd wedi ei sefydlu pan y llefarwyd y drydedd benod, ac eto gwelsom fod gwirioneddau sylfaenol yr ordinhâd yn bresenol ynddi. Nid oedd tywalltiad yr Ysbryd Glân ar ddydd y Pentecost wedi cymeryd lle pan y llefarwyd vii. 38, 39, ac eto esbonia yr Efengylwr mai at ddygwyddiadau y diwrnod hwnw a'r oruchwyliaeth ddilynol y cyfeirir. Felly nid yr unig gwestiwn ydyw, Beth oedd y gwrandawyr yn ddeall? ond Beth oedd yr Iesu yn feddwl? canys llefarai wrth holl oesau yr eglwys. (2) Dàl eraill mai at Sacrament y Swper y cyfeiria yn uniongyrchol, gan gau allan bob cyfeiriad arall. Dyma y syniad a fabwysiedir gan Chrysostom, Cyril, a Theophylact yn mhlith y Tadau; a chan gorph duwinyddion Eglwys Rhufain, un o ba rai, Cardinal Wiseman, a ysgrifenodd esboniad galluog ar y benod hon. Nid yw y golygiad hwn yn nodweddu unrhyw eglwys neillduol, canys cawn fod dysgedigion o bob Eglwys yn ei ategu, er nad gyda yr un aiddgarwch a dysgedigion yr Eglwys Babaidd. Ar yr un pryd nis gallwn ni ei dderbyn yn y ffurf eithafol hon am y rhesymau canlynol. (*a*) Cnawd a Gwaed yw y geiriau yma, tra mai Corph a Gwaed a ddefnyddir yn sefydliad y Swper (Matt. xxvi. 26—28). Golyga y term Corph fywyd organaidd, cydgyfarfyddiad gwahanol aelodau yn eu cymal cynhaliaeth, ac felly y mae yn ddangoseg o undeb—cymun, cymundeb—y saint â'u gilydd ac â Christ, Ond nid yw y gair Cnawd yn cynwys y syniad yna, ond yn hytrach gymundeb y saint â Christ fel unigolion, ac nid fel cyd-aelodau o'i gorph dirgeledig Ef. (*b*) Pe buasai y Swper eisoes wedi ei sefydlu, buasai cyfeiriad uniongyrchol ato yn ddigon naturiol; ond gan nad ydoedd, nid priodol casglu fod y cyfeiriad yn hollol neu yn benaf ato. Yn mhob paragraph gesyd yr Iesu ei hunan allan fel y "Myfi" ag oedd yn cynwys ynddo ei hun y Cnawd a'r Gwaed. Y mae bwyta y cnawd ac yfed y gwaed yr un peth a'i fwyta a'i yfed Ef; gan hyny, nid bwyta ac yfed yn faterol yn y Sacrament a feddylir, ond yfed a bwyta â'r meddwl trwy ffydd. (*c*) Gosodir y bwyta a'r yfed allan, nid yn y dyfodol, ond yn y presenol; dynodant weithredoedd ag y medrai ei wrandwyr eu cyflawni ar y pryd; ac nid yn unig hyny, ond gosodir hwy allan fel amodau hanfodol bywyd tragwyddol. A ellir dywedyd hyny am Sacrament y Swper? Y mae adn. 29 a 35 yn gwneyd credu yn amod angenrheidiol bywyd; ar y llaw arall, y mae adn. 53 yn gwneyd bwyta y Cnawd ac yfed y Gwaed yn amod angenrheidiol; casglwn, gan hyny, mai yr un weithred a feddylir yn y ddau ymadrodd—ymborthi ar Grist trwy ffydd. Crêd, medd Awstin, ac yr ydwyt wedi bwyta. Gwrthddadleu Calfin, y mae yn wir, gan wneuuthur

rysonasant â'u gilydd, gan ddywedyd, Pa fodd y dichon
hwn roddi i ni *ei* gnawd i'*w* fwytta? Yna yr Iesu a ddywed- 53
odd wrthynt, Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, Oni fwyttê-
wch gnawd Mab y dyn, ac *oni* yfwch ei waed ef, nid oes

---

bwyta yn ganlyniad credu; ond ymddengys i ni ei fod yn creu gwahaniaeth geiriol lle nad oes gwahaniaeth gwirioneddol. (3) Y golygiad felly sydd yn cymeradwyo ei hun i ni yw, fod cyfeiriad uniongyrchol y geiriau at ymborthi yn ysbrydol ar Grist, ac yn anuniongyrchol, fel ffrwyth hyn, at gyfranogiad o Sacrament y Swper. Dyma yr esboniad a goleddir gan Olshausen, Stier, Lange, Luthardt, Alford, Godet, Westcott, a Watkins. Bengel oedd y cyntaf i roddi mynegiad eglur iddo yn y geiriau canlynol: "Cyfleodd yr Iesu ei eiriau mor fedrus fel y gellid ar unwaith, y pryd hwnw, a phob amser dilynol, eu cymhwyso yn eu hystyr lythyrenol at y mwynhâd ysbrydol o hono ei hun; ac eto fel y buasai, ar ol hyny, ac mewn canlyniad, yr un geiriau yn gymhwys i osod allan ddirgelwch gogoneddus y Swper Sanctaidd pan y cawsai hwnw ei sefydlu. Canys Efe a gymhwysodd at y Swper Sanctaidd y peth ei hun a osodir allan yn y bregeth hon; ac o gymaint pwys yw y Sacrament hwn, fel y gellir yn rhwydd ei thybied yn bosibl i'r Iesu, megis y rhagddywedodd fradwriaeth Judas yn adn. 71, a'i angeu ei hun yn adn. 51, felly hefyd ragddywedyd flwyddyn cyn iddo gymeryd lle y Swper Sanctaidd, am yr hwn yn sicr y meddyliai pan yn llefaru y geiriau hyn; a chyda yr amcan y cofiai ei ddysgyblion ar ol hyny ei ragfynegiad hwn." Casglwn, gan hyny, fod yr Iesu yn gosod i lawr yma wirioneddau sylfaenol y Sacrament, ond nid mewn ffurf sacramentaidd; ei arfer Ef yw egluro y gwirionedd cyn corphori y gwirionedd mewn ordinhâd.

ADN. 52. **Yna yr Iuddewon a ymrysonasant a'u gilydd.** Cododd dadl frwd yn eu plith o barth i'r Iesu. Dadleuai rhai o'i blaid ac eraill yn ei erbyn. **Pa fodd y dichon hwn roddi i ni ei gnawd i'w fwyta?** "Hwn" yn bwysleisiol. Swniai y geiriau yn rhyfedd a dyeithr yn eu clustiau.

ADN. 53. **Oni fwytewch gnawd Mab y Dyn ac oni yfwch ei waed Ef.** Yn lle lliniaru ei eiriau blaenorol, y mae yr Iesu yn eu cryfhau. Y mae "cnawd" yr adnod flaenorol yn cael ei ddosranu yma yn gnawd a gwaed. Yr oedd bwyta cnawd, er nad cnawd dynol, yn gyson ag Iuddewiaeth; ond yr oedd yfed gwaed yn ffieidd-dra yn eu golwg ac yn waharddedig yn y gyfraith (Gen. ix. 4; Lef. iii. 17; vii. 26, 27, &c.). Paham ynte y defnyddiodd yr Iesu iaith mor gref, ac, os goddefir yr ymadrodd, mor faterol â bwyta cnawd dynol ac yfed gwaed dynol, a'r ddau yn waharddedig? Gallwn ddyfalu dau reswm. (1) Er mwyn i gryfder yr iaith gywiro eu hesboniad hwy arni. Gorfoda ei chryfder annaturiol i'r darllenwyr i chwilo am ryw ystyr heblaw y llythyrenol. Nid bwyta ac yfed â'r genau a feddylir; y mae materoliaeth eithriadol yr iaith yn ein cymhell i chwilio am ystyr ysbrydol. Y gair am fwyta yn yr adnodau blaenorol yw *phagĕin*; ond yma *trōgōn*—gair cryfach, ac yn meddwl cnoi, cnoi cil, a hyny gyda graddau o bleser a boddhâd. Amheua rhai a ddylem ei ddeall yn yr ystyr gref hon yma;

54 gennych fywyd ynoch. Yr hwn sydd yn bwytta fy
nghawd i, ac yn yfed fy ngwaed i, sydd ganddo fywyd
tragywyddol: ac myfi a'i hadgyfodaf ef yn y dydd

---

ond os na ddylem, paham y defnyddir ef yn lle y gair blaenorol? Beth ynte yw yr ystyr? Ffordd ffugyrol ydyw o osod allan credu yn yr Arglwydd Iesu—credu yn gryf fel effaith myfyrdod pleserus arno, yn ei berson dwyfol-ddynol fel y mae hwnw yn aberth dros fywyd y byd. Dyma yr ail waith iddo alw ei hun yn Fab y Dyn, i ddangos mai nid fel ail berson yn y Drindod Fendigaid yr oedd Ef yn fwyd a bywyd i bechaduriaid, ond fel person dwyfol yn y natur ddynol,—yr oedd yr Ymgnawdoliad yn angenrheidiol. Ond er ei fod yn angenrheidiol nid ydoedd yn ddigonol; yr oedd yn rhaid i'r Duw-ddyn ymddatod yn "gnawd" ac yn "waed,"—myned yn aberth cyn bod yn ymborth cymhwys i ddynion euog a damniol. O ganlyniad, rhaid i ni ddàl yn gryf mai yr aberth yw perffeithiad yr Iesu fel Ceidwad; mai yr Iawn, ac nid yr Ymgnawdoliad, yw ffaith fawr ganolog, sylfaenol Cristionogaeth. Dysga Godet fod bwyta cnawd Mab y Dyn yn golygu cymundeb â'i fywyd, ac yfed ei waed cymundeb â'i angeu; ond i ni ymddengys y gwahaniaeth yn hollol ddychymygol. **Nid oes genych fywyd ynoch.** Yn lle bywyd, marwolaeth sydd ynoch. Felly yn yr adnod hon, trwy ffurf nacäol, cauir allan bob amod arall, fel amod bywyd, ond bwyta cnawd ac yfed gwaed yr Arglwydd Iesu; ac onid yw hynyna yn eu hunaniaethu a ffydd, adn. 29 a 35?

**ADN. 54. Yr hwn sydd yn bwyta fy nghnawd i, ac yn yfed fy ngwaed i, sydd ganddo fywyd tragwyddol.** Dyma ffurf gadarnhaol i'r hyn a ddywedwyd yn yr adnod flaenorol mewn ffurf nacäol. O osod y ddwy at eu gilydd, dysgir y gwirionedd pwysig, nid yn unig mai amod bywyd yw bwyta y cnawd ac yfed y gwaed, ond mai dyma yr unig amod. Nid un amod yn mhlith lluaws, ond yr unig un. Nid oes foddion eraill a fedrant gynyrchu bywyd tragwyddol. **Ac myfi a'i hadgyfodaf ef yn y dydd diweddaf.** Dyma y bedwaredd waith i'r Arglwydd Iesu ddefnyddio yr ymadrodd hwn, yr hyn a ddengys ei fod yn un anarferol bwysig. Ond paham y dygir ef i mewn yma? Barna rhai fod elfen o anfarwoldeb yn nghorph y dyn duwiol nad yw yn nghorph yr annuwiol, pan yn disgyn i'r bedd,—fod cnawd Mab y Dyn, yr hwn a fwyteir yn y Sacrament, yn hedyn bywyd yn ei gorph, ac yn sicrhau ei adgyfodiad yn y dydd diweddaf. Ond ar yr egwyddor hon pa fodd y mae cyfrif am adgyfodiad yr annuwiol? Nid ydym ni yn gwybod am un sail Ysgrythyrol i'r ddysgeidiaeth hon. Y gofyniad yw, A ydyw adgyfodiad y corph yn gynwysedig yn y bywyd tragwyddol a dderbynia pechadur y foment y creda yn Nghrist? Ni dybiwn nad ydyw. Bywyd ysbrydol o ansawdd ddwyfol yw bywyd tragwyddol; ei ansawdd ac nid ei barhâd, ei natur ac nid ei hyd, sydd yn cyfansoddi ei dragwyddoldeb. Er fod gan ac yn y credadyn fywyd tragwyddol, a'r dyn oddifewn mewn canlyniad yn adnewyddu o ddydd i ddydd, y mae y dyn oddiallan yn llygru. Nid yw credu, er yn bywhau yr enaid trwyddo, yn gadael dim ôl ar y corph—y mae deddf llygredigaeth yn gweithio marwolaeth yn hwn. Gan hyny, nid yw bywyd y corph, er yn gynwysedig yn yr iachawdwriaeth, ddim yn

diweddaf. Canys fy nghnawd i sydd fwyd yn wir, a'm 55
gwaed i sydd ddïod yn wir. Yr hwn sydd yn bwytta fy 56
nghnawd i, ac yn yfed fy ngwaed i, sydd yn aros ynof fi, a
minnau ynddo yntau. Fel yr anfonodd y Tad byw fi, ac 57

---

gynwysedig yn y bywyd tragwyddol sydd yn dyfod yn feddiant presenol i'r credadyn trwy ffydd. Ond yn ychwanegol at fywyd yr enaid yn awr, addawa Crist yn bendant fywyd hefyd i'r corph yn yr adgyfodiad yn y dydd diweddaf. O ganlyniad, y mae Adgyfodiad y Corph yn rhan hanfodol o'r iachawdwriaeth sydd yn Nghrist; ac y mae credu ynddo—ei fwyta fel bara—yn arwain mor sicr i adgyfodiad y corph ag i fywyd tragywyddol yr enaid. Sicrha y grefydd Gristionogol anfarwoldeb i ddyn yn nghyfanrwydd ei natur, a dyna yw baich dysgeidiaeth yr adnodau hyn. Meddylia llawer, meddai Bruce, "y gellir gadael allan athrawiaeth bywyd tragwyddol o'r credo heb golled—ie, gyda mantais arbenig i'r ffydd Gristionogol. Iddynt hwy ymddengys bywyd y Cristion gymaint yn rhagorach pan y mae pob ystyriaeth o wobr neu gosb ddyfodol wedi ei chau allan o'r meddwl. Mor ardderchog myned trwy anialwch y byd hwn gan ymborthi ar y manna a gynwysir yn addysg bur ac uchel yr Iesu, heb hidio a oes Canaan yr ochr arall i'r Iorddonen! Aruchel iawn yn wir! Ond, os felly, paham yr awn i'r anialwch o gwbl? paham na aroswn yn yr Aipht, gan ymborthi ar ei danteithion cnawdol? Ni adawsai plant yr Israel dŷ y caethiwed oni obeithient gyrhaedd gwlad yr addewid. Y mae gobaith anfarwol yn anhebgorol i'r Cristion. Rhaid iddo gredu yn y byd a ddaw er medru byw uwchlaw y byd drwg presenol."

**ADN. 55. Canys fy nghnawd i sydd fwyd yn wir, a'm gwaed i sydd ddiod yn wir.** Y mae gwahaniaeth barn rhwng y beirniaid ai ansoddair ai adferf yw y gair "gwir." Os adferf, y mae y darlleniad uchod yn gywir; os ansoddair, y darlleniad ydyw—"Canys fy nghnawd i sydd wir fwyd, a'm gwaed i sydd wir ddiod." Y mae y Cyf. Diw. yn anmhenderfynol; ond nid yw o fawr bwys, canys erys y meddwl yr un —Crist fel ymborth y ddynoliaeth yn llanw y drychfeddwl hyd ei ymylon.

**ADN. 56. Sydd yn aros ynof fi, a minnau ynddo yntau.** Y mae "aros" yn un o eiriau mawr yr efengyl hon (xiv. 2, 23; xv. 4, &c.; xvii. 23). Dynoda y geiriau hyn undeb dwfn, bywydol, cyfriniol rhwng y credadyn a Christ. Nid byw yn nghymdeithas eu gilydd, ond yn a thrwy eu gilydd. Y mae yr undeb yn ddyblyg,—y credadyn yn Nghrist, a Christ yn y credadyn. Trwy fod y credadyn yn Nghrist, derbynia hawl i fyw—cyfiawnhâd bywyd; y mae yn Nghrist, nid i roddi ond i dderbyn. Ar y llaw arall, daw Crist i'r credadyn, nid i dderbyn ond i roddi—i roddi iddo allu i fyw; y mae ynddo yn egwyddor y sancteiddhâd. Ac y mae preswyliad Crist yn y credadyn bron yn gymaint o ddirgelwch a phreswyliad Duw yn Nghrist.

**ADN. 57. Fel yr anfonodd y Tâd byw fi.** "Tad byw"—enw newydd ar Dduw, ac yn dynodi y Tad fel un ag y mae bywyd, nid yn ddamwain, ond yn hanfod iddo. Nid yw bywyd yn briodoledd hanfodol i angel;

yr ydwyf fi yn byw trwy y Tad: felly yr hwn sydd yn fy
58 mwytta i, yntau a fydd byw trwof fi. Dyma y bara a
ddaeth i waered o'r nef: nid megis y bwyttâodd eich
tadau chwi y manna, ac y buont feirw. Y neb sydd yn
59 bwytta y bara hwn, a fydd byw yn dragywydd. Y pethau
hyn a ddywedodd efe yn y synagog, wrth athrawiaethu yn

---

oblegid, wedi colli eu bywyd, pery yr angelion ni chadwasant eu dechreuad yn ysbrydion gweithgar. Nid yw bywyd yn briodoledd hanfodol i ddyn; oherwydd, ar ol fforffetio ei fywyd trwy bechod, parha yn bechadur ymroddgar. Ond y mae bywyd, nid yn briodoledd ddamweiniol (*accidental property*), ond yn briodoledd hanfodol (*essential property*) yn Nuw; buasai mor hawdd iddo Ef beidio a bôd a pheidio a bod yn fyw yn holl gyflawnder y gair. "Y Duw byw"; "y Tad byw." Y Tad byw hwn a anfonodd Iesu Grist i roddi bywyd i'r byd; oherwydd paham y mae holl adnoddau bywyd y Tad yn wystl dros gyflawniad ei neges. **Ac yr wyf fi yn byw oherwydd y Tad.** Anhawdd penderfynu hyd sicrwydd ystyr gywir y gair *día* a gyfieithir yma yn "trwy"; yn y Cyf. Diw. cyfieithir ef yn "oherwydd." "Yr ydwyf fi yn byw oherwydd y Tad,"—nid fel yr Ail Berson yn y Drindod ond fel Cyfryngwr Ymgnawdoledig. Y mae yn ddigon tebyg fod hyn yn wirionedd am dano fel yr Ail Berson—fod y Tad yn rheswm dros yn gystal ag yn achos o'i fodolaeth; ond fel Cyfryngwr yr oedd yn bod oherwydd y Tad, ac yn dâl at ei waith fel Cyfryngwr, nid oblegid ei fod yn tynu ei adnoddau o'r byd neu o gymdeithas o'i amgylch, ond yn hollol o fywyd diderfyn ei Dad. Yr oedd ei Dad yn gyfrifol am ei gyflenwi â phob peth angenrheidiol er cyflawniad ei waith; ac nid oedd yntau yn ol o dynu ar y cyflawnder hwnw. **Felly yr hwn sydd yn fy mwyta i, yntau a fydd byw o'm herwydd i.** Iesu Grist yw y rheswm dros fodolaeth, cymeriad, a bywyd y credadyn; Efe yw yr unig allwedd i ddatgloi ei hanes. A'r hyn sydd wir am y Cristion unigol sydd wir hefyd am yr Eglwys ac am wâreiddiad presenol y byd—**y maent yn byw oherwydd Crist.**

**ADN. 58. Dyma y bara a ddaeth i waered o'r nef.** Ffurfia yr adnod hon ddiweddglo y bregeth, yn yr hon y symir i fynu y gwirioneddau blaenorol. Yn nechreu y bregeth defnyddir yr amser presenol—"sydd yn dyfod i waered o'r nef," canys gwirionedd cyffredinol a osodir allan; yma defnyddir yr amser perffaith—"a ddaeth i waered," gan fod y disgyniad yn yr Ymgnawdoliad yn ffaith hanesyddol.

**ADN. 59. Y pethau hyn a ddywedodd Efe yn y synagog.** Nid geiriau yn unig oeddynt, ond "pethau" *(rhêmata)*; nid drychfeddyliau, ond gwirioneddau. Tybia rhai, oblegid mai yn y synagog y traddodwyd y bregeth, mai y Sabbath ydoedd. Ond y mae taith faith y bobl ar ei ol, mwy na thaith gyfreithlon y Sabbath, yn awgrymu yn gryf mai diwrnod o'r wythnos ydoedd, oblegid yr oedd yn arferol yn yr oes hono i gynal cyfarfodydd neillduol ddwywaith yr wythnos, sef ar yr ail a'r pumed dydd, heblaw y Sabbath, i hyfforddi y bobl yn yr Ysgrythyrau. **Wrth athrawiaethu yn Capernaum.** Am safle Capernaum gwel ar ii. 12. Os yr un ydoedd a Tell-Hum, fel y mŷn mwyafrif yr esbon-

Capernaum. Llawer gan hynny o'i ddisgyblion, pan 60
glywsant, a ddywedasant, Caled yw yr ymadrodd hwn;
pwy a ddichon wrandaw arno? Pan wybu yr Iesu ynddo 61
ei hun, fod ei ddisgyblion yn grwgnach am hyn, efe a

---

wyr, y mae y synagog wedi ei ddarganfod, synagog mwy addurniado nag oedd yn arferol yn mhlith yr Iuddewon, gan mai y canwriad Rhufeinig a'i hadeiladodd. Gall y teithiwr heddyw weled y synagog y traddododd yr Arglwydd Iesu y bregeth ryfedd hon ynddo; gall weled y muriau fel y gwelodd Efe hwynt; a gall weled ar ddwy golofn y drws ddarlun o'r crochan a'r manna, testyn y bregeth, fel y gwelodd Crist hwynt pan yn rhodio i mewn trwy y porth!

YR EFFAITH AR Y DYSGYBLION. ADN. 60—67.

**ADN. 60. Llawer gan hyny o'i ddysgyblion, pan glywsant, a ddywedasant.** Arferir yr enw dysgyblion yma mewn ffordd rydd a chynhwysfawr. Gwyddom fod o leiaf dri chylch: (1) y Deuddeg (adn. 67); (2) y Deg a Thri Ugain (Luc x. 1); (3) tyrfa luosog ag oeddynt edmygwyr o hono. **Caled yw yr ymadrodd hwn.** Pa ymadrodd? Nid y bregeth i gyd, y mae yn amlwg, ond rhyw ymadrodd arbenig. (1) Etyb De Wette a Meyer mai yr ymadrodd am ei farwolaeth waedlyd, "tramgwydd y groes." (2) Tholuck a Hengstenberg a farnant mai ei falchder, ei *assumption*, yn cysylltu bywyd tragwyddol dynion yn anwahanol a'i berson ei hun. (3) Ond Godet ac eraill a farnant fod y cyfeiriad at yr ymadrodd am fwyta ei gnawd ac yfed ei waed er caffael bywyd. Casglwn mai hwn yw yr ateb cywiraf am ddau reswm. Yn gyntaf, dangosir i'r gwrandawyr aflonyddu, "pan glywsant"; ac yn ail, iddynt ffromi pan glywsant yr "ymadrodd hwn"—cyfeiriad yn ddiau at ran olaf y bregeth, ac nid at y rhanau dechreuol a chanol. Beth ydyw ystyr "caled"? Diau fod iddo (*siērŏs*) yn y classuron dri ystyr: (1) caled i'w ddeall; (2) caled i'w wneyd; (3) caled i'w oddef. Ond yn y Beibl cyfyngir ef i'r ddau ystyr diweddaf (Gen. xxi. 12; 1 Sam. xxv. 3; yn yr LXX.; ac yn Matt. xxv. 24; Act. xxvi. 14; Iago iii. 4; Judas 15). Myn Chrysostom, Grotius, ac Olshausen mai yn yr ystyr gyntaf - caled i'w ddeall, y dylid ei gymeryd yma. Gwir fod y geiriau yn ddwfn,- mor ddwfn nes fod duwinyddion byth oddiar hyny yn ymryson yn eu cylch; ond barnai y bobl hyn mai nid yn y deall yr oedd yr anhawsder, ond yn y gwneyd. **Pwy a ddichon wrandaw arno?** Nid pwy a ddichon ddeall, ond pwy a ddichon wrandaw arno? Pwy a all ei oddef? "Yn eu calonau hwy," meddai Calfin, "nid yn ei ymadrodd Ef, yr oedd y caledwch."

**ADN. 61. A'r Iesu yn gwybod ynddo ei hun fod ei ddysgyblion yn grwgnach am hyn.** "Gwybod (*eidōs*) ynddo ei hun"—yn annibynol ar dystiolaeth neu sylwadaeth allanol. Nid yw hyn yn cynwys nad oedd y dysgyblion yn sisial eu hanghymeradwyaeth y naill wrth y llall, ond ni ddatganodd neb yn hyglyw ei anfoddogrwydd. Er hyny gwyddai yr Iesu hyd sicrwydd y meddyliau a'u cerddent. Nid yn unig gwyddai yr hyn oedd mewn dyn—y dyn cyffredinol, ond gwyddai y meddyliau neillduol a fyrlyment ar adeg neillduol yn mynwesau ei wrandawyr.

ddywedodd wrthynt, A ydyw hyn yn eich rhwystro chwi?
62 *Beth* gan hynny os gwelwch Fab y dyn yn dyrchafu lle yr

---

**Efe a ddywedodd wrthynt. A yw hyn yn eich tramgwyddo chwi?** Y mae y pwyslais ar "hyn." Y mae y gair *scandalon*—yr un â'r gair Saesonaeg *scandal*—yn dynodi yn gyntaf y pren yn y fagl ag sydd yn dal yr abwyd i ddenu aderyn neu anifail, yna unrhyw beth sydd yn peri dolur neu gwymp.

**ADN. 62. Os, gan hyny, y gwelwch Fab y Dyn yn esgyn i'r lle yr oedd Efe o'r blaen ——?** Y mae y gair "Beth" mewn llythyrenau Italaidd i arwyddo nad yw yn y gwreiddiol; ac felly gadewir cwestiwn yr Iesu yn anorphenol. A ydym i gasglu fod Ioan heb goffhau y cwestiwn yn gyflawn? Nid felly ddim; eithr fel y gwelsom lefarwyr cyhoeddus weithiau yn gadael brawddeg ar ei haner, ac yna trwy ysgydwad y llaw neu grychiad y wyneb yn taflu y drychfeddwl i ganol y gynulleidfa yn fwy effeithiol nag y medrai geiriau wneyd. Pa bwrpas ynte sydd i'r gofyniad yn yr ymresymiad? I ateb hwnyna rhaid ymholi, Beth yw ystyr y gair "derchafu" yn y fan hon? (1) Mýn Meyer a De Wette mai y croeshoeliad a ddynodir—ei dderchafiad i'r Groes. Os felly, y mae yr ymresymiad fel pe dywedasai yr Iesu: "Yr wyf wedi traethu fod yn rhaid i chwi fwyta fy nghnawd ac yfed fy ngwaed er meddu bywyd tragwyddol; a yw hynyna yn peri i chwi dramgwyddo? Y mae prawf caletach na hynyna yn aros eich ffydd—beth os gwelwch fi yn cael fy nerchafu i'r Groes a'm hoelio ar bren, pa faint mwy fydd eich tramgwydd? Os yw fy mhregeth hon yn peri i chwi gefnu arnaf, llawer mwy y gwna fy angeu fel drwg-weithredwr." Diau fod yr esboniad yna yn gwneuthur synwyr da, ac yn gyson, fel y dywed Bengel, a dysgeidiaeth y Test. Newydd am "dramgwydd y groes." Ond y mae dau reswm yn ei erbyn. Yn gyntaf, nid y gair arferol am dderchafu i'r groes (*upsothênai*, iii. 14 a xii. 32) a ddefnyddir yma, ond gair arall (*anabainein*) sydd yn arfer dynodi esgyn. Yn ail, yn ol yr eglurhâd hwn, y mae y cyferbyniad rhwng yr "esgyn" yma a'r "disgyn" yn yr adnodau blaenorol yn cael ei golli. Os yw y "disgyn" yno yn golygu dyfod i lawr o'r nef, rhaid fod yr "esgyn" yma yn golygu myned i fynu i'r nef—i'r man lle yr oedd Efe o'r blaen. (2) Oherwydd paham, credai y Tadau Cristionogol, ac Olshansen, Ebrard, Hengstenberg, a Godet yn mhlith yr esbonwyr diweddar, mai cyfeiriad pendant sydd yma at yr Esgyniad i'r nef o ben yr Olewydd mewn cyferbyniad i'r Disgyniad o'r nef yn yr Ymgnawdoliad. Nid oes fawr rym yn ngwrthddadl Meyer nad ydyw Ioan yn adrodd hanes yr Esgyniad; oblegid rhan yw yr adnod hon, nid o eiriau Ioan, ond o eiriau Crist, a chyfeiria Efe eilwaith a thrachefn at ei Esgyniad. Yn ol yr esboniad hwn y mae ystyr a dyben yr adnod yn cyfnewid. Yn lle chwyddo y tramgwydd, yn ol yr eglurhâd cyntaf, ymdrecha yr Iesu ei symud; nid gýru y bobl yn mhellach oddiwrtho oedd ei amcan, ond eu tynu yn nes ato. Rhediad yr ymresymiad, gan hyny, sydd fel y canlyn: "Yr ydych yn tramgwyddo wrthyf am i mi ddyweyd y rhaid i chwi fwyta fy nghnawd ac yfed fy ngwaed; ond cyn cyhoeddi eich barn beth pe arosech nes fy ngweled yn esgyn yn ol i'r nef? Ar ol fy ngweled yn esgyn i'r lle yr oeddwn cyn i mi ddisgyn, beth wedi'n fydd eich barn? Oni fydd yr achos tramgwydd drosodd?

oedd efe o'r blaen? Yr yspryd yw yr hwn sydd yn byw- 63
hâu; y cnawd nid yw yn llesâu dim: y geiriau yr ydwyf fi

---

Bydd fy esgyniad yn brawf o'm disgyniad, ac yn brawf y rhaid dehongl fy ymadrodd, nid yn faterol, ond yn ysbrydol. (3) Eraill, ac yn eu plith Westcott, a gyfunant y ddau eglurhâd blaenorol, trwy ddàl fod yr "esgyn" yma yn cynwys y marw, yr adgyfodi, a'r esgyn: hyn, feallai, a gyfrif am amwysedd y gofyniad. Disgwyliai yr Iesu i ni ei ddeall y naill ffordd a'r llall; ac am hyny gadawodd ef yn ben-agored. Arfer yr Iesu, a dilynir Ef gan Ioan, oedd edrych ar yr angeu fel dechreu y gogoneddiad (xii. 28; xvii. 1). O un safle dyfnder y darostyngiad ydoedd; o safle arall gris cyntaf y gogoneddiad—y cam cyntaf yn ei daith yn ol i'r lle yr oedd Efe o'r blaen. Pan ddaeth yr Arglwydd Iesu i ddeddfle pechadur yn ei Ymgnawdoliad, cauodd ddrws y nefoedd yn ei erbyn ei hun. Yr oedd Efe a'r pechadur yr un ochr i'r drws, yr hwn oedd gauedig yn erbyn y ddau am yr un rheswm—heb farw ni allasai esgyn. Fel person unigol, diamheu y gallasai; eithr nid person unigol mohono, ond person swyddogol,—safai yn neddfle pechadur, ac heb ollwng gwaed nid oedd drws y nefoedd yn agored iddo Ef yn fwy nag i'r pechadur. Dyna y gwirionedd cynwysedig yn y Feichniaeth. Oherwydd paham edrych Ioan ar ei angeu fel gris cyntaf ei dderchafiad. Ar Galfaria agorodd yr Iesu byrth y nef, ac o'r Olewydd aeth i mewn i'r nef trwy y pyrth agored; ac o ganlyniad nid yw y marw a'r esgyn ond rhan ddechreuol a rhan orphenol y gogoneddiad. Ar ol i'r *drama* gael ei gorphen, tröai yr achos tramgwydd yn destyn gorfoledd.

**ADN. 63. Yr ysbryd yw yr hyn sydd yn bywhau.** Pa ysbryd? Yr Ysbryd gyda y lythyren fawr yn dynodi y Trydydd Person, ynte yr ysbryd gyda y lythyren fach yn dynodi yr egwyddor ysbrydol sydd y tu fewn i'r ymadroddion. (1) Dalia Godet ac eraill mai y Trydydd Person a feddylir—yr Ysbryd fel "hwn," ac nid yr ysbryd fel "hyn." Ond gorfodir ni i wahaniaethu am ddau reswm. Yn gyntaf, nis gellir dyweyd fod Person yr Ysbryd yn trigo mewn ymadroddion, hyd yn nod ymadroddion yr Iesu—ni thrig Person ond mewn personau. Yn ail, cyferbynir yr Ysbryd yma â'r cnawd, yr hyn ni wneir byth ag Ysbryd personol Duw. Ac eto y mae "ysbryd" yn gryfach nag ysbrydol. Ansoddair yw ysbrydol, ac nis gall ansoddair weithredu, dim ond sylweddair; nid y briodoledd sydd yn dylanwadu trwy y sylwedd, ond y sylwedd trwy y briodoledd. Nid y cnawd materol a'r gwaed materol sydd yn rhoddi bywyd—nid yw y rhai hyn, ynddynt eu hunain, yn lleshau dim; ond yr ysbryd sydd ynddynt, y gwirioneddau a gynrychiolir ganddynt. Ac nid y gwirioneddau noethion, moelion chwaith, megis mewn athroniaeth, ond yn eu cysylltiad ag Ysbryd byw personol. (2) Felly er nad ydym yn credu mai yr Ysbryd fel person a feddylir, eto nid yw neppell oddiwrth y gwir ddehongliad. Y mae yr Iesu yn yr adnod flaenorol newydd sôn am ei Esgyniad. Yn dilyn ei Esgyniad ef fel achos y mae tywalltiad yr Ysbryd ar ddydd y Pentecost fel effaith; ac mewn canlyniad i dywalltiad yr Ysbryd aeth gwirioneddau ei bregethau a ffeithiau ei hanes yn ysbryd a bywyd. Yr oedd y gwirioneddau a'r ffeithiau hyn yn bod y saith wythnos rhwng Pasg y Croeshoeliad a'r Pentecost, a gallasent barhau hyd heddyw, ond yn gydmarol ddifywyd

yn eu llefaru wrthych, yspryd ydynt, a bywyd ydynt.
64 Ond y mae o honoch chwi rai nid ydynt yn credu. Canys
yr Iesu a wyddai o'r dechreuad, pwy oedd y rhai nid oedd
65 yn credu, a phwy oedd yr hwn a'i bradychai ef. Ac efe a

---

a diddylanwad, fel darn o ddur marw ar y llawr; ni fuasent ynddynt eu hunain yn gyfryngau bywyd tragwyddol i fyd colledig. Ond ar y Pentecost disgynodd yr Ysbryd, a thaflodd Ef ddwyfol *magnetism* i'r gwirioneddau, a dwyfol drydaniaeth i'r ffeithiau—mae y dur yn symud, y gwirioneddau yn bywhau. **Yr ymadroddion a leferais i wrthych, ysbryd ydynt a bywyd ydynt.** Dyna y darlleniad yn y Cyf. Diw., ond amddiffynir y darlleniad arferol gan De Wette, Meyer, a Tischendorf. Yn ol y Cyf. Diw. cyfeirio y mae at ymadroddion y bregeth y mae newydd draddodi; yn ol y darlleniad arferol, at ei eiriau i gyd yn ddiwahaniaeth. Tuedd yr oes hon yw bychanu y llythyren er derchafu y gwirionedd; ond cofier, pan y distrywir y corph, y diflana yr ysbryd. Nid diystyru y llythyren a ddylasem, ond myned trwy y llythyren at yr ysbryd. Bai y Phariseaid oedd aros *gyda* y lythyren; bai rhesymolwyr yr oes hon yw myned *heibio* y llythyren; ond dyledswydd y gwir gredadyn yw parchu y ddau—myned *trwy* y llythyren at y cnewyllyn y tu fewn.

**ADN. 64. Ond y mae o honoch chwi rai nid ydynt yn credu.** Dechreua yma a chyfyngu y cylch. Yn yr adnodau blaenorol cyfarcha yr holl ddysgyblion—pawb a restrent eu hunain dan ei faner, pa un a oeddynt yn wir gredinwyr ai peidio. Yma cyfarcha yn fwyaf arbenig y Deuddeg a ffurfient y cylch nesaf ato; yr oedd rhagrithwyr yn eu plith hwy—o leiaf un. **Canys yr Iesu a wyddai o'r dechreuad . . . pwy oedd yr hwn a'i bradychai Ef.** Esboniad Ioan yw y frawddeg hon ar y frawddeg flaenorol o eiddo yr Iesu. "Yr Iesu a wyddai (*ēidĕi*) o'r dechreuad"—yr un gair ag a ddefnyddir yn gyson am ei wybodaeth ddwyfol, anffaeledig. Nid yw yn debyg y gwyddai Ioan na neb o'r dysgyblion pwy oedd yn meddwl yr Iesu; ond yn ngoleuni yr hyn a ddygwyddodd ar ol llaw, deallodd Ioan mai Judas oedd yn ei feddwl, a gesyd yr eglurhâd i mewn yma. "Yr Iesu a wyddai o'r dechreuad." Gwyddai Ioan a'r apostolion o'r diweddiad; ond gwyddai yr Iesu o'r dechreuad. Tra y mae meddylwyr eraill yn gweithio yn ol o'r diweddiad i'r dechreuad, yr oedd meddwl yr Iesu yn gweithio yn mlaen o'r dechreuad i'r diweddiad. Nid dyfalai ond gwyddai; nid *guess* sydd yma, ond sicrwydd gwybodaeth. A yw dynion yn gwybod fel yna? Na; nid fel dyn, ond fel Duw-ddyn, y gwyddai; gweithredai egni dwyfol mewn sianel ddynol. Lle yr oedd nentydd dynol yn rhedeg i'r sianel, gofala Ioan nodi hyny mewn gair neillduol (*ginōskein*); ond pan y gwêl Ioan afon ei wybodaeth yn llawn hyd ei glànau heb un ffrwd ddynol yn rhedeg iddi, pa fodd y cyfrifa am hyny? Y mae yn gwybod o hono ei hun, meddai; cŵyd y dwfr o lygad y ffynhon yn ei berson dwyfol-ddynol; ac y mae ganddo air penodol (*eidenai*) i ddynodi hyn hefyd. "O'r dechreuad"—o ddechreuad peth? Y mae yr ymadrodd ynddo ei hun yn anmhenodol, ac i'w benderfynu gan y cysylltiadau. (1) O ddechreuad y grwgnach, meddai Chrysostom a Bengel. (2) O ddechreuad ei weini-

ddywedodd, Am hynny y dywedais wrthych, na ddichon neb ddyfod attaf fi, oni bydd wedi ei roddi iddo oddi wrth fy Nhad.

---

dogaeth, meddai Meyer. (3) Ond ar y cyfan mwy naturiol yw ateb De Wette, Tholuck, a Hengstenberg, sef mai o ddechreuad y drafodaeth bersonol rhwng yr Iesu a Judas. Os gwyddai yr Arglwydd Iesu o'r dechreuad y troai Judas allan yn fradwr, paham y dewisodd ef yn apostol? Nid yw y gofyniad hwn ond ffurf neillduol ar y gofyniad cyffredinol, Os gwyddai Duw o'r dechreuad y pechai angel a dyn, paham y creodd y naill a'r llall? Y mae y prif feddylwyr wedi ymdrechu ateb, ond pery y dirgelwch o hyd. Felly gyda golwg ar gymhwysiad neillduol y gofyniad at Judas. Y mae tri brif ateb iddo. (1) Ateb yr esbonwyr anghrediniol, sef fod yr Iesu yn gweled yn Judas ragoriaethau a'u gwnaent yn ddefnyddiol iawn i'r eglwys ieuangc, ond na welai ynddo y tueddiadau anonest a bradwrus a lechent dan ei fron. Ond gwelir fod yr ateb hwn yn hollol wrthwynebol i eglurhâd Ioan; ac am hyny rhaid ei wrthod yn ddiseremoni. (2) Etyb eraill, megis Meyer, er ei fod yn gweled yn eglur y drwg a'r da oedd yn natur Judas, eto y gobeithiai trwy ofal a thynerwch y dadblygid y da nes yr enillai lwyr fuddugoliaeth ar y drwg. Ymddengys yr ateb hwn hefyd i ni, er yr amddiffynir ef gan ddynion dysgedig a duwiol, yn anghyson a gosodiad pendant Ioan y "gwyddai yr Iesu o'r dechreuad pwy oedd yr hwn a'i bradychai Ef." Dengys o leiaf gamsyniad ar ran yr Iesu o barth i'r canlyniadau; ac oblegid hyny nis gallwn ei fabwysiadu. (3) Felly cauir ni i mewn i esboniad Calfin ac Awstin, mai dyma ewyllys Duw fel ei corphorid yn yr arfaeth neu y cynllun boreu. Nid Duw a'i gwnaeth yn fradwr—gwneyd ei hun felly a ddarfu Judas; ac eto yr oedd y brâdwr a'r fradwriaeth yn y cynllun fel dolenau angenrheidiol yn ngwaith y prynedigaeth. Ar y cyfan ymddengys i ni mai yr ateb Calfinaidd yw y dyfnaf, ac yn fwyaf cyson a ffeithiau yr hanes. Nid yw yn symud yr anhawsder; ond y mae yn gosod yr anhawsder dan oruwch-reolaeth Duw, ac yn cau allan *surprises* o drefn y cadw, ac i'r hwn sydd yn adnabod Duw y mae hyny yn sail cysur i'r galon a gorphwysfa i'r meddwl. Yn ein holl drafodaeth ag Arfaeth ac Etholedigaeth, y gofyniad yw, Ai ewyllys Duw ai ewyllys dyn sydd oruchaf? Ai ar ewyllys Duw ai ar ewyllys dyn y gorphwys *the final issue of things?* Os ar ewyllys Duw, y mae Calfiniaeth yn sefyll.

**ADN. 65. Ac Efe a ddywedodd, Am hyny y dywedais wrthych,** sef yn adn. 44, 45. **Nid yw neb yn abl i ddyfod ataf fi.** Anallu moesol dyn i gredu yn ei nerth ei hun—a'r anallu gwaethaf yw anallu moesol; ond gall gredu yn nerth Duw. A ydyw pawb yn ddiwahaniaeth yn derbyn y nerth hwn? Ydynt, ydyw ateb Arminiaeth; Nac ydynt, ydyw ateb Calfiniaeth. Pa un o'r ddau ateb sydd yn gwneyd y tegwch mwyaf â'r adn. 44, 45, 65? Pa un sydd fwyaf cyson â ffeithiau? **Oni bydd wedi ei roddi iddo oddiwrth y Tad.** Y Tad yw ffynhonell pob nerth moesol, pob dymuniad da, pob awydd am sancteiddrwydd. Ai nid oedd hyn wedi ei roddi i Judas gan y Tad? Yn ol ymresymiad yr Iesu, y mae yn amlwg nad oedd; oherwydd paham, bu ei agosrwydd at yr Iesu, yn lle yn foddion ei achubiaeth, yn offerynol i'w galedu yn fwy.

66 O hynny allan llawer o'i ddisgyblion ef a aethant yn eu
67 hol, ac ni rodiasant mwyach gyd âg ef. Am hynny yr Iesu
a ddywedodd wrth y deuddeg, A fynnwch chwithau hefyd

---

YR EFFAITH AR Y DEUDDEG. ADN. 66—71.

**ADN. 66. Ar hyn llawer o'i ddysgyblion Ef a aethant yn eu hol. Y** mae y frawddeg wreiddiol (*ἐκ τούτου*), yr hon ni ddefnyddir ond yma ac yn xix. 12, yn golygu, nid "o hyn allan," ond "allan o hyn." Cynwys, hwyrach, ddau ddrychfeddwl. (1) Y drychfeddwl o amser, "o hyny allan," fel yn y cyfieithiad arferol, er fod y prif ysgolheigion yn amheu hyn. O'r adeg hon allan trodd ei ganlynwyr eu cefnau arno yn lluoedd, ond yn awr y cymerodd y gwrthgiliad mawr le. Pobl ag oedd wedi ei ddilyn er ys wythnosau ac yn edmygwyr aiddgar o hono yn awr a aent ymaith yn dyrau gyda'u gilydd. (2) Y drychfeddwl o achos, "allan o hyn," "oblegid hyn." Yr achos oedd ei bregeth gref Ef yn y synagog; y canlyniad—yr hyn a lifodd allan o hyny—ydoedd ymadawiad disyfyd bron yr oll o'i ganlynwyr. "*They went away back.*" Nid myned ymaith yn unig a wnaethant, ond myned ymaith *tuag yn ol.* Gallasent fyned ymaith oddiwrth Moses a Plato, a myned tuag yn mlaen; ond nid allasent adael Crist, heb fyned tuag yn ol. Defnyddir yr un geiriau yn Phil. iii. 13, ac felly gall yr ymadrodd hwn feddwl "y pethau ar ol." "Aethant ymaith at y pethau ar ol," sef y gofalon a'r gorchwylion a adawsant pan y dechreuasant ddilyn yr Iesu. Yr oedd yr amaethwr wedi gadael ei fferm, y saer ei grefft, a'r morwr ei long—wedi gadael pob peth i'w ganlyn Ef; ond yn awr dychwelant at eu hen alwedigaethau—y pethau a adawsant ar ol. **Ac nid oeddynt yn rhodio mwyach o amgylch gydag Ef.** Y mae y ferf, *rhodio oddiamgylch*, yn yr amser anmherffaith, yn ddarluniad gweddol fyw o fywyd yr Arglwydd Iesu y pryd hwn. Gosodir Ef allan yn rhodio oddiamgylch, a lluaws mawr o ddysgyblion neu *pupils* gydag Ef yn gwrandaw ar ei addysg, a pharhaodd hyn am wythnosau, feallai am fisoedd. I ni ymddengys yn ymddygiad dyeithr ar ei du Ef a'u tu hwy; ond dyna arfer dysgawdwyr yn y Dwyrain, ac i raddau mawr yn ngwlad Groeg fel yr arwyddoceir yn yr enw *Peripatetics*—yr un gair ag sydd sydd yn yr adnod hon—a roddid ar un ysgol enwog o athronwyr.

A oedd yr Iesu yn amcanu eu tarfu ymaith? Oedd, mor bell ag i nithio yr us yn mhlith ei wrandawyr oddiwrth y gwenith. Buasai ei boblogrwydd mawr, heb ryw ddidoliad ar y gau oddiwrth y gwir, yn niweidiol i grefydd ysbrydol. Nac oedd, mor bell na ddymunai golledigaeth neb; ond ni fuasai eu parhâd gydag Ef, heb gyfnewidiad calon, yn un fantais iddynt hwy, tra yn anfantais iddo Ef. Gwell eglwys fach a'r mwyafrif yn dduwiol nag eglwys fawr a'r mwyafrif yn annuwiol.

**ADN. 67. Am hyny yr Iesu a ddywedodd wrth y Deuddeg.** Cymer Ioan yma yn ganiataol y gwyddai ei ddarllenwyr am neillduad y Deuddeg. **A ydych chwithau hefyd yn ewyllysio myned ymaith?** Dychymyga Godet ei fod yn edrych ar wrthgiliad y dorf gyda math o orfoledd buddugoliaethus; ond nis gallwn ni goledd y syniad. Gwir yr amcanai yn ei bregeth leihau ei boblogrwydd—y fath boblogrwydd, nid trwy fwriadu tramgwyddo, ond trwy lefaru y gwirionedd yn ei noethder. Gwir yr

fyned ymaith? Yna Simon Petr a'i hattebodd ef, *O* 68
Arglwydd, at bwy yr awn ni? gennyt ti y mae geiriau
bywyd tragywyddol. Ac yr ydym ni yn credu, ac yn 69

---

ameanai nithio y grawn; ond pan welodd mai us oedd y dorf bron i gyd, llanwyd ei galon, nid â llawenydd, ond â thristwch. Yna trodd at y Deuddeg gan ddywedyd, A ydych chwithau hefyd yn ewyllysio myned ymaith? Y mae y *mē* yn y gofyniad yn arwyddo ei fod yn disgwyl ateb nacäol; ac felly, fel y sylwa Tholuck, cwestiwn o ymddiried ydyw, nid o anymddiried. Tybed yr ewyllysiwch chwithau hefyd fy ngadael? Cam-bortreadir yr Iesu pan ei darlunir yn sefyll yn her-feiddiol, fel pe yn dywedyd,—Y mae y rhai acw wedi myned, ewch chwithau hefyd, os mynwch. Na; tra yn caniatau iddynt berffaith ryddid, eto dengys ffurf ei ofyniad ei fod yn apelio atynt hwy am sefydlogrwydd.

**ADN. 68. Simon Petr a atebodd iddo.** Efe yn gyffredin sydd yn cymeryd y blaen mewn amgylchiadau pwysig. Rhydd ddau reswm dros eu hymlyniad wrth yr Iesu—un yn *objective* yn yr adnod hon, y llall yn *subjective* yn yr adnod nesaf. Edrych ef ar yr ymadrodd caled yn ngoleuni yr Iesu, ac nid ar yr Iesu yn ngoleuni yr ymadrodd. Nid oedd Petr yn deall y bregeth nemawr gwell na'r bobl eraill; ond—adwaenai ef y Pregethwr! Gymaint o fantais i ddeall y Beibl yw adnabyddiaeth o, a chydymdeimiad â'r, Awdwr! **Arglwydd, at bwy yr awn ni?** A chaniatau fod dy ymadroddion yn ddwfn a chaled, ni wyddom ni am neb a fedr daflu mwy, na chymaint, o oleuni, ar achos euog ddyn; os oes tywyllwch yn gymysgedig a goleuni yn dy ddysgeidiaeth di, tywyllwch heb ddim goleuni sydd yn nysgeidiaeth athrawon eraill. Pwy a fedr daflu mwy o oleuni ar byngciau mawr bywyd tragwyddol na thydi? At bwy yr awn ni? **Genyt ti y mae geiriau bywyd tragwyddol.** Geiriau tramgwydd oedd ei eiriau i'r dorf, geiriau bywyd ydynt i'r dysgyblion. Y fath wahaniaeth y mae sefyllfa foesol dynion yn ei wneuthur yn eu hagwedd tuagat yr un gwirioneddau. Golyga hyn fwy na bod bywyd tragwyddol ynddo neu ganddo: yr oedd y bywyd tragwyddol erioed gyda y Tad (1 Ep. i. 2), ond gyda y Tad nid oedd yn iachawdwriaeth i ni. Ac er i'r bywyd tragwyddol ag oedd yn yr Iesu droi yn faeth ysbrydol i ni rhaid rhoddi datganiad iddo mewn iaith,—trwy eiriau y gellid ei drosglwyddo i eneidiau dynion. Tra y mae yr aur yn fàrau, nid ydyw o ddim budd i'r boblogaeth; ond pan y troir yr aur yn arian bathol, daw yn wasanaethgar i'r deiliaid. Felly rhaid oedd bathu y bywyd tragwyddol, ei droi yn eiriau llefaredig, er iddo gylchredeg yn y byd a chyfoethogi dynoliaeth.

**ADN. 69. Ac yr ydym ni wedi credu a dyfod i wybod.** Y "ni" yn bwysleisiol. Gan nad beth y maent hwy yn ei feddwl am danat, yr ydym *ni* wedi credu a gwybod mai tydi yw Sanct Duw. Dyma y rheswm tufewnol paham y glŷnant wrtho. Y mae y ddwy ferf yn yr amser perffaith, i ddangos fod y mater wedi ei benderfynu yn eu meddyliau, fel pwngc ffydd a phwngc gwybodaeth; nid oedd ail agor i fod arno. Nid ydoedd hyd yn nod yn fater o ymchwilliad pellach *pwy* ydoedd, er y treulient eu hoes i efrydu *beth* ydoedd. Y maent wedi myned heibio *stage* amheuaeth o barth i'w hawliau, ac wedi cyrhaedd

70 gwybod mai tydi yw y Crist, Mab y Duw byw. Iesu a'u

sierwydd—sierwydd ffydd a sierwydd gwybodaeth. Dyma oedd yn cyfranu cadernid i'w cymeriadau. Tuedd yr oes hon yw bod yn sicr ar bethau ansicr, ac ansicr ar bethau sicr, fel y gwelir yn nysgeidiaeth y duwinyddion hyny a ymffrostiant yn eu hysbryd gwyddonol; a dyna, hwyrach, yw y rheswm am lawer o wendid gweinidogaeth yr amseroedd. Dynion fel Spurgeon, y rhai sydd yn sicr o'r athrawiaethau a bregethant, ac yn ddigon gwrol i haeru yn ngwyneb oes anghrediniol, "Yr ydym ni wedi credu ac wedi dyfod i wybod," sydd yn gadael eu hargraph yn annileadwy ar eu cenhedlaeth. Sylwer mai "credu" sydd yma gyntaf, a "gwybod" ar ol hyny. Yn x. 38, a 1 Ep. v. 13, caiff y drefn hon ei gwrthdroi, gan y dodir "gwybod" yn mlaenaf, a "chredu" wedi'n. Y mae y ddwy drefn hon wedi creu dwy ysgol o dduwinyddion. Cymerodd Austin, Anselm, a Schleirmacher y drefn fel y mae ar lawr yma: Y mae ffydd yn rhagflaenu gwybodaeth (*Fides præcedit intellectum*). Ond cymerodd Abelard a'i ganlynwyr y drefn wrthgyferbyniol: Y mae gwybodaeth yn rhagflaenu ffydd (*Intellectus præcedit fidem*). Pa un sydd iawn? Gan fod y ddwy drefn yn yr Ysgrythyr, rhaid fod y ddwy yn iawn, eithr nid yn yr un cysylltiadau. Rhaid i ni feddu rhyw raddau o wybodaeth am Grist, cyn y medrwn gredu ynddo; ond rhaid i ni gredu ynddo cyn y cyrhaeddwn wybodaeth ddofn a sicr o'i berson a'i athrawiaethau. Os oes gwirionedd yn y syniad mai amheuaeth ydyw dechreu athroniaeth—dynion yn chwilio am eu bod yn amheu, y mae mwy o wirionedd yn y syniad mai ffydd yw dechreu duwinyddiaeth—dynion yn chwilio am eu bod yn credu. Ac y mae ffydd yn creu brwdfrydedd. Y gallu cryfaf i egni mewn gwybodaeth grefyddol yn gystal a llafur crefyddol ydyw ffydd. "Yr ydym wedi credu ac wedi dyfod i wybod (*ĕgnōkamĕn*)"—gwybod trwy sylwi ar dy fywyd, a'th weithredoedd, a'th eiriau, a thrwy hir fyfyrio arnynt. Parhasant i sylwi a myfyrio hyd ddiwedd eu hoes, nid am eu bod yn amheu, ond am eu bod yn credu. Darllenwn am rywrai eu bod "yn dysgu bob amser ac heb allu dyfod un amser i wybodaeth y gwirionedd" (2 Tim. iii. 7), bob amser yn astudio, ond bob amser yn ansicr eu meddyliau,—sefyllfa hollol anghydweddol ag anianawd Cristionogaeth. Dysg athronwyr y ceir mwy o hyfrydwch, ac o bosibl fwy o fudd, yn yr ymchwiliad am wirionedd nag yn y meddiant o hono. Ond y mae hynyna yn bell o fod yn wir mewn Cristionogaeth—yma y meddiant o wirionedd yw y prif beth, canys y mae gwahaniaeth yn natur y gwirioneddau.

**Mai ti yw Sanct Duw.** Ymddengys fod yr holl awdurdodau yn weddol gytun mai dyna y darlleniad iawn, ac mai rhyw gopiwr a ddygodd i mewn y darlleniad arferol o Matt. xvi. 16. Cawn felly dair cyffes ar ran y dysgyblion: y gyntaf yn Matt. xiv. 33, "Yn wir Mab Duw ydwyt ti"; yr ail yma, "Ti yw Sanct Duw"; y drydedd yn Matt. xvi. 16, "Ti yw y Crist, Mab y Duw byw." Nid anhawdd, debygem, yw dangos fod y naill yn *advance* ar yr un a'i blaenorai. Yn y gyntaf cydnabyddir dwyfol Faboliaeth yr Arglwydd Iesu, nid yn ddadansoddol. ond yn hanesyddol—cydnabyddiaeth o berthynas ddihafal (*unique*) rhyngddo Ef a Duw. Yn yr ail y mae Mab Duw wedi dadblygu yn Sanct Duw

hattebodd hwynt, Oni ddewisais i chwychwi y deuddeg, ac
o honoch y mae un yn ddiafol? Eithr efe a ddywedasai 71

---

Gallasai fod yn Fab heb fod yn Sanct, yn yr ystyr Feiblaidd. Beth ynte yw ystyr "Sanct" yma? Gwyddis mai nid ystyr foesol yn golygu "pur" yw ystyr gyntaf y gair, ond ystyr swyddogol yn golygu gwahaniad, neillduad, cysegriad i wasanaeth Duw. Neillduid un adeilad, un llestr, un dyn, o blith y lluaws i amcanion addoliadol—gwnai hyny hwy yn gysegredig neu "sanctaidd." A phan y gelwir yr Iesu yn "Sanct" Duw, beth yw y meddwl? Nid ei fod yn bur ei galon ac yn ddilychwin ei gymeriad, ond ei fod wedi ei neillduo i ddwyn yn mlaen ddybenion Duw mewn cysylltiad â chrefydd y byd. Y mae yn neillduedig gan Dduw i gyrhaedd amcanion crefyddol—y mae yn swyddog cysegredig. Y mae Mab Duw yn golygu perthynas arbenig â Duw, a Sanct Duw perthynas arbenig â gwaith Duw yn iachawdwriaeth y byd. Ond paham y neillduwyd Ef o blith holl blant dynion? Yn ddiamheu oblegid perffaith lendid ei natur foesol. Felly y mae y drychfeddwl o sancteiddrwydd moesol yn gorwedd dan y drychfeddwl o sancteiddrwydd swyddogol. Y mae y drydedd gyffes drachefn yn cyfuno y ddwy arall â'u gilydd: y Crist—ei gysegriad i'w waith swyddogol fel Messiah; Mab y Duw byw—ei berthynas aruchel ac arbenig â'i Dad.

ADN. 70. **Oni ddewisais i chwychwi, y Deuddeg?** Yn xiii. 18, cyfieithir yr un gair yn "etholais." Sylwer hefyd fod y ferf yn y *Middle Voice* dewisais neu etholais i mi fy hun: dygwyd hwy i gysylltiad eithriadol âg Ef, ac i ddybenion neillduol. Nid priodol cymysgu yr etholedigaeth hon â'r etholedigaeth dragwyddol, er fod xvii. 12 yn taflu y drws yn agored rhwng y naill a'r llall. **Ac o honoch chwi y mae un yn ddiafol.** Y "chwi" yn bwysleisiol. Cyffesodd Petr yn enw y Deuddeg; yma cywira yr Iesu, nid ei gyffes, ond ei chymhwysiad at y Deuddeg. "O honoch chwi y mae un yn ddiafol." Ystyr y gair "diafol" yw gwrthwynebwr neu enllibiwr; a chrêd Luther, Grotius, a De Wette mai yn yr ystyr hwn y dylid deall yr ymadrodd. Ond yn y Test. Newydd yn ddieithriad cymhwysir *diabolos* at dywysog y cythreuliaid, a *daimon* at y mân gythreuliaid. Ond gan fod y fanod yn absenol yma, dynodir nid person yr Ysbryd Drwg, ond ei anian annuwiol. Yr oedd rhagorfreintiau crefyddol Judas yn nghymdeithas yr Iesu, yn lle ei goethi a'i gyfnewid i ddelw Duw, yn ei suro a'i gyfnewid i ddelw y diafol. Megid anian ddieflig o'i fewn—penderfyniad y diafol i wneuthur drygioni yn ngwyneb pob dylanwadau sancteiddiol i'r gwrthwyneb. Ychydig fisoedd ar ol hyn dywedodd yr Iesu wrth yr Apostol Petr, "Dos yn fy ol i, Satan" (Matt. xvi. 23). Paham? Am fod Petr newydd roddi datganiad i egwyddor Satanaidd—"Trugarhâ wrthyt dy hun, ni fydd hyn i ti; chei di ddim marw." Egwyddor Satanaidd, meddai yr Iesu, gwneyd fy hapusrwydd fy hun yn rheol bywyd: yr egwyddor Ddwyfol yw, nid hapusrwydd, ond daioni; nid hunan-foethder, ond hunan-aberthiad; nid fy lles fy hun, ond lles llaweroedd. Ac yma geilw Judas, nid yn Satan, ond yn ddiafol. Paham? Am ei fod yn barod i werthu Daioni, y Daioni uchaf, y Daioni Dwyfol, am Dair punt a chweigain! Ynddo ef yr oedd Drygioni ar gyrhaedd, os nad oedd eisoes wedi cyrhaedd, pwynt rhy ofnadwy i'w ddiwygio—yr oedd ei ddrygioni, fel drygioni y diafol,

am Judas Iscariot, *mab* Simon: canys hwn oedd ar fedr ei fradychu ef, ac efe yn un o'r deuddeg.

---

yn anfeddyginiaethol. Y mae dyfaliad Godet iddo yn y diwedd dderbyn "edifeirwch er maddeuant" yn rhedeg yn wrthwyneb i holl ddysgeidiaeth y Test. Newydd (xiii. 2; xiii. 27; Act. i. 16–20). Cafodd yr "edifeirwch sydd yn gweithio angeu" (2 Cor. vii. 10) fel y dengys Matt. xxvii. 3; ond nid yr "edifeirwch sydd i iachawdwriaeth." Y gair am edifeirwch Judas yw *metameleía*, yr hwn a olyga boen meddwl yn hytrach na chyfnewidiad meddwl; ond y gair am edifeirwch i fywyd yw *metanoía*—cyfnewidiad meddwl yn hytrach na phoen meddwl.

**ADN. 71. Eithr Efe a ddywedasai am Judas, mab Simon Iscariot.** Mewn Ysgrythyrau eraill cysylltir Judas âg Iscariot; ond yma ei dad Simon, yn ol y prif lawysgrifau. Gwyddir mai y ffurf Roegaidd yw Judas ar yr enw Hebreig Judah,—enw anrhydeddus a chyffredin iawn yn mhlith yr Iuddewon. Beth yw ystyr Iscariot? Rhydd y dysgedigion amryw darddiadau i'r gair; ond ni chawn ni enwi ond tri o'r rhai mwyaf tebygol. (1) Awgryma Lightfoot ei fod yn ddeilliedig o *scortea*—ffedog ledr, ac i'r enw gael ei gymhwyso at Judas oherwydd mai yn y ffedog hon yr oedd y pwrs, ac felly cyfystyr yw Judas Iscariot â "Judas â'r gôd ganddo" (xiii. 29). (2) Awgryma Lightfoot hefyd, ar ol Origen, y gall ei fod yn ddeilliedig o *ascara*—llindagu, ac felly mai ar ol ei farwolaeth trwy grogi neu lindagu y rhoddwyd yr enw gwarthruddus arno. (3) Ond os yw y darlleniad uchod o'r adnod hon yn gywir, priodolid yr enw i'r tad yn gystal ag i'r mab, ac felly gorfodir ni i chwilio am ystyr arall, gan nad yw y ddau flaenorol yn gymhwysiadol at y tad. Felly barna dysgedigion yr oes hon mai yr ystyr yw—Ish-Kerioth, dyn o Kerioth, dinas yn Judah (Jos. xv. 25). Os felly, Judas oedd yr unig ddysgybl ag oedd yn enedigol o Judea. **Canys hwn oedd ar fedr ei fradychu Ef un o'r deuddeg.** Ail-adrodda Ioan y frawddeg "un o'r deuddeg," nid yn unig i ddangos erchylldod y bradychiad, ond hefyd arswyd ei galon ei hun. Anhawdd rhoddi cyfieithiad hollol gywir o'r gair *'émellen*,—"ar fedr." Pe dywedem fod Judas yn awr yn bwriadu ei fradychu, dywedem ormod; ar y llaw arall, pe dywedem gyda Meyer nad oedd eto yn meddwl am ei fradychu, dywedem ry fach. Ymddengys mai y diwrnod hwn y dechreuodd Judas led-feddwl am y bradychiad—nid oedd eto yn fwriad nac hwyrach yn feddwl cyson; ond disgynodd yr hedyn i'w galon, magodd yntau yr hedyn, nes, yn xiii. 2, y ffrwythodd mewn gweithred addfed, berffeithiedig. Ymunodd âg Ef yn y disgwyliad o fudd daearol iddo ei hun—credai mai Efe oedd y Messiah; a chredai yr enillai fel Messiah orsedd ddaearol, pryd y gwobrwyid yntau â swydd uchel yn y llywodraeth. Ond pan welodd yr Iesu yn gwrthod Coron ar law y Galileaid, ac yn llefaru mewn ardull tramgwyddus i'r bobl, saethodd y meddwl drwyddo i'w fradychu i'w elynion; croesawodd y meddwl, rhoddodd lety iddo yn ei galon. Ar ol y meddwl drwg daeth yr ysbryd drwg. "Wedi i ddiafol eisoes roi yn nghalon Judas i'w fradychu Ef" (xiii. 2)—dyna y meddwl drwg wedi ei roi cyn y Swper, yn amser y bregeth yn Capernaum. "Yna yr aeth Satan i mewn iddo" (xiii. 27)—dyna yr Ysbryd drwg yn dilyn y meddwl drwg! Mewn gwledydd poethion tyfa chwŷn yn gyflym a rhongc ryfeddol.

# PENNOD VII.

A'R Iesu a rodiodd ar ol y pethau hyn yn Galilea: canys 1
nid oedd efe yn chwenuych rhodio yn Judea, oblegid
bod yr Iuddewon yn ceisio ei ladd ef. A gwyl yr Iuddewon, 2

---

## PENOD VII.

DECHREU GŴYL Y PEBYLL—YR IESU A'I FRODYR. ADN. 1—13.

**ADN. 1. Ar ol y pethau hyn.** Y rhif luosog i ddangos llacrwydd y cysylltiad. Cymerodd dygwyddiadau y benod flaenorol le yn amser Gŵyl y Pasg, yn nechreu Ebrill (vi 4); dygwyddiadau y benod hon yn amser Gŵyl y Pebyll, yn mis Hydref. Gan hyny, y mae Ioan yma yn llamu dros chwech mis o weinidogaeth yr Iesu. **Yr Iesu a rodiodd oddiamgylch yn Galilea.** Y mae y ferf yn yr amser anmherffaith i arwyddo parhâd. Awgryma hyn nad aeth yr Iesu i fynu i Jerusalem i'r Pasg, er iddo draddodi pregeth yn Capernaum ag oedd yn gosod allan wirioneddau sylfaenol yr ŵyl. Ond wedi gwrthgiliad ei ddysgyblion mewn canlyniad i'r bregeth hono, rhodiodd oddiamgylch Galilea, yn cael ei ddilyn gan y Deuddeg ac ychydig ffyddloniaid eraill, gan egluro iddynt ddirgelion teyrnas nefoedd. Yn ystod y chwe mis hyn y cymerodd le ei ddadl â'r Phariseaid (Matt. xii.), y traddododd ddameg yr hauwr a damhegion eraill (Matt. xiii.), yr ymwelodd â chyffiniau Tyrus a Sidon, â'r Decapolis a Cesarea Phillipi, lle y gwnaeth Petr y gyffes fythgofiadwy, "Ti yw y Crist, Mab y Duw byw" (Matt. xvi.); ac yn yr adeg hon, y mae yn debyg, y cymerodd y Gweddnewidiad le (Matt. xvii.). Cydnebydd Ioan yma y gwyddai am weinidogaeth yr Iesu yn Galilea; ond nid yw yn adrodd yr hanes am ddau reswm. Yn gyntaf, am fod yr efengylwyr eraill wedi ei groniclo; ac yn ail, oblegid mai dadblygiad y ddadl rhwng yr Iesu a'r Iuddewon—llywodraethwyr crefydd y genedl—oedd un o'i amcanion yn ysgrifenu. **Canys nid oedd Efe yn chwenych rhodio yn Judea, oblegid bod yr Iuddewon yn ceisio ei ladd Ef.** O ddechreu ei weinidogaeth yr oedd y swyddogion eglwysig hyn yn wrthwynebol iddo (ii. 18; v. 18; vi. 66); ar ol iachâd y claf ar y Sabbath ceisient ddwyn oddiamgylch ei farwolaeth. Yr oedd eu digofaint mor chwerw fel nad ystyriai yr Iesu ei fywyd yn ddyogel yn Jerusalem oddigerth pan oedd yn bresenol ddigon o bobl ffafriol iddo o'r wlad i'w amddiffyn—doethach oedd iddo athrawiaethu yn Galilea.

**ADN. 2. A gŵyl yr Iuddewon, sef gŵyl y Pebyll, oedd yn agos.** Pa mor agos ni allwn ddyweyd—feallai fis, feallai wythnos. Nis gallasai fod yn llai nag wythnos, oherwydd cymerasai rai diwrnodau i'r brodyr i deithio i Jerusalem, a rhai diwrnodau ychwanegol iddynt i ymburo ar gyfer yr ŵyl. Am natur ac amcan yr ŵyl darllener Ex. xxiii. 16; xxxiv. 22; Lef. xxiii. 39, 42, 43; Deut. xvi. 13. Felly yr oedd i'r ŵyl hon, fel i'r Pasg a'r Pentecost, ddau reswm: un yn hanesyddol ac yn gysylltiol a gwaith Duw yn ffordd ei ras; y llall yn naturiol ac yn gysylltiol a gwaith Duw yn nhrefn natur; ac oblegid y ddau reswm hyn yr oedd i'r gwyliau ddau enw—un yn gosod allan y wedd grefyddol, y

3 *sef* gwyl y pebyll, oedd yn agos. Am hynny ei frodyr ef a
ddywedasant wrtho, Cerdda ymaith oddi yma, a dos i
Judea; fel y gwelo dy ddisgyblion dy weithredoedd di y

---

llail yn gosod allan y wedd naturiol. Enw crefyddol yr ŵyl yn Ebrill oedd y Pasg; yr enw naturiol oedd Gŵyl y Bara Croew. Yr enw crefyddol ar yr ŵyl saith wythnos yn ddiweddarach oedd y Pentecost; yr enw naturiol oedd Gŵyl Cynhauaf Blaenffrwyth. Yr enw crefyddol ar yr ŵyl yn Hydref oedd Gŵyl y Pebyll, i adgofio y genedl o breswyliad eu tadau mewn pebyll yn yr anialwch; yr enw naturiol oedd Gŵyl y Cynull, i enyn diolchgarwch yn eu mynwesau am gael i ddiddosrwydd y cynhauaf ŷd a'r cynhauaf gwin. Y mae gras bob amser yn cadw gafael mewn hanes, ac y mae y gwyliau crefyddol yn cael eu sylfaenu ar ffeithiau naturiol. Dechreuai Gŵyl y Pebyll ar y 15fed dydd o fis Tisri, yn cyfateb i'n mis Hydref ni, a pharhâi am saith niwrnod; ond ymddengys fod y genedl wedi cysylltu a hi wythfed dydd i adgofio ei hun am ei mynediad i Ganaan, ac ystyrid y dydd hwn ar lawer o gyfrifon yn bwysicach na'r dyddiau blaenorol—hwn oedd "dydd mawr" yr ŵyl. Aberthid yn ystod yr ŵyl 70 ychain: triarddeg y dydd cyntaf, ac yna un yn llai bob dydd. Disgwylid pob gwrryw yn Israel i fyned i fynu i un o'r tair gŵyl—y Pasg, y Pentecost, neu y Pebyll; ac o'r tair hyn, dywed Josephus a Philo mai y Pebyll oedd y mwyaf poblogaidd. Cydgyfarfyddai amryw bethau i chwyddo ei phoblogrwydd. (1) Trigent mewn pebyll wedi eu gwneyd o gangau'r gwŷdd, yr hyn ynddo ei hun oedd yn amrywiaeth adloniadol, gan y troai yr ŵyl yn fath o *picnic* cenedlaethol. (2) Gorchymynid iddynt ddwyn yn eu dwylaw "ffrwyth pren prydferth, canghenau palmwydd, a brig pren caeadfrig, a helyg afon" (Lef. xxiii. 40). Dadblygai hyn lawer o fywiogrwydd a llawenydd—atdyniad cryf i'r cyhoedd bob amser. Cymaint oedd y rhialtwch un amser fel y galwai Plutarch yr ŵyl yn wledd Bacchus.

**ADN. 3. Am hyny ei frodyr Ef a ddywedasant wrtho.** Gan nad oedd yr Iesu wedi bod yn ngŵyl y Pasg yn y gwanwyn nac yn ngŵyl y Pentecost saith wythnos yn ddiweddarach, barnai ei frodyr yn rhesymol iddo fyned i ŵyl y Pebyll yn yr Hydref. Pwy oedd ei frodyr? Gwel ar ii. 12. Prawf yr adnod hon o'i chysylltu ag adn. 5, mai nid ei gefnderwyr, meibion Alpheus, oeddynt, canys yr oedd y rhai hyny yn awr yn yr apostoliaeth. Ond gedy y geiriau y cwestiwn yn agored ai meibion Joseph oeddynt o briodas flaenorol, ynte meibion o'r un fam â'r Iesu. Yn ein bryd ni nid oes fawr rym yn yr awgrym a rydd Westcott, i ategu ei ddamcaniaeth mai meibion Joseph o briodas flaenorol oeddynt, fod eu heofndra yn profi eu bod yn henach na'r Iesu,—nid oes dim yn ymresymiad y brodyr yn anghydweddol â'r dybiaeth mai brodyr ieuangach oeddynt. **Cerdda oddiyma, a dos ymaith i Judea; fel y gwelo dy ddysgyblion dy weithredoedd di y rhai yr ydwyt yn eu gwneuthur.** Pwy a feddylir wrth y dysgyblion yma? (1) Etyb Godet, Tholuck, a De Wette mai y dysgyblion yn Judea a Jerusalem. Dengys iv. 1 i'r Iesu fedyddio llawer yn Judea, ac felly yr oeddynt yn ddysgyblion mewn enw iddo. (2) Crêd Meyer, Westcott, a Hengstenberg mai ei ddysgyblion yn gyffredinol trwy y wlad, y rhai a gyrchent i Jerusalem

rhai yr ydwyt yn eu gwneuthur. Canys nid oes neb yn 4
gwneuthur dim yn ddirgel, ac yntau yn ceisio bod yn
gyhoedd: od wyt ti yn gwneuthur y pethau hyn, amlyga
dy hun i'r byd. Canys nid oedd ei frodyr yn credu ynddo. 5

---

ar yr ŵyl. Ond barnwn ni, pe y gofynid i'r brodyr eu hunain ddeffinio yn bendant eu meddwl, y teimlent grŷn anhawsder.

**ADN. 4. Canys nid oes neb yn gwneuthur dim yn ddirgel, ac yntau yn ceisio bod yn gyhoedd.** Yr ymadrodd (*en parrhêsia*) a gyfieithir yn Act. iv. 13 a 2 Cor. iii. 12 yn "hyfder"; ond yn x. 24; xi. 14, 54; xvi. 25, 29, cyfieithir ef yn "eglur." Os dodwn y gair "hyfder" i mewn yn yr adnod hon, bydd y synwyr yn gloff; am hyny, gwell ei gymeryd yn yr ystyr o "eglur," a'r gair "eglur" yn yr ystyr o "gyhoeddus." Nid eu meddwl oedd fod yr Iesu yn cyflawni ei wyrthiau mewn ffyrdd a manau dirgelaidd fel yr ysbrydegwyr yn eu *seances*, ond fod Galilea yn anghysbell a dinod o'i chydmaru a Jerusalem. Paham yr ydwyt yn cyflawni dy wyrthiau yn nghanol y wlad, a thithau yn chwenych cyhoeddusrwydd? Paham nag ei di i Jerusalem a gwneyd dy wyrthiau yno, i bawb gael cyfle i weled a barnu? **Os wyt ti yn gwneuthur y pethau hyn, amlyga dy hun i'r byd.** Nid "os" o amheuaeth am wirioneddolrwydd y gwyrthiau, ond rheswm dros ffurf eu cynghor. "Amlyga dy hun i'r byd"—cerdd i'r ŵyl i Jerusalem, cei yno gyfle i gyrhaedd cyhoeddusrwydd gogymaint â'r genedl. Nid oes i'r ymadrodd ystyr dduwinyddol ar wefus y brodyr; ond cawn weled fod yr Iesu yn ei ateb yn cyfranu meddwl duwinyddol iddo—meddwl rhy ddwfn i amgyffredion ei frodyr.

**ADN. 5. Canys nid oedd ei frodyr yn credu ynddo.** Beth yw y meddwl? (1) Gorfodir Westcott, Lange, a Hengstenberg, gan eu damcaniaeth am wyryfdod parhaus Mair, i ddadleu mai ffordd gref Ioan sydd yma o osod allan ffydd wan y brodyr. Yr oeddynt yn credu ond yn eiddil, ac engraipht sydd yma o ffydd eiddil yn pallu. Y mae yn wir y cydnebydd Ioan raddau mewn ffydd; ond yma diddyma y gwahaniaeth rhwng ffydd ac anghrediniaeth. (2) Am hyny, barnwn ni gyda Meyer, Godet, a Luthardt y bwriadai Ioan ddysgu fod y brodyr mewn ystâd o anghrediniaeth. Ond dengys yr hanes iddynt ddyfod i gredu ynddo ar ol hyn. Ymddangosodd yr Iesu i Iago, yr henaf o'r brodyr, ar ol ei adgyfodiad (1 Cor. xv. 7); arweiniodd hyny i argyhoeddiad Iago a gweddill y teulu; ac mewn canlyniad cawn hwy yn y cyfarfod gweddi **yn yr oruwch-ystafell (Act. i. 14).**

Beth oedd yn cymhell ei frodyr i ymyryd yn awr â'r Iesu? (1) Etyb Lange a Westcott mai eu cyfeillgarwch, ac nad oes yma ond cynghor caredig. (2) Etyb Godet eu bod mewn dyryswch meddyliol, ac y galwant arno yn awr i wneyd un o ddau beth—amlygu ei hun neu gilio o'r golwg. (3) Yn ein bryd ni y mae y ddau ateb yn hollol gyson â'u gilydd, a'r ddau yn wir. Diamheu genym fod teimladau naturiol cynhes yn eu mynwesau at yr Iesu fel eu brawd. Yn Marc iii gwelwn hwy yn dyfod i'w amddiffyn y foment y tybient fod perygl yn ei fygwth,—pa un ai oddiwrth gynllwynion eraill ai oddiwrth ei frwdfrydedd eithafol ei hun. Ond yr oedd ei gymeriad a'i fuchedd yn ddirgelwch iddynt—ni

6 Yna yr Iesu a ddywedodd wrthynt hwy, Ni ddaeth fy
amser i etto: ond eich amser chwi sydd yn wastad yn
7 barod. Ni ddichon y byd eich casâu chwi; ond myfi y

---

fedrent amgyffred amcan ei weithrediadau, ac yr oedd hyny yn eu cyffroi; ond cariad cyffrous ydoedd, ac nid gelyniaeth gyffrous. Yr oedd yn gwneyd llawer o sôn am dano trwy ei areithiau a'i weithredoedd nerthol; ac mor bell a hyny, diau y teimlent yn falch o'u perthynas ag Ef. Ond, ar y llaw arall, yr oedd yn creu gelynion lawer, y rhai a wnaent sylwadau diraddiol am dano; ac adlewyrchai hyny drachefn yn anffafriol arnynt hwy fel teulu. Parhaodd hyn am ddwy neu dair blynedd; a chan na chredent ynddo fel Messiah ysbrydol, yr oeddynt yn awr yn dechreu colli eu hamynedd, a dymunent ar yr Iesu i gymeryd cam buan a phenderfynol i roddi terfyn ar y mater. Braidd na feddyliem mai yr un egwyddor oedd yn eu cymhell hwy i ymyryd yn awr ag a gynhyrfodd Mair i'w gyfarch yn y briodas—awydd cryf iddo ddangos yn gyhoeddus a therfynol ei ogoniant Messianaidd, y fath ogoniant ag y medrent hwy synied am dano, neu ynte gilio i neillduedd. Cawn weled yn yr adnod nesaf fod ei ateb iddynt yn gyffelyb mewn egwyddor a brawddegiad i'r ateb a roddodd i'w fam.

**ADN. 6. Yr Iesu gan hyny a ddywed wrthynt.** Yr amser presenol er mwyn bywiogrwydd. **Ni ddaeth fy amser i eto.** Golyga y gair am amser (*kairos*), yr hwn ni ddefnyddir ond unwaith yn yr efengyl hon, amser cyfaddas neu briodol, ac y mae bron yn gyfystyr a chyfleusdra. Wrth ei fam dywedodd, Ni ddaeth fy awr i eto; ond wrth ei frodyr, Ni ddaeth fy amser i eto. Beth yw y gwahaniaeth rhwng yr "awr" a'r "amser"? Barnwn fod yr "awr" yn cyfeirio at yr amser rhag-ordeiniedig gan y Tad—amser yn ei berthynas â'r cynlluniau dwyfol; ond "amser" at yr adeg fwyaf cyfleus a manteisiol o safle dyn—amser yn ei berthynas â chynlluniau dynol. Gan hyny, yr ystyr ydyw: Nid yn awr yw yr adeg fwyaf cyfaddas i'r dybenion sydd genyf fi mewn golwg, er eich bod chwi yn barnu felly; rhaid i mi aros nes i'r adeg briodol ddyfod. Amcanai yr Iesu yn ddieithriad wneyd y gwaith iawn ar yr amser iawn—yr amser cyfaddas. **Ond eich amser cyfaddas chwi sydd yn wastad yn barod.** Nid oedd ganddynt hwy yr un gwaith pwysig mewn llaw, gwaith ag ydoedd yn ei gwneuthur yn ddoeth ac angenrheidiol iddynt i astudio yr amserau. Rhaid i'r gwr sydd yn gweithio wrth gynllun i gyrhaedd amcanion pwysig wylied ei gyfle; ond am y dynion sydd yn byw yn ddibwrpas, ac felly yn ddigynllun, gallant hwy fyned a dyfod fel y mynant, y mae eu hamser hwy yn wastad yn barod,—iddynt hwy y mae y naill ddiwrnod yn gystal â'r llall.

**ADN. 7. Ni all y byd eich cashau chwi.** Yr ydych chwi a'r byd o'r un ysbryd ac egwyddor, a deddf y tebyg yw tynu at ei debyg. Beth a feddylir yma wrth y byd? Yn adn. 4, y mae yn amlwg mai trigolion y byd a feddylir, yn annibynol ar gymeriad; ond yma dynion annuwiol neu anghrediniol. Ond paham y gelwir dynion anghrediniol yn "fyd"? Paham y gelwir dynion a'r pridd ar yr hwn y sangant wrth yr un enw? Am eu bod trwy eu hanghrediniaeth yn anabl i amgyffred yr ysbrydol, ac

mae yn ei gasâu, o herwydd fy mod i yn tystiolaethu am
dano, fod ei weithredoedd ef yn ddrwg. Ewch chwi i 8
fynu i'r wyl hon : nid wyf fi etto yn myned i fynu i'r wyl
hon, oblegid ni chyflawnwyd fy amser i etto. Gwedi 9

---

wedi darostwng eu hunain mewn canlyniad i lefel y daearol. I ddynion anianol nid oes ond pridd a'i briodoliaethau, mater a'i ddeddfau; iddynt hwy nid yw yr ysbrydol, y dwyfol, y goruwchnaturiol, yn bod. Y mae mater yn allwedd ddigonol i esbonio eu holl fywyd. Paham y croesant foroedd ac y dringant fynyddoedd, gan beryglu eu heinioes? Am fod pridd o liw melyn, yr hwn a alwant hwy yn aur. Paham y codant yn foreu ac yr aent yn hwyr i gysgu? Am fod ychydig aceri o bridd ar werth yn Mro Morganwg neu Ddyffryn Clwyd, ac y maent hwy wedi gosod eu bryd ar iddo fod yn bridd iddynt hwy, ac i neb arall. Paham y llafuriant yn galed trwy gydol y flwyddyn nes gwargamu o honynt ar ganol eu dyddiau? Am fod ychydig o dunelli o glai wedi ei ddirwasgu yn briddfeini, a'r priddfeini wedi eu pentyru ar eu gilydd i wneyd yr hyn a alwant hwy yn dai, a chwenychant hwy eu galw ar eu henwau eu hunain. Mater, pridd, clai, sydd ddigonol i ddatgloi holl ddirgelion eu bywyd. Byd ydynt. **Ond myfi y mae yn ei gashau.** Paham? Oblegid nid ydynt o'r un anianawd a'u gilydd. Y mae yr elfenau sydd yn y byd a'r elfenau sydd yn Nghrist yn wrthwynebol i'w gilydd, ac y mae y gwrthwynebrwydd yn cynyrchu cynhwrf a gwrthdarawiad. **Oherwydd fy mod i yn tystiolaethu am dano, fod ei weithredoedd ef yn ddrwg.** Yn yr ŵyl gyntaf yn Jerusalem condemniodd ymddygiad swyddogion crefydd yn y deml (ii. 13–17), yr hyn a enynodd eu llid, a thrwy ei oes gwrthdystiai yn erbyn rhagrith—drygioni yn ngwisgoedd daioni.

**ADN. 8.** Gwyddom am o leiaf chwech o wahanol esboniadau ar yr adnod hon; ond y mae yr amrywiaeth yn yr esboniadau i gyfrif am dano i raddau mawr, os nad yn hollol, gan amrywiaeth yn y darlleniadau. **Ewch chwi i fynu i'r ŵyl.** Rhodder y pwyslais ar "chwi." Nid yw o ddim pwys esboniadol pa un a ddarllenwn yr "ŵyl hon" fel yn y Cyfieithiad Cymraeg, ynte "yr ŵyl" fel yn y Cyf. Diw. Yr oedd cyd-ymgynghoriad yn y teulu yn nghylch yr ŵyl, yr amser a'r ffordd i fyned iddi; cynygiai y brodyr iddynt oll fyned i fynu gyda'u gilydd yn yr un carafan, yn ol arfer teuluoedd y wlad. "Ewch chwi," ebai yr Iesu, "i **fynu gyda'ch gilydd i'r ŵyl.**"

Yr ydym yn awr yn dyfod at yr adran anhawdd, ac er mwyn trefnusrwydd dosbarthwn y gwahanol farnau yn ol y gwahanol ddarlleniadau. Y darlleniad cyntaf yw: **Nid wyf fi yn myned i fynu i'r ŵyl, oblegid ni chyflawnwyd fy amser i eto.** Dyna y darlleniad a fabwysiedir gan Tregelles, Tischendorf, a Meyer. (1) Ar y darlleniad hwn, mewn cysylltiad ag adn. 10, sylfaena Porphyry a'r esbonwyr anghrediniol gyhuddiad o wamalrwydd yn erbyn yr Iesu—yn yr adnod hon yn dysgu nad oedd yn myned i'r ŵyl, ac yn adn. 10 yn myned. Ond nid oes gan neb hawl i esbonio yr ymddiddan mewn ffordd anffafriol i gymeriad cyffredinol yr Iesu, os oes ffordd arall i'w esbonio; ac yn yr enghraipht hon y mae ffordd arall. (2) Barna Meyer fod yr Iesu yn hollol onest a thryloew pan yn mynegu i'w frodyr nad oedd yn myned i fynu i'r ŵyl—dyna y

iddo ddywedyd y pethau hyn wrthynt, efe a arhosodd yn Galilea.

---

pryd hwnw oedd ei benderfyniad. Ond ar ol eu hymadawiad hwy, mewn canlyniad i awgrymiadau rhagluniaeth neu lais tufewnol oddiwrth ei Dâd, newidiodd ei feddwl ac aeth i fynu i Jerusalem. Y mae yr esboniad hwn yn rhyddhau yr Iesu o bob adlewyrchiad anffafriol ar ei eirwiredd, ac yn symud pob staen oddiar ei gymeriad; eithr barna rhai ei fod yn anghyson ag eglurder arferol ei ganfyddiad ysbrydol. Nid ydym ni yn gweled dim ynddo yn erbyn uniongrededd o barth i berson dwyfol-ddynol yr Iesu; canys, os oedd yn Dduw perffaith, yr oedd hefyd yn ddyn perffaith. Y mae hwn yn esboniad da, os na ellir ei well.

Yr ail ddarlleniad yw: **Nid wyf fi eto yn myned i fynu i'r ŵyl hon, oblegid ni chyflawnwyd fy amser i eto.** Dyna y darlleniad a fabwysiedir gan Scrivener, Westcott a Hort, a'r Cyf. Diw. Y mae yr "eto" yn gwneyd cryn lawer o wahaniaeth yn y meddwl. (1) "Nid wyf fi yn myned i'r ŵyl"—y ferf yn yr amser presenol; nid "Nid af i'r ŵyl"—yn y dyfodol. "Nid wyf fi eto yn myned i'r ŵyl"—dim eto, awgrym yr ä yn ddiweddarach. Y mae yr esboniad hwn yn hollol gyson â gramadeg y darlleniad ac â ffeithiau yr hanes, a mabwysiedir ef gan Plummer ac eraill. (2) "Nid wyf fi eto yn myned i'r ŵyl," h.y., i gadw yr ŵyl. Nid yw yn gwadu nad aiff i Jerusalem, ond dywed nad aiff yno i gadw yr ŵyl—i gymeryd rhan yn ei defodau a'i seremoniau. Dyma y golygiad a gynygir gan Cyril a Lange.

Y trydydd darlleniad yw: **Ewch chwi i fynu i'r ŵyl hon; nid wyf fi eto yn myned i fynu i'r ŵyl hon, oblegid ni chyflawnwyd fy amser i eto.** Dadleua Godet fod y rhagenw "hon" yn bwysleisiol; ac os darllenir yr adnod felly, gwelir ar unwaith fod y cyferbyniad, nid rhwng y diwrnod yr ymddiddanai yr Iesu â'i frodyr a'r diwrnod y cychwynai Efe i Jerusalem, ond rhwng yr ŵyl hon a rhyw ŵyl ddyfodol. Os dyma y darlleniad cywir, rhaid cyfaddef y rhydd synwyr da, a synwyr sydd yn gydweddol a holl rediad dysgeidiaeth yr Iesu. Rhaid esbonio yr ymadrodd hwn yn ngoleuni yr holl baragraph. Beth oedd amcan yr ymddiddan? Perswadio yr Iesu i fyned i Jerusalem i "amlygu ei hun i'r byd"—i egluro i'r genedl ei hawliau Messianaidd, ac i'w hargyhoeddi o wirionedd ei hawliau, eu gorfodi trwy gyflawni gwyrthiau ar raddfa ehang i'w gydnabod. Ewch chwi i fynu, ebe yr Iesu, nid wyf fi eto yn myned i fynu i'r ŵyl hon—dim eto, dim yn awr, fel y dywed Chrysostom, gan adael ei ffordd yn glir i fyned i fynu yn ddiweddarach. Os rhoddes bwyslais ar "eto" yn ei ymddiddan â'i frodyr, megis y credwn iddo wneyd yn ei ymddiddan â'i fam (gwel ar ii. 4), cynwysai awgrym yr elai i fynu yn ddiweddarach. Heblaw hynyna, nid oedd yn myned i fynu "i amlygu ei hun i'r byd"—i wneyd arddangosiad o'i allu a'i ogoniant Messianaidd. "Nid wyf fi eto yn myned i fynu i'r ŵyl hon," i amlygu fy hun, gan ledawgrymu yr elai i'r ŵyl nesaf, i amlygu ei hun,—i ddwyn ei yrfa Fessianaidd i ddiwedd terfynol. "Oblegid ni chyflawnwyd fy amser i eto," neu, "nid yw fy amser i eto wedi llawn ddyfod." Yn adn. 6 dywed, "Ni ddaeth fy amser i eto"; yma, "nid yw fy amser i wedi llawn ddyfod." Pa amser? Yr amser i fyned i fynu i'r ŵyl; ond nid hyny yn unig, eithr yr amser i fyned i fynu i'r ŵyl i amlygu ei hun. Nid

Ac wedi myned o'i frodyr ef i fynu, yna yntau hefyd a 10
aeth i fynu i'r wyl; nid yn amlwg, ond megis yn ddirgel.
Yna yr Iuddewon a'i ceisiasant ef yn yr wyl, ac a ddywed- 11

---

oedd hwnw wedi dyfod. Daeth i raddau yn mhen ychydig ddyddiau ar ol i'w frodyr gychwyn; ond ni ddaeth yn llawn hyd yr ŵyl ganlynol. Y pryd hwnw yr aeth i fynu i Jerusalem i amlygu ei hun,—aeth i fynu yn gyhoeddus yn ei gymeriad Messianaidd—brenhin Seion yn marchog ar asyn i gymeryd meddiant o'i frenhiniaeth, a'r torfëydd yn ei ddilyn, gan waeddu, "Hosanna i Fab Dafydd; bendigedig yw yr hwn sydd yn dyfod yn enw yr Arglwydd." Ymddengys i ni mai dyna y meddwl. Nid croniclo ymddiddan teuluol, lle yr oedd ychydig annealldwriaeth, yw amcan Ioan, ond yr ymddiddan yn ei gysylltiad â'r gwaith Messianaidd,—yr Iesu yn awr yn meddwl am yr amlygiad mawr yn yr ŵyl nesaf. Nid damweiniau oedd amgylchiadau y Croeshoeliad—yr oedd yr Iesu yn eu rhagweled ac yn parotoi ar eu cyfer. Yn amser gŵyl y Pebyll yn yr Hydref meddylia am ŵyl y Pasg yn y Gwanwyn—pan yr amlygai ei hun, nid trwy arddangosiad o'i allu, ond trwy arddangosiad o'i gariad. Gan hyny, yn lle bod yn brawf o anwybodaeth yr Iesu am y dyfodol, prawf yw yr ymddiddan, o'i lawn ddeall, o'i ragwybodaeth, ac o ddyfnder ei fyfyrdodau ac eglurder ei ganfyddiad hyd yn nod yn y cylch teuluaidd.

**ADN. 10. Ond wedi myned o'i frodyr Ef i fynu i'r ŵyl, yntau ei hunan a aeth i fynu.** Dyna, y mae yn debyg, yw y darlleniad cywir. Felly ni ddywedir i'r Iesu fyned i fynu i'r ŵyl, ond i Jerusalem—dull o frawddegu ag y rhydd pleidwyr esboniad Cyril a Lange lawer o bwys arno. Yn bersonol ni welwn ni fawr o wahaniaeth rhwng myned i fynu i Jerusalem ar yr wyl a myned i fynu i'r ŵyl yn Jerusalem. Y naill ffordd neu y llall yr oedd yn bresenol yn yr ŵyl, ac yn egluro i'r tyrfäoedd ei seremoniau (vii. 37; viii. 12; viii. 20). **Nid yn amlwg, ond megis yn ddirgel.** Cerdd i fynu i'r ŵyl, meddai ei frodyr, amlyga dy hun i'r byd. Na, etyb yr Iesu, nid wyf fi yn myned i fynu i'r ŵyl hon i amlygu fy hun,—nid yw yr amser yn addfed i hyny eto. Felly, ysgrifena yr efengylwr, "Efe a aeth i fynu, nid yn amlwg," gyda y carafan ac yn nghymdeithas y miloedd, "ond megis yn ddirgel." Yn lle chwenych cyhoeddusrwydd i'w symudiadau, fel yr annogai ei frodyr Ef, astudia y modd i drafaelu o le i le mor ddistaw a didramgwydd ag oedd bosibl. Pa ffordd a gymerodd i fyned i fynu i'r brif-ddinas? Nid yw yr efengylwyr yn ein hysbysu; ond gan mai ffordd arferol y Galileaid oedd trwy Perea, y tu hwnt i'r Iorddonen, casglwn i'r Iesu fyned trwy Samaria, lle y gallasai osgoi pob cythrwfl a dueddai i frysio ei farwolaeth. Y mae yr ymadrodd, "megis yn ddirgel," yn ymddangos fel yn cau allan y daith a grybwyllir yn Luc ix. 51, a'r daith a grybwyllir yn Matt. xix. 1, 2, gan fod y teithiau hyn yn rhai cyhoeddus.

**ADN. 11. Yna yr Iuddewon**—penaethiaid crefydd yn y genedl—"**a'i ceisiasant Ef yn yr ŵyl.** Prawf hyn fod berw mawr yn mhob cylch o gymdeithas o berthynas iddo. Efe oedd testyn ymddiddan gwreng a bonheddig, tref a gwlad. **Ac a ddywedasant, Pa le y mae Efe?** Yr

12 asant, Pa le y mae efe? A murmur mawr oedd am dano
ef ym mysg y bobl. Canys rhai a ddywedent, Gwr da yw:
ac eraill a ddywedent, Nag ê; eithr twyllo y bobl y mae.
13 Er hynny ni lefarodd neb yn eglur am dano ef, rhag ofn
yr Iuddewon.

---

"Efe" yn bwysleisiol. Cymaint oedd eu cynddaredd tuag ato a'u dirmyg o hono, meddai Luther, fel na fynent yngan ei enw. Mŷn rhai esbonwyr aralleirio, *Where is the fellow?*

**ADN. 12. A murmur mawr oedd am dano Ef yn mhlith y torfeydd,** sef y bobl oedd wedi cynull i'r ŵyl o holl gyrion y wlad, ac yn tori i fynu yn wahanol finteioedd bychain ar hyd y dref. Yr Iesu oedd testyn ymddiddan pob mintai. Golyga y gair "murmur" (*goggusmos*) sisial, sibrwd, pa un a'i mewn grwgnachrwydd ai mewn cymeradwyaeth. (Gwel ar vi. 43). **Canys rhai a ddywedent, Gwr da yw; ac eraill a ddywedent, Nage; eithr arwain y bobl ar gyfeiliorn y mae.** Nid yr oedd yn twyllo ei hunan, ond yr ydoedd yn twyllo y cyhoedd; felly ni allasai fod yn ddyn "da"—dyn gonest, gloew, a phur ei amcanion. Anhawdd i ni sylweddoli y teimlad cynhyrfus oedd wedi meddiannu y genedl. Yr amgylchiad tebycaf yn y canrifoedd diweddaf oedd ystad teimlad Germani o barth i Martin Luther, neu ystad teimlad Prydain yn amser y Diwygiad Methodistaidd yn Lloegr a Chymru; ond mewn dwysder ac aiddgarwch amheuwn a oeddynt i'w cydmaru i deimlad y genedl Iuddewig pan yn dadleu ai yr Iesu oedd y Messiah hir-ddisgwyliedig.

**ADN. 13. Er hyny ni lefarodd neb yn eglur am dano Ef.** Y mae y gair "eglur" (*parrhêsia*) yn y fan hon eto yn golygu yn gyntaf hyf neu eofn. Ni lefarodd neb yn hyf am yr Iesu; ac felly ni lefarodd neb yn eglur neu gyhoeddus am dano—murmur dan eu hanadl yr oeddynt. Am bwy y dywedir na lefarasant yn eglur am dano? (1) Mŷn Meyer, Tholuck, a Westcott y dynodir y beirniaid anffafriol yn gystal â'r rhai ffafriol. (2) Crêd Awstin, De Wette, ac Ewald mai y bobl ffafriol i'w hawliau yn unig a olygir,—y rhai hyn oedd yn dychryn rhag llefaru yn hyf a hyglyw. "Y rhai a ddywedent," meddai Awstin, "*Y mae yn twyllo y bobl*,—yr oedd eu llais i'w glywed fel swn dail crinion. *Y mae Efe yn twyllo y bobl*,—hyn a ddywedent yn uchel: *Gwr da yw*,—hyn a sisialent dan eu hanadl. Ond yn ein hamser ni . . . sibrydir, *Y mae efe yn twyllo y bobl*, tra y cyhoeddir yn uchel a chlir, *Gwr da yw Efe.*" Ond barnwn mai y golygiad cyntaf sydd gywiraf. **Rhag ofn yr Iuddewon.** Ni lefarodd neb yn ddiofn am dano Ef rhag ofn yr arweinwyr eglwysig. Yr oedd ar y werin-bobl ofn yr offeiriaid a'r Rabbiniaid, cymaint o ofn nes aberthu eu hannibyniaeth feddyliol. Credwn y dylai fod awdurdod (*authority*) yn perthyn i dduwinyddion proffesedig, a'n hyfrydwch i'w ymgynghori ag awdurdodau y gorphenol a'r presenol; ond y mae gwir awdurdod yn enyn parch, nid ofn. Ond dodai llywodraethwyr crefydd yn Israel eu "hofn" ar y bobl; a dyna hanes yr offeiriadaeth fel "urdd" uwchraddol yn mhob oes. Ni fynai y bobl bleidio yr Iesu na'i wrthwynebu yn rhy benderfynol, gan na wyddent hyd sicrwydd beth oedd barn yr

*Ac* yr awrhon ynghylch canol yr wyl, yr Iesu a aeth i 14
fynu i'r deml, ac a athrawiaethodd. A'r Iuddewon a ryf- 15
eddasant, gan ddywedyd, Pa fodd y medr hwn ddysgeid-

---

awdurdodau am dano. Hyd nes y cyhoeddai y rhai hyn eu dedfryd, callach yn marn y cyhoedd oedd iddynt hwy ond murmur—sisial eu cymeradwyaeth neu eu hanghymeradwyaeth, ac nid llefaru yn eglur, pendant, a hyglyw.

## CRIST YN NGWYL Y PEBYLL.

Y mae hanes yr Iesu yn yr ŵyl yn llanw dwy benod, sef o ddechreu y seithfed hyd ddiwedd yr wythfed.

### DWYFOLDEB EI ATHRAWIAETH. ADN. 14—24.

**ADN. 14. Weithian yn nghylch canol yr ŵyl.** Gan y parhâi yr ŵyl hon am wyth niwrnod (Neh. viii. 18), ymddangosodd yr Iesu tua'r pedwerydd dydd. **Yr Iesu a aeth i fynu i'r deml ac a ddysgodd.** Ni ddywedir mai tua'r pedwerydd dydd y cyrhaeddodd y ddinas, ond mai dyna yr adeg y gwnaeth ei ymddangosiad cyhoeddus. Barna Reynolds y lletyai er ys rhai diwrnodau yn Bethania yn nhy Martha (Luc x. 38). Ond paham y gwnaeth ymddangosiad disyfyd yn awr? Yn ddiau oblegid y teimlai fod ei fywyd yn ddyogel pan yn cael ei amgylchynu gan ei edmygwyr o'r wlâd. "Aeth o un eithafion i'r llall, o ochelgarwch mawr," ebe Lange, "i eofndra mawr. Ond hyd yn nod yn y dull newydd hwn o ymddangos, profa ei fod yn feistr ar wybodaeth o'r ddynoliaeth. O hyn allan ni allasai ymddangos yn Judea gyda dyogelwch ond yn ddisymwth yn nghanol tyrfaoedd y bobl." Pe ymddangosai cyn yr ŵyl, wrtho ei hun neu gydag ychydig ganlynwyr, cymerasid Ef yn garcharor gan swyddogion y Sanhedrin. Felly nid gwroldeb, ond annoethineb, fuasai iddo ymddangos yn gynarach. Dyma y tro cyntaf y dywedir iddo yn bendant "athrawiaethu" neu ddysgu yn y deml, ac awgryma amser y ferf fod parhad a chysondeb yn ei waith yn llefaru. Nid pregeth ddamweiniol ydoedd, ond un o gyfres. Beth oedd mater y bregeth hon? Nid yw yr efengylwr yn ateb; ond gallem dybied, oddiwrth yr hyn a groniclir o'i bregethau dilynol mai egluro egwyddorion sylfaenol y defodau, a dangos fod yr oll yn derbyn eu cyflawniad ynddo Ef. Dengys yr adnod ganlynol fod, nid yn unig y werin, ond y penaethiaid—yr Ysgrifenyddion a'r Phariseaid—yn mhlith ei wrandawyr. Hedodd y newydd fel mellten trwy holl ystafelloedd y deml fod y Prophwyd ieuangc o Galilea yn athrawiaethu yn y Cyntedd, a dylifodd y Rabbiniaid ac aelodau y Sanhedrin a'r offeiriaid ar unwaith i'w weled a'i glywed.

**ADN. 15. A'r Iuddewon a ryfeddasant.** Cydmarer Luc ii. 47. Er cynddrwg eu malais, ni allent lai na chanfod meistrolaeth ddihafal yr areithiwr ar ei fater ac ar ei gynulleidfa. **Gan ddywedyd, Pa fodd y medr hwn ddysgeidiaeth, ac yntau heb fod wedi dysgu?** Y gair am ddysgeidiaeth (*grammata*) a olyga yn gyntaf lythyrenau, yna yr hyn a gynrychiolir gan lythyrenau—llenyddiaeth. Arferir ef yn yr un ystyr hyd heddyw yn y Saesonaeg: llenor—*man of letters.* Ond pa beth a

16 iaeth, *ac yntau* heb ddysgu? Yr Iesu a attebodd iddynt,

---

ddynodent hwy yn arbenig wrth y term "dysgeidiaeth" yn y fan hon? (1) Diamheu fod esboniad Luther a Grotius yn gywir—yr Hen Destament. Yr Ysgrythyrau Sanctaidd (*hiera grammata*) oedd sylfaen yr addysg genedlaethol. Yr oedd cynefindra yr Iesu â'r H. D., a'i arddull feistrolgar o'i egluro, yn llanw y dysgedigion Iuddewig â syndod. Pa fodd y medd hwn y fath gynefindra â'r H. D., pa fodd y medr ei esbonio mor feistrolgar, ac yntau heb fod yn y colegau yn Jerusalem o dan addysg y proffeswyr Rabbinaidd? Ystyriai y dysgedigion hyn nad oedd gan neb hawl i osod ei hunan i fynu fel esboniwr yr oraclau dwyfol os heb fyned trwy y cwrs athrofäol—eistedd wrth draed Hillel neu Shammai neu Gamaliel, ac enill ei drwydded. Os oedd wedi bod yn efrydydd, ac heb enill ei râdd, ni chyfrifid fod ganddo hawl i gyhoeddi unrhyw farn o'i eiddo ei hun—dim ond mynegu opiniynau y proffeswyr rheolaidd. Ond os wedi cyrhaedd y teitl o Rabbi, ystyrid fod gan hwnw hawl, nid yn unig i draethu barnau y Rabbiniaid henach, ond i gyhoeddi barn annibynol o'i eiddo ei hun. Gwelwn, gan hyny, fod cyfundrefn addysg yn mhlith yr Iuddewon, yn tueddu yn uniongyrchol i ladd gwreiddiolder ac annibyniaeth meddwl. Ond am yr Iesu, nid oedd Efe yn Rabbi trwyddedig nac yn ddysgybl i Rabbi; o ganlyniad, gwadent ei hawl i feddwl drosto ei hun, ac i draethu ei feddwl ar ol ei ffurfio. Tra yn cydnabod ei fedr, gwadent ei awdurdod, i ddysgu. Onid yw yr un ysbryd i'w ganfod yn nysgedigion yr oes hon? Onid yw dysgedigion Eglwys Rhufain yn gwadu yn hollol hawl gweinidogion Eglwys Loegr i ddysgu y bobl? Nid oedd talentau dysglaer, dysgeidiaeth ddofn, a duwioldeb diamheuol y diweddar Canon Liddon yn tycio dim—heretic ydoedd, er ei gynefindra â'r Beibl, heb hawl i ddysgu y bobl. Drachefn, onid yw offeiriaid Eglwys Loegr yn gwadu yn bendant hawl gweinidogion Ymneillduol i ddysgu y bobl? Nid ydyw athrylith ddisglaer, gwybodaeth eang, ac ymroddiad diflino Spurgeon a Parker yn cyfrif dim yn eu golwg—hereticiaid ydynt, heb awdurdod i borthi praidd Duw. Ond er nad oedd yr Iesu wedi bod yn y coleg Rabbinaidd, y mae yn amlwg ei fod wedi cael ysgol, gan y medrai ddarllen (Luc iv. 16) ac ysgrifenu (viii. 6). Yn ol pob tebyg, medrai lefaru tair, os nad pedair, o ieithoedd—Aramaeg, Groeg, Hebraeg, ac o bosibl Lladin. Aramaeg oedd iaith frodorol y wlad; yn hon y pregethai. Er concwest Alexander Fawr yr oedd Groeg wedi lefeinio bywyd cymdeithasol y wlad; ac felly gelwid Galilea yn "Galilea y Cenhedloedd," oblegid y lluaws Groegwyr oedd wedi ymsefydlu yno. Yr oedd Galilea yr oes hono yn debyg i Gymru yr oes hon—yn wlad ddwy-ieithawg, yn llefaru Aramaeg, eithr hefyd yn deall Groeg. Yn yr iaith Roeg yr ysgrifenai yr Apostolion eu hepistolau; ac os medrai yr Apostolion Roeg, diamheu y medrai eu Hathraw. Ond yn yr Hebraeg yr ysgrifenasid yr H. D., a barna y dysgedigion mai yn yr Hebraeg y darllenid y llithiau yn y synagogau y pryd hwnw fel yn ein hoes ni. A phan y dyfyna yr Iesu o'r H. D. yn lle dilyn Groeg y Deg a Thriugain, dilyn bron yn ddieithriad yr Hebraeg. Gan mai Rhufain oedd yn awr yn feistres y byd, a bod lluaws o Rufeinwyr yn swyddogion ac yn filwyr yn y wlad, megis y canwriad (Luc vii. 1—10), diays fod yr iaith Ladin yn enill tir—y hi, y mae yn debyg, oedd yr iaith swyddogol.

ac a ddywedodd, Fy nysgeidiaeth nid eiddo fi yw, eithr
eiddo yr hwn a'm hanfonodd i. Os ewyllysia neb wneuthur 17

---

O ganlyniad, ysgrifenwyd uwchben croes yr Iesu yn Hebraeg, Groeg, a Lladin. Yr oedd yr Iesu yn "medru dysgeidiaeth." (2) Ond nis gallwn lai na thybied fod cyfeiriad y penaethiaid at lenyddiaeth yn gyffredinol, h.y., llenyddiaeth yr Iuddewon, megis traddodiadau y tadau a'r esboniadau Rabbinaidd. Ni chawn yr Iesu gymaint ag unwaith yn cyfeirio at lenyddiaeth y tu allan i'w genedl ei hun; nid yw yn dyfynu o un llyfr ond yr H. D. Nid yw yn cyfeirio at hanesiaeth, na barddoniaeth, nac athroniaeth Groeg a Rhufain; ni chrybwylla air am fesuroniaeth, na seryddiaeth, na gwyddoniaeth. Y mae yn gwbl rydd oddiwrth bob dylanwad Cenhedlig. Y mae yr adnod hon, meddai Meyer, yn "bwysig yn erbyn pob ymgais, henafol a diweddar, i olrhain dysgeidiaeth yr Iesu i addysg ddynol." Dadleua rhai iddo dderbyn ei wybodaeth uwchraddol o grefydd Persia neu grefydd yr India, ac eraill a ddadleuant ei fod wedi yfed o ysbryd y cymdeithasau Essenaidd, y rhai a feddent wybodaeth gyfrin nodweddiadol o honynt eu hunain. Eithr nid yw yr oll ond dychymygion disail—cyfaddefiad mewn gwirionedd na fedrant ddadrys y dirgelwch. Ond yr oedd wedi drachtio yn helaeth o Bum Llyfr Moses, y Salmau, a'r Prophwydi, canys yr oedd yn ddyledswydd arbenig ar bob teulu Iuddewig i hyfforddi y plant yn hanes a chrefydd y genedl. Mynychai yr Iesu y synagog hefyd, lle y darllenid yr H. D., yr hwn oedd wedi ei ddosranu yn llithiau—llith ar gyfer pob Sabbath—fel y gellid darllen ei brif ranau mewn blwyddyn; ac ar ol darllen y llith cyfodai yr Ysgrifenydd Lleol, yr hwn oedd wedi ei ddwyn i fynu yn y coleg, i egluro yr adran yn ol canonau esboniadol y Rabbiniaid. Gwrandawai Crist, sylwai, meddyliai; fel erbyn 30 oed meddai wybodaeth fanwl o'r esboniadau Iuddewig ar un llaw, a gwybodaeth ddofn gyfoethog o gynwys yr Ysgrythyrau ar y llaw arall.

**ADN. 16. Yr Iesu gan hyny a atebodd iddynt, ac a ddywedodd, Fy nysgeidiaeth i nid eiddo fi ydyw, ond eiddo yr hwn am hanfonodd i.** Cyhuddiad y Rabbiniaid hyn yn ei erbyn oedd, na chynwysai ei bregethau ond mympwyon personol o'i eiddo ei hun, nad oedd ganddo awdurdod yr un Rabbi y tu cefn i'w olygiadau. Nid felly ddim, yw ateb yr Iesu; gwir nad ydwyf wedi eu derbyn o ffynhonellau Iuddewig, o'ch colegau chwi; yr wyf wedi eu derbyn o ffynhonell annhraethol uwch—nid oddiwrth y Rabbiniaid, ond oddiwrth Dduw. Nid crefydd o'i waith a'i ddyfais ei hun yr oedd Efe yn bregethu—yr oedd wedi derbyn ei ddysgeidiaeth yn uniongyrchol o'r nefoedd. Yr oedd ei syniadau Ef o ddwyfol darddiad—eiddo Duw oeddynt. A ydym i ddeall ei fod yn llefaru am dano ei hun fel Mab yn yr Hanfod, ynte fel Mab ymgnawdoledig—fel ail Berson yn y Drindod, ynte fel Cyfryngwr? Y mae brawddeg fawr yr Arglwydd Iesu—"yr hwn a'm hanfonodd i"—yn penderfynu y pwnge: fel Cyfryngwr, fel Un anfonedig, fel Un wedi derbyn commissiwn. Nid gwadu iddo ei hunan wreiddioldeb fel ail Berson yn y Drindod y mae, ond fel person yn cyflawni y swydd Gyfryngol. Fel Cyfryngwr yn cyflawni ei waith heb na diffyg na bai, ni all ddysgu na gwneuthur dim o hono ei hunan, ond fel eu goleuir gan yr Hwn a'i hanfonodd. Ymddiriedwyd iddo gan ei Dad i hysbysu meddwl ei Dad i'r byd; a gwnaeth

ei ewyllys ef, efe a gaiff wybod am y ddysgeidiaeth, pa un

---

hyny, nid fel person *private*, er yn berson dwyfol, ond fel person swyddogol. Haeriad ofnadwy yw haeriad yr Iesu yma—mai Duw a biodd ei ddysgeidiaeth! Y mae tri dosbarth o ddysgawdwyr wedi ymddangos yn mhlith dynion. (1) Un yw y dosbarth y rhoddai yr Iuddewon gymaint o werth arnynt,—pobl wedi derbyn *training* da yn y colegau. Prawf y paragraph hwn na pherthynai yr Iesu i'r dosbarth hwn. (2) Y dosbarth arall yw y bobl sydd wedi dysgu eu hunain—y *self-taught*. I'r dosbarth hwn y perthyn rhai o brif feddylwyr y byd. John Stuart Mill, prif resymegwr y ganrif; Herbert Spencer, prif athronydd y ganrif; Tyndale a Huxley, prif wyddonwyr y ganrif; Shakespeare, prif-fardd yr oesau: ni chafodd yr un o honynt addysg yn athrofâu y deyrnas. Ond eto yr unig wahaniaeth rhwng y dosbarth hwn a'r cyntaf yw—eu bod hwy yn dysgu trwy eiriau ysgrifenedig tra y mae y rhai cyntaf yn dysgu trwy eiriau llefaredig yn gystal. Meddylier am Spinoza neu Jacob Bœhme, yn eu tlodi, yn darllen yr ychydig lyfrau a feddent, ac yn meddwl, a meddwl, a meddwl, nes creu o honynt gyfundrefnau newyddion. Ond nid priodol rhestru yr Arglwydd Iesu yn y dosbarth hwn ychwaith. Gwelsom eisioes ei fod yntau yn ddarllenwr ac yn fyfyriwr mawr; ond nid creu y gyfundrefn Gristionogol a wnaeth Efe. Nid ffrwyth addfed athrylith ddigymhar yw Cristionogaeth. (3) Y trydydd dosbarth yw y rhai sydd wedi eu dysgu gan Dduw, megis prophwydi yr H.D. Nid dyfeisio eu cenadwri eu hunain a wnai y rhai hyn, ac nid ei dysgu oddiwrth ddynion dysgedig y genedl, ond ei derbyn oddiwrth Dduw. "Fel hyn y dywed yr Arglwydd" oedd eu tystiolaeth barhaus. Ond nid prophwyd yn unig oedd yr Arglwydd Iesu; yr oedd ei ddysgeidiaeth Ef yn perthyn mewn modd arbenig i Dduw—eiddo Duw ydoedd, teilwng o Dduw. Y mae ei ysprydoliaeth Ef fel prophwyd yn sylfaenedig ar ei undod Ef â Duw. Gan hyny, nid gweddus rhestru yr Iesu yn mhlith dynion mawr y byd; ffurfia Efe ddosbarth ar ei ben ei hun—neb yn y dosbarth ond ei hunan.

**ADN. 17.** Yn yr adnod flaenorol gwnaeth yr Iesu haeriad yn llawn beiddgarwch, fod ei ddysgeidiaeth Ef yr unrhyw a dysgeidiaeth Duw. Ond pa brofion a gynygia i ategu yr haeriad? Noda ddau: prawf tufewnol yn yr adnod hon, a phrawf allanol yn yr adnod nesaf. **Os ewyllysia neb wneuthur ei ewyllys Ef.** Nid, os ewyllysia neb; ac nid, os gwna neb; ond ewyllysio gwneyd—cyfuniad o foesoldeb y meddwl a moesoldeb y fuchedd. Nid yw cyflawniad peiriannyddol o'r ewyllys ddwyfol, nac ewyllysiad tufewnol, a'r wahân i'w gilydd, yn ddigonol; rhaid wrth gyfuniad prydferth o'r ddau. Beth a feddylir wrth ei "ewyllys Ef"? (1) Crêd Godet mai ewyllys Duw yn y gydwybod. Lle y mae gonestrwydd yn yr enaid, a dymuniad cryf i wybod y gwirionedd, ac nid yn unig i'w wybod ond i'w wneyd ar ol ei wybod, y mae yno y cymhwysder naturiol angenrheidiol i ganfod a gwerthfawrogi yr Efengyl. Onid yw hanes troedigaeth Justin Ferthyr yn well esboniad ar hyn nag un traethiad? Dyheuai am wybod yr ewyllys ddwyfol—am adnabyddiaeth o Dduw a'i berthynas a dynion. I'r perwyl hyn astudiodd gyda dyfalwch bob cyfundrefn o athroniaeth, nes y tybiodd ei fod wedi cael yr hyn y dyheuai am dano yn yr athroniaeth Blatonaidd. "Dan ddylanwad y

dybiaeth hon," meddai, "meddyliais yr ymneillduwn i le unig, yn mhell oddiwrth gynhwrf y byd, ac yno, mewn perffaith hunan-feddiant, i ymgolli yn fy myfyrdodau. Dewisais fan ar lan y môr." Un diwrnod fel y rhodiai ar y traeth, yn ddwfn mewn myfyrdod, ac yn dyheu am weledigaeth o'r dwyfol, cyfarchwyd ef gan henafgwr, yn llawn pwyll a difrifoldeb. Dadleuai y naill â'r llall—Justin o blaid Platoniaeth a'r henafgwr o blaid Cristionogaeth. "Trafnidiwr mewn geiriau ydych chwi," ebe yr henafgwr, "ac nid carwr gweithred a gwirionedd: eich amcan yw, nid bod yn wneuthurwr y da, ond bod yn ddadleuwr medrus, yn athronydd cywrain." Yna cyfeiriodd ef at yr Ysgrythyrau, gan ddywedyd, "Gweddiwch am i ddorau y goleuni gael eu hagor i chwi, canys ni all neb weled ac amgyffred y pethau hyn oddigerth i Dduw a'i Grist roddi iddynt ddeall." Gwnaeth Justin yn ol y cynghor; cafodd yntau weledigaeth o'r dwyfol,—ac nid ymddangosodd yn yr ail ganrif amddiffynydd galluocach i Gristionogaeth. Yn ei hanes gwiriwyd yn llythyrenol yr adnod hon. A phwy a ŵyr nad oedd cannoedd o gyffelyb onestrwydd a dyheadau, yn meddu calonau "gonest a da" (Luc viii. 15), yn y byd paganaidd, er nad o'r un enwogrwydd llenyddol ag efe? (2) Ond dilys genym fod gwirionedd hefyd yn marn Chrysostom, Bengel, Hengstenberg, a Tholuck, fod yma gyfeiriad uniongyrchol at ewyllys Duw yn yr H. D. Nid oedd yr Iuddewon yn ddibynol ar oleuni natur, yr oedd Duw wedi datguddio ei ewyllys iddynt hwy yn y gyfraith a'r prophwydi. Os oeddynt hwy yn ewyllysio gwneuthur yr ewyllys hono—darostwng eu hewyllysiau eu hunain i ewyllys Duw, parotöai hyny hwy i gydnabod ewyllys Duw yn nysgeidiaeth yr Iesu. "Canys pe credasech i Moses, chwi a gredasech i minau" (v. 46). Felly yr hyn sydd hanfodol i ganfod dwyfoldeb dysgeidiaeth Crist yw cydgordiad rhwng ewyllys dyn ac ewyllys Duw. Oni chlywsoch chwi sain y tu faes yn deffro cyffelyb sain yn y piano y tu fewn, heb neb yn ei gyffwrdd? Yn gyffelyb pe buasai y cydymdeimlad lleiaf rhwng yr Iuddewon a'r dwyfol, buasai geiriau Crist yn deffro y miwsig y tu fewn—yn sefydlu *affinity* rhyngddo Ef a hwy. (3) Ond crêd Awstin a Luther mai ewyllys Duw yn y gorchymyn i gredu yn ei Fab (vi. 29) a ddynodir. Ni ellir dirnad gwirioneddau yr efengyl ond trwy eu profi. Pwy all roddi syniad priodol am fêl i ddyn na phrofodd fêl erioed? Wrth ei fwyta y gellir dirnad ei flâs. Y ffordd briodol, yn wir yr unig ffordd, i gyrhaedd argyhoeddiad o ddwyfoldeb Cristionogaeth ydyw ewyllys ddiffuant i roddi ufudddod, gan nad faint yr hunan-ymwadiad. Y mae ffordd arall i gyrhaedd sicrwydd am wirioneddau mesuroniaeth, a ffordd arall i gyrhaedd sicrwydd am wirioneddau fferylliaeth, ond dyma y ffordd i gyrhaedd sicrwydd am wirioneddau Cristionogaeth. "Rhaid i wrthrychau dynol gael eu hadnabod mewn trefn i gael eu caru," ebe Pascal, "ond gwrthrychau dwyfol eu caru mewn trefn i gael eu hadnabod." Nid yw yr adnod hon ond cymhwysiad at Gristionogaeth o'r *deductive method* sydd yn llywodraethu mewn gwyddoniaeth. A ydych yn amheu gwirionedd yr Efengyl? Treiwch hi, ufuddhewch iddi, ffurfiwch eich bywyd yn ei hol; os ydyw yn gweithio yn dda mewn *practice*, nis gall fod prawf cryfach ei bod yn wir mewn *theory*. (Gweler bregeth tra-ragorol Robertson o Brighton ar yr adnod hon). (4) Wrth gydnabod gwirionedd y tri golygiad blaenorol, gwelir y credwn, gyda Meyer a Westcott, na ddylid cyfyngu yr "ewyllys" i'r naill na'r llall o

ai o Dduw y mae hi, ai myfi o honof fy hun sydd yn llefaru.
18 Y mae yr hwn sydd yn llefaru o hono ei hun, yn ceisio ei
ogoniant ei hun: ond yr hwn sydd yn ceisio gogoniant yr
hwn a'i hanfonodd, hwnnw sydd eirwir, ac anghyfiawnder

---

honynt. Dylid deall y geiriau mewn ystyr gyffredinol—parodrwydd i ddysgu a gwneuthur yr ewyllys ddwyfol yn mhob datganiad o honi.

**Efe a ddaw i wybod am y ddysgeidiaeth, pa un ai o Dduw y mae, ai myfi o honof fy hun sydd yn llefaru.** Y mae y "daw i wybod" yn bwysleisiol. Ni ddywedir y bydd i'r dyn sydd yn ufuddhau i ewyllys Duw blymio dyfnderoedd yr athrawiaeth a deall ei holl gynwysiad, ond y bydd iddo dderbyn argyhoeddiad am ei hansawdd fod y *quality* yn ddwyfol. Y mae gwahaniaeth blâs rhwng yr athrawiaeth sydd o Dduw a'r ddysgeidiaeth sydd o ddyn--adnebydd y saint y gwahaniaeth. Trwy y deall moesol a'r natur ysbrydol y cyrhaeddir amgyffrediad o Gristionogaeth. (1 Cor. iii. 14, 15).

**ADN. 18. Y mae yr hwn sydd yn llefaru o hono ei hun yn ceisio ei ogoniant ei hun.** Y mae yr hwn sydd yn ymffrostio yn ei wreiddiolder yn eglur yn meddwl mwy am ei glod ei hun na chlod y gwirionedd. Y mae hon yn egwyddor gyffredinol. Nid yw yn ngallu meddwl meidrol i greu gwirionedd—dim ond ei weled; gall fod yn ffynhonell i gelwydd, ond nid i wirionedd. Y dynion galluocaf sydd fwyaf ymwybodol fod ffynhonell gwirionedd y tu allan iddynt eu hunain, ac nad ydynt hwy ond gwelyau i'r afon lifo trwyddynt o'r ffynhon. Y dyn a esyd ei hunan i fynu fel ffynhonell ei ddarganfyddiadau a geisia ei ogoniant ei hun—er fod ei ddeall yn glir y mae ei ewyllys yn gyfeiliornus. Nid hunan-gais, ond gostyngeiddrwydd, ydyw nôd gwir fawredd. **Ond yr hwn sydd yn ceisio gogoniant yr hwn a'i hanfonodd, hwnw sydd wir.** Nid geirwir ond gwir *(alêthês)*; nid yn unig yn gywir ei ddeall ond yn onest ei amcanion a phur ei ewyllys. Yr hwn a gâr wirionedd er mwyn y gwirionedd ei hun, neu, yn well, er mwyn gogoniant Duw--dyna ddyn sydd yn wir trwyddo. **Ac anghyfiawnder nid oes ynddo ef** Egwyddor gyffredinol. Nid, Celwydd nid oes ynddo ef, ond anhgyfiawnder *(adikia)* -yr egwyddor ddrwg o'r hon nid yw celwydd ond un ganghen. "Y mae yn gymhwysiadol at Grist yn unig," ebe Plummer. "Nid yw dysgawdwyr dynol sydd yn ceisio gogoniant Duw yn cael eu sicrhau trwy hyny rhag dysgeidiaeth gyfeiliornus." Y mae y sylw hwn yn wir mor bell ag mai yn Nghrist yn unig y caiff yr egwyddor ei chyflawn sylweddoliad--gwyddai Ef hyd sicrwydd nad oedd gyfeiliornad yn ei ddysgeidiaeth am y gwyddai hyd sicrwydd nad oedd anghyfiawnder yn ei natur; a phrawf o burdeb ei natur foesol oedd, nad oedd yn ceisio gogoniant iddo ei hun, ond gogoniant i Dduw--nid oedd hunangais, hanfod pechod, ynddo. Ond, yn groes i Plummer, credwn y dål yn ei chymhwysiad at y duwiol. Gwir nad yw yn golygu nas gall duwiolion gyfeiliorni mewn barn, oblegid er mai gogoniant Duw yw prif nôd eu bywyd, gwyddant oll trwy brofiad chwerw fod hunan-gais, hunan-elw, hunan-glod yn gymhlethedig a'u cyflawniadau goreu. Ond i'r graddau y gallant ymddihatru o bobpeth "hunan" y gellir ymddiried yn nhryloewder eu barn. Y mae perffaith sancteiddrwydd yn y natur foesol yn sicrhau

nid oes ynddo ef. Oni roddes Moses i chwi y gyfraith, 19
ac nid oes neb o honoch yn gwneuthur y gyfraith? Paham

perffaith oleuni yn y natur ddeallol. Ond er fod yr Iesu yn gosod yr egwyddor i lawr mewn termau cyffredinol, y mae yn amlwg fod ei chymhwysiad neillduol ato ei hun yn ei feddwl. Dymunai ei frodyr iddo fyned i'r ŵyl "i amlygu ei hun"—gosodent hwy hunan-gais o'i flaen fel prif amcan ei fywyd, ffurf arall ar drydedd demtasiwn yr anialwch (Matt. iv. 8—10). Ond ymwrthoda yr Iesu yn bendant a phob amcan hunan-geisiol—nid oedd ei ddysgeidiaeth ddofn a goludog yn eiddo Ef, nid Efe a'i pïodd, ond wedi ei derbyn yr ydoedd oddiwrth Dduw. A chan ei fod yn berffaith rydd oddiwrth pob hunan-gais, nid oedd ronyn o anghyf-iawnder ynddo; ac os yw y *soil* yn rhydd oddiwrth pob hadau drwg, ni all dim chwŷn dyfu yn y tir hwnw—nid oedd yn dwyllwr, yn arwain y bobl ar gyfeiliorn.

**ADN. 19. Oni roddes Moses i chwi y gyfraith?** Yma, y mae yn debyg, yw lle priodol y gofyn-nod. Beth yw y cysylltiad rhesymegol rhwng yr adnod hon a'r adnodau blaenorol? (1) Oherwydd fod y traws-newidiad mor sydyn, casgla rhai fod rhyw amgylchiad wedi dygwydd neu rhyw eiriau wedi eu llefaru na choffheir mohonynt, fel achlysur ei ymosodiad caled arnynt. (2) Ond barnwn ni fod y dybiaeth yn afreidiol. Sylfaena yr Iesu allu dyn i adnabod y ddwyfol ddysgeidiaeth ar ddiffuant-rwydd ei ddymuniad i ufuddhau i'r ddwyfol ewyllys. Ond pa le y ceir yr ewyllys ddwyfol? Yn ei pherthynas â'r Iuddewon ceir hi yn nghyfraith Moses—ewyllys Duw mewn ffurf orchymynol yw y gyfraith. Darllenid y gyfraith pob saith mlynedd yn yr ŵyl hon (Deut. xxxi. 10); ac yn yr adran gyntaf a ddarllenid (Deut. i—vi. 3), ceid y gorchymyn, Na ladd. **Ac nid oes neb o honoch yn gwneuthur y gyfraith; paham yr ydych yn ceisio fy lladd i?** Ufudddod i ewyllys Duw o barth i foesoldeb yw y cymhwysder i ddeall y ddysgeidiaeth; ond nid yw y cymhwysder hwn ynoch chwi. Y mae eich anufudddod i ewyllys Duw yn nhiriogaeth moesoldeb yn anghymwysder ynoch i ddeall ewyllys Duw yn nhiriogaeth gras. "Nid oes neb o honoch yn gwneuthur y gyfraith." Ai cyhuddiad cyffredinol o anmherffeithrwydd yn y cymeriad yw hwn, megis yn Rhuf. iii. 9, 10, ynte a oes yma gyfeiriad at ryw drosedd penodol? Nid ydym yn canfod y buasai cyhuddiad o anmherffeithrwydd cyffredinol yn y cymeriad yn ateb un dyben yn yr ymddiddan. Am hyny, casglwn fod yr Iesu yn meddwl am drosedd neillduol. Pa drosedd? Pa gyfraith arbenig a droseddent? (1) Etyb Godet mai cyfraith y Sabbath; ac mai amcan yr Iesu yw profi fod yr Iuddewon wrth enwaedu ar faban ar y Sabbath yn troseddu y gyfraith yn gystal ag Efe wrth iâchau y claf wrth borth Bethesda ar y Sabbath. Ond camsyniad sylfaenol Godet yn ei esboniad ar y paragraph hwn yw cymeryd yn ganiataol fod yr Iesu yn cyfaddef ei fod wedi tori y Sabbath. Barnwn ni yn hytrach mai amcan yr Iesu oedd profi nad oedd efe wrth iâchau y claf, na hwynthwy wrth enwaedu, ar y Sabbath, yn troseddu y ddeddf, eithr yn hytrach ei chadw. (2) Am hyny credwn ni, gyda Meyer a Luthardt, fod yr Iesu yn y frawddeg "nid oes neb o honoch yn gwneuthur y gyfraith"—yn gosod i lawr egwyddor gyffredinol; ond ei fod trwy y gofyniad,—"paham yr ydych yn ceisio fy lladd i?" yn dwyn y cyhuddiad cyffredinol i

20 yr ydych yn ceisio fy lladd i? Y bobl a attebodd ac a
ddywedodd, Y mae gennyt ti gythraul: pwy sydd yn ceisio
21 dy ladd di? Yr Iesu a attebodd ac a ddywedodd wrthynt,
Un weithred a wneuthum, ac yr ydych oll yn rhyfeddu.

---

bwynt penodol. Felly y trosedd penodol mewn golwg oedd eu hymgais hwy i'w ladd Ef. Dyma oedd yn gwasgu mor drwm ar ei feddwl; ofn cael ei ladd cyn cwblhau ei waith a'i cadwodd am flwyddyn a haner o Jerusalem a Judea.

**ADN. 20. Y dyrfa a atebodd.** Y bobl o'r wlad y mae yn amlwg. Llefara pobl Jerusalem yn adn. 25. **Y mae genyt ti gythraul; pwy sydd yn ceisio dy ladd di?** Disgynodd cwestiwn disyfyd yr Iesu fel taranfollt i ganol y gynulleidfa. Cyfeiria ei ofyniad at ei gyhuddwyr—aelodau y Sanhedrin a'u cyfathrach—fel y prawf adn. 16: hwynthwy oedd y rhai a geisient ei ladd Ef (v. 18). Ond yr oedd corph mawr y bobl, yn enwedig gwerin-bobl Galilea, mewn hollol anwybodaeth o ddichellion bradwrus y llywodraethwyr. Beth yw yr ysbryd yn mha un y gofyna y bobl y cwestiynau hyn? (1) Awgryma Lange mai ysbryd tosturi ydoedd. Felly y meddwl yw: Pwy sydd yn ceisio dy ladd di? Chlywsom ni am neb yn cynllwyn yn erbyn dy fywyd: pa fodd y daeth y fath ddrwg-dybiaeth i'th galon? Rhaid fod rhyw ysbryd drwg (*daimon*) yn dy feddianu, a dy fod dithau dan ei ddylanwad yn dechreu colli cydbwysedd dy farn. Yr wyt yn ynfydu" Canys yn marn yr hen fyd olrheinid pob anhwyldeb, corphorol a meddyliol, i ddylanwad afiachus rhyw ysbryd drwg. (2) Barna Meyer nad yw y geiriau ond ffordd gref o amlygu syndod: Paham y gwnei gyhuddiad mor anfad? Rhaid fod rhyw yspryd drwg wedi cymeryd meddiant o honot. Nid yw hyny yn cynwys priodoli iddo ddrygioni moesol, canys dywedai y cyhoedd am Ioan Fedyddiwr fod cythraul ganddo, yn unig am nad oedd yn bwyta ac yfed fel pobl eraill. (Matt. xi. 18). (3) Ond er y cyfan anhawdd peidio credu nad oedd yma ryw gymaint o ddigter, er nad oedd y digter wedi datblygu yn falais fel y dysga Henstenberg. Teimlai y dyrfa, heb wybod at bwy yn benodol y cyfeiriai yr Iesu, fod y cyhuddiad a ddygodd yn eu herbyn mor erchyll, ac eto mor ddisail, fel y cyffrôdd eu natur drwyddi; y mae swn gwylltineb yn eu hateb—awgrymant fod drygioni moesol, ac nid coll synwyr yn unig, wrth wraidd y cyhuddiad.

**ADN. 21. Yr Iesu a atebodd ac a ddywedodd wrthynt.** Wrth bwy? (1) Godet a Tholuck a atebant, Wrth yr Iuddewon-penaethiaid y genedl. (2) Meyer a Luthardt, Wrth y dyrfa. (3) Ond gan fod y ddau ddosbarth yn blith draphlith trwy eu gilydd yn y gynulleiddfa, nid ydym yn gweled pa fodd y gellir eu gwahaniaethu. **Un weithred a wnaethum i, ac yr ydych oll yn rhyfeddu.** Yn adn. 23, dengys pa weithred oedd ganddo mewn golwg—iachad y claf wrth lyn Bethesda ar y Sabbath (v). Dyma wraidd yr elyniaeth rhwng yr Iuddewon ac Efe; ac er fod blwyddyn a haner wedi myned heibio, parhâi eu llid i losgi. Pwysai hyn yn drwm ar ei feddwl, nes y torodd allan fel fflachiad mellten yn y deml, "Paham yr ydych yn ceisio fy lladd i?" "Un weithred." Cyflawnasai lu o wyrthiau yn Jerusalem ond nid oedd neb o'r herwydd yn dwyn

Am hynny y rhoddes Moses i chwi yr enwaediad; (nid o 22
herwydd ei fod o Moses, eithr o'r tadau;) ac yr ydych yn

---

cyhuddiad cyfreithiol yn ei erbyn. Nid y wyrth fel gwyrth oedd sail y tramgwydd, ond yr "un" wyrth a gyflawnodd ar y Sabbath, gweithred ag oedd yn eu bryd hwy yn halog'ad ar y Sabbath, ac mewn canlyniad yn haeddu marwolaeth. "Yr ydych oll yn rhyfeddu"—nid at fawredd y wyrth, ond ei fod Ef, yr hwn a broffesai ei fod yn brophwyd anfonedig gan Dduw, yn tori deddf Duw o barth i'r Sabbath. Yna, yn yr adnodau dilynol, ymgymer yr Iesu a phrofi nad ydoedd Efe wedi tori deddf y Sabbath yn fwy nag y torent hwy ddeddf y Sabbath wrth enwaedu ar y dydd Sanctaidd. Nid profi, megis y mŷn Godet ac eraill, ei fod Ef a hwythau fel eu gilydd yn tori y Sabbath y mae, ond profi nad oeddynt yn ei dori yn y ddwy enghraipht a enwa.

**ADN. 22. Am hyny y rhoddes Moses i chwi yr enwaediad.** Y mae amrywiaeth barn yn mhlith y beirniaid am y darlleniad cywir. (1) Mŷn Hengstenberg, Tregelles, De Wette, ac eraill y dylid cysylltu "am hyny" (*dia touto*) â'r adnod flaenorol: "Un weithred a wnaethum i, ac yr ydych oll yn rhyfeddu am hyn," sef am yr un weithred. (2) Ond Mŷn Meyer, Westcott, Godet yn ei argraffiad diweddaf, a'r Cyf. Diw. ddarllen fel yn y cyfieithiad Cymraeg: "Am hyny—am y rheswm hwn—y rhoddes Moses i chwi yr enwaediad." Arfer Ioan yw cysylltu "am hyny" (*dia touto*) â dechreu brawddeg newydd (v. 16, 18; vi. 67; viii. 47; x. 17; xii. 39), ac nid â diwedd brawddeg flaenorol; ac nis gwelwn reswm digonol dros gredu fod yr efengylwr yma yn ymadael â'i ddull arferol. "Am hyny—am y rheswm hwn." Pa reswm? (1) Bengel, Luthardt, a Meyer a atebant fod y rheswm yn y frawddeg ganlynol—"Nid oherwydd ei fod o Moses, ond o'r tadau." Geilw Godet yr eglurhad hwn yn ddisynwyr; ond i ni ymddengys yn eglurhâd boddhaol, os ydyw ar gyfrifon eraill yn gywir. Yn ol yr esboniad hwn dysga yr Arglwydd Iesu fod deddf yr enwaediad yn henach na deddf y Sabbath, a chan ei bod yn henach ei bod yn gryfach—rhaid i gyfraith ddiweddarach y Sabbath roddi ffordd i gyfraith henach yr enwaediad. Ond y mae dau reswm yn milwrio yn erbyn yr ymresymiad. Yn gyntaf, rheol deddfwriaeth yw fod deddfau newydd yn ddiddymu yr hen, nid fod yr hen yn diddymu y newydd. Yn ail, os gellir ar un llaw ddyweyd fod deddf yr enwaediad yn henach na deddf y Sabbath, gellir gyda llawn cymaint o briodoldeb ddyweyd fod deddf y Sabbath yn henach na deddf yr enwaediad, canys os dechreuodd yr enwaediad gydag Abraham dechreuodd y Sabbath gyda'r greadigaeth. (2) Barna Godet mai yn adn. 24, y nodir y rheswm. Daeth cyfraith y Sabbath a chyfraith yr enwaediad i wrthdarawiad er mwyn dysgu yr Iuddewon i chwilio am yr egwyddor dufewnol, ac felly i farnu nid wrth yr olwg, ond i farnu barn gyfiawn. (3) Ond mabwysiadwn ni y golygiad fod y rheswm dros i Moses roddi yr enwaediad i Israel yn adn. 23: nid am ei fod o'r tadau; ac nid i ddysgu y bobl i farnu yn ol egwyddor, yn lle yn ol y golwg; ond am ei bwysigrwydd fel insel y Cyfamod—"fel na thorer cyfraith Moses." **Nid oherwydd ei fod o Moses, eithr o'r tadau** Sefydlwyd yr enwaediad yn nheulu Abraham (Gen. xvii. 12); ond yr oedd y genedl dan demtasiwn i esgeuluso yr ordinhad fel y gwnaeth Moses ei hun (Ex. iv.

23 enwaedu ar ddyn ar y Sabbath. Os yw dyn yn derbyn
enwaediad ar y Sabbath, heb dorri cyfraith Moses; a ydych
yn llidiog wrthyf fi, am i mi wneuthur dyn yn holliach ar

---

24—26), ac oblegid hyny cymerodd Moses afael ynddi a gwnaeth le iddi yn neddfwriaeth y wlad (Lef. xii. 3). Ond paham y mae yr Arglwydd Iesu megis yn cywiro ei hun yma? (1) Maentumia Meyer, fel y gwelsom eisoes, mai dynodi y rheswm y mae yr Iesu dros fod deddf yr enwaediad yn gryfach na deddf y Sabbath, sef am ei bod yn henach. Ond gwelsom hefyd fod amheuaeth a ydyw henafiaeth deddf yn sicrhau iddi hawliau uwchraddol; ac os dolen yn yr ymresymiad ydyw, y mae yn rhyfedd genym y teflir ef i ffurf israddol (*subordinate*), yr hyn a osodir allan yn y cyfieithiadau Cymraeg a Saesonaeg gan y cromfachau. (2) Am hyny tueddir ni i feddwl fod yr Iesu yma megis yn cywiro ei hun rhag i'w feirniaid craffus a llidiog gymeryd mantais ar y camsyniad lleiaf, er mai ymddangosiadol yn unig fuasai. Cyhuddent Ef o ddiffyg addysg briodol i ddysgu y bobl: y mae o bwys gan hyny na wna yr un cyfeiriad at yr Ysgrythyrau ag y gallent hwy ei ŵyrdroi yn gamsyniad. **Ac yr ydych yn enwaedu ar ddyn ar y Sabbath**. Rhaid oedd enwaedu y plentyn ar yr wythfed dydd; felly os genid ef ar y Sabbath, syrthiai yr enwaediad ar y Sabbath canlynol.

**ADN. 23**. Y mae dau ddarlleniad i'r adnod hon. Y cyntaf fel yn y cyfieithiad Cymraeg. **Os yw dyn yn derbyn enwaediad ar y Sabbath, heb dori cyfraith Moses.** Yn ol y darlleniad hwn y mae yn eglur mai wrth "gyfraith Moses" y deallir y gyfraith o barth i'r Sabbath. Dynion yn enwaedu ar y Sabbath yn ol cyfraith Moses yn Lef. xii. 3, heb dori cyfraith Moses am y Sabbath yn Ex. xx. 8—11. Y darlleniad arall yw fel yn y Cyf. Diw.: **Os yw dyn yn derbyn enwaediad ar y Sabbath fel na thorer cyfraith Moses.** Yn ol y darlleniad hwn y mae yn amlwg mai wrth "gyfraith Moses" y mae i ni ddeall ei gyfraith o barth i'r enwaediad. Barnwn mai hwn yw y darlleniad cywiraf. **A ydych yn llidiog wrthyf fi, am i mi wneyd dyn cyfan yn iach ar y Sabbath?** Dyma yr unig waith y defnyddir y gair "llidiog" (*cholâte*) yn y Test. Newydd. Y mae yn air cryf ryfeddol, ac yn dynodi chwerwder bustlaidd. Beth yw y cyferbyniad yn yr adnod? (1) Awgryma rhai mai yr ystyr ydyw, os yw *clwyfo* dyn yn yr enwaediad yn cydsefyll a deddf y Sabbath, paham nad yw *iachau* dyn, fel y gwnaeth Crist wrth lyn Bethesda, yn cydsefyll â'r un ddeddf? (2) Crêd eraill mae yr esboniad yw: Os yw "enwaedu y blaengroen" yn wasanaethgar i iechyd corphorol, fel y dysga meddygon ei fod, ac felly yn cael ei ganiatau ar y Sabbath, pa fodd y mae adfer iechyd perffaith i ddyn sâl yn drosedd ar y Sabbath? Ond perthyn i ni gyfaddef ein bod yn amheus a oedd rhesymau sylfaenedig ar wybodaeth feddygol yn cael lle yn ymresymiad yr Iesu. (3) Y syniad a fabwysiedir gan fwyafrif yr esbonwyr presenol yw fod y cyferbyniad rhwng yr un aelod a'r corph cyfan. Os cewch chwi iachau dyn trwy enwaedu un aelod o hono, heb dori y Sabbath, pa fodd yr wyf fi wrth iachau dyn yn mhob aelod o hono, "dyn cyfan," yn euog o dori y Sabbath? Ymresyma yr Iesu yma yn unol ag un o reolau esboniadaeth y Rabbiniaid eu hunain,—ei bod yn gyfreithlon "i gasglu y mwyaf oddi-

y Sabbath? Na fernwch wrth y golwg, eithr bernwch 24
farn gyfiawn. Yna y dywedodd rhai o'r Hierosolymitan- 25
iaid, Onid hwn yw yr un y maent hwy yn ceisio ei ladd?
Ac wele, y mae yn llefaru ar gyhoedd, ac nid ydynt yn 26
dywedyd dim wrtho ef: a wybu y pennaethiaid mewn
gwirionedd mai hwn yw Crist yn wir? Eithr nyni a 27
adwaenom hwn o ba le y mae; eithr pan ddêl Crist, nis

---

wrth y lleiaf." Os oedd yn gyfreithlon i wneuthur y llai, yr oedd yn gyfreithlon i wneuthur y mwy,—pan oedd y llai a'r mwy o'r un natur.

**ADN. 24. Na fernwch wrth y golwg**—y wyneb neu ymddangosiad allanol—**ond bernwch farn gyfiawn.** Nid oeddynt i aros gyda y llythyren, ond i dreiddio i mewn i egwyddor y gyfraith, ac i ysbryd y weithred. Beth oedd yspryd y wyrth ar y dyn claf? Hunan-glod neu hunan-elw o du yr Iesu? Nage, ond dymuniad i wneuthur ewyllys Duw ar un llaw, a lleshau dyn ar y llaw arall. Dyna hanfod deddf y Sabbath, **ac yr oedd yr Iesu wedi ei chadw.**

DWYFOL DARDDIAD EI BERSON. ADN. 25—31.

**ADN. 25. Gan hyny, dywedodd rhai o'r Jerusalemiaid.** Yma ac yn Marc i. 5 yn unig y defnyddir yr enw hwn ar bobl y brifddinas. **Onid hwn yw yr un y maent hwy yn ceisio ei ladd?** Yn adn. 20, pobl y wlad oedd yn llefaru mewn anwybodaeth o ddichellion bradwrus yr Iuddewon swyddogol; yn yr adnod hon, trigolion Jerusalem, y rhai a wyddent am eu malais, ond heb wybod manylion eu cynlluniau.

**ADN. 26. Ac wele, y mae yn llefaru ar gyhoedd, ac nid ydynt yn dywedyd dim wrtho.** "Ar gyhoedd"—yr un gair ag yn adn. 4, 13, 18, a 20, yn golygu yn gyntaf "hyf," ac yna "cyhoeddus." Llefarai yr Iesu yn y deml—yn hyf—ar gyhoedd cynulleidfa fawr; ac yn mhlith ei wrandawyr yr oedd aelodau o'r Sanhedrin. Ni ymresyment yn ei erbyn, ac ni atalient ddylifiad ei ymadroddion—gwrandawent fel cŵn mudion. Paham? gofynai preswylwyr Jerusalem. **A ddaeth y penaethiaid i wybod yn wir mai hwn yw y Crist?** Gadewir allan yr ail "wir" yn y prif lawysgrifau; ac y mae ffurf y cwestiwn yn awgrymu ateb nacaol. Yr oedd y penaethiaid wedi penderfynu rhoddi yr Iesu yn y ddalfa—yr oedd eu bwriad yn wybyddus i drigolion y dref. Wele Ef yn awr yn y deml yn lletaru yn eofnach nag erioed—paham na ddaliant Ef? A ydynt wedi derbyn gwybodaeth bellach (*egnôsan*) fel ag i'w hargyhoeddi mai hwn yw y Messiah? Ni allasai trigolion Jerusalem gyfrif am eu musgrellni ar un tir arall; ac eto y mae y dybiaeth mor anhygoel fel **na choleddant hi am foment.**

**ADN 27. Eithr nyni a adwaenom hwn o ba le y mae.** "Hwn, hwn, hwn," deirgwaith, i ddangos eu dirmyg. Gwelwn yn lleferydd y bobl hyn y balchder trahaus ond anymwybodol sydd yn nodweddu preswylwyr prifddinas. "Nyni a adwaenom hwn"—gan ddefnyddio gair (*oidamen*) sydd yn dynodi gwybodaeth lawn a pherffaith. Gwydd-

28 gŵyr neb o ba le y mae. Am hynny yr Iesu, wrth athraw-
iaethu yn y deml, a lefodd ac a ddywedodd, Chwi a'm
hadwaenoch i, ac a wyddoch o ba le yr ydwyf fi: ac ni

---

ent y cwbl am dano, yr oedd eu gwybodaeth yn llawn ac anffaeledig. Hwyrach fod y llywodraethwyr wedi eu twyllo: gwyddom ni yn well! Anffaeledigrwydd anwybodaeth! "Nyni a adwaenom hwn o ba le y mae"—o Nazareth. Y Messiah yn dyfod o Galilea! Na choeliwn fawr. Yr oeddynt mor sicr o'u pwngc fel nad oedd eisieu chwilio yn mhellach, megis yr awgryma y gair a ddefnyddiant. **Eithr pan ddel y Crist, nis gwyr neb o ba le y mae.** Y mae yn amlwg nad oedd gan y bobl hyn, os oedd gan y penaethiaid, un syniad clir a chyson am ddyfodiad y Messiah. Ond yr oedd argraph gyffredinol, ar ddysgedig ac annysgedig, y buasai dirgelwch yn nodweddu ei berson a'i ymddangosiad. (1) Ar un llaw meddent wybodaeth am fan ei enedigaeth ac am ei linach. Cyd. Matt. ii. 3—5 ag adn. 42. (2) Ar y llaw arall, teimlent fod dirgelwch yn perthyn iddo. "Pwy a draetha ei oes Ef?" "Yr hwn oedd ei fynediad Ef allan o'r dechreuad, er dyddiau tragwyddoldeb." "Mi a welwn mewn gweledigaethau nos, ac wele, megis Mab y Dyn oedd yn dyfod gyda chymylau y nefoedd." "Yn ddisymwth y daw yr Arglwydd, yr hwn yr ydych yn ei geisio, i'w deml" (Es. liii. 8; Mic. v. 2; Dan. vii. 13; Mal. iii. 1). Oblegid na syniai yr Iuddewon am y Messiah fel un yn meddu ar Dduwdod priodol, cymhwysent yr adnodau hyn ato fel dyn. Am hyny, coleddent syniadau tra chymysglyd am dano. Yn yr esboniad Iuddewig *(Midrash)* ar Can: ii. 9, dywedir "tri pheth a ddaw yn ddisymwth—y Messiah, tynghed dda, a scorpion." Felly hefyd rhydd Justin Ferthyr yn ngenau yr Iuddew Trypho, fel dadl yn erbyn yr Iesu, na wyddai neb o ba le y deuai. "Ond Crist, os yw yn wir wedi ei eni ac yn bod o gwbl, sydd anadnabyddus, ac nid yw hyd yn nod yn adwaen ei hun, nac yn meddu gallu, hyd nes y daw Elias i'w eneinio a'i amlygu." Credent yr amdöid y Messiah gan ddirgelwch; ond am yr Iesu—pa le yr oedd y dirgelwch? Oni wyddent le ei enedigaeth a hanes ei deulu? Oni wyddent pwy oedd ei dad a'i fam (vi. 42)? **Iddynt hwy digon hyny dros ei wrthod.**

**ADN. 28. Gan hyny yr Iesu a lefodd yn y deml, gan ddysgu a dywedyd.** Yn adn. 14 coffheir fod yr Iesu yn "dysgu yn y deml"; yma ei fod yn "llefain yn y deml, gan ddysgu." Oherwydd paham barna rhai, a Westcott yn eu plith, y cyfeirir yma at ddau ddiwrnod gwahanol, a bod ei ddysgeidiaeth y diwrnod cyntaf yn terfynu yn adn. 24. Y mae y dybiaeth yn naturiol ddigon. Ni ddefnyddir y gair am "lefain" *(krazô)* ond pedair gwaith yn yr efengyl hon, sef yn i. 15; vii. 28; vii. 37; xii. 44, a golyga lefain allan, llefain yn uchel. Derchafodd Crist ei lais yn uchel fel udgorn, nes adseinio o holl gynteddau y deml—ni anghofiodd Ioan byth mo'r llef hono. Paham y llefodd yn awr yn uwch nag oedd arferol ganddo? (1) Yr oedd y gynulleidfa yn ddiamheu yn fawr ryfeddol. (2) Ond yn benaf yr ydoedd Efe ei hun dan deimlad cryf. Clywodd wrthddadl pobl Jerusalem yn ei erbyn, ac ymferwodd ei holl natur o'i fewn yn ngwyneb aflwyddiant pob ymdrech o'i eiddo, a llefodd allan, gan ddysgu a dywedyd, **Chwi a'm hadwaenoch i, ac a**

ddaethum i o honof fy hun, eithr y mae yn gywir yr hwn
a'm hanfonodd i, yr hwn nid adwaenoch chwi. Ond myfi 29

---

**wyddoch o ba le yr ydwyf fi.** Dechreua ei anerchiad gyda dyfyniad o'u hymddiddan hwy. Paham? (1) Mŷn Grotius, Ewald, a Luthardt mai mewn ffordd ofyniadol y mae yn dyfynu yma, er mwyn creu amheuaeth ynddynt am sierwydd eu gwybodaeth o berthynas iddo. "A adwaenoch chwi fi ac a wyddoch chwi o ba le yr ydwyf? Yr ydych chwi yn hòni hyny wrth eich gilydd, ond a yw eich honiad yn wir?" Ac yna aiff yn mlaen i ddangos iddynt nad oedd eu gwybodaeth am dano Ef mor gyflawn ag y tybient. (2) Cred Calfin, Godet, ac Olshausen fod yn y geiriau wythïen o wawd *(irony)*. Ond teimlwn ni yn rhydd i gyfaddef ein bod mewn cydymdeimlad llwyr a sylw Bengel nad arfer yr Iesu oedd defnyddio gwatwareg fel un o arfau ei ddysgeidiaeth. (3) Gan hyny, gwell genym ni olygiad De Wette, Meyer, a Westcott fod yr Iesu yn defnyddio y geiriau yn eu hystyr naturiol —y gwyddent mewn ffordd gyffredinol pwy oedd ei rieni a pha le y magesid Ef, er nad oes dim yn yr efengylau yn awgrymu y gwyddent mai Bethlehem oedd tref ei enedigaeth. Fel y sylwa Dr. Davies, Caernarfon, tybient hwy eu bod yn egluro yr oll wrth olrhain yr afon i'r ffynhon; ond y mae cwestiwn arall, O ba le y tardda y ffynhon? Wedi gosod i lawr yn syml yn y frawddeg hon yr hyn a wyddent, yn yr adnodau nesaf gesyd i lawr yr hyn na wyddent. **Ac eto ni ddaethum i o honof fy hun.** Cytuna yr esbonwyr fod ystyr wrtheiriol *(adversative)* i'r cysylltair. "Chwi a wyddoch—ac eto." Gwyddent hwy ryw gymaint o'i hanes, ond ni wyddent yr oll fel yr honent yn adn. 27: yr oedd rhyw "eto" yn ei hanes—yr oedd y dirgelwch y cyfeirient hwy ato fel yn hanfodol i'r Messiah yn bod. "Chwi a wyddoch, ac eto"—y dirgelwch. "Ni ddaethum o honof fy hun"—"o honof fy hun" yn bwysleisiol. Gwyddoch chwi am Nazareth, am Joseph a Mair; cesglwch mewn canlyniad mai uchelgais sydd yn fy nghymell i chwenych cyhoeddusrwydd. Nage; "o honof fy hun ni ddaethum," wedi cael fy anfon gan arall yr ydwyf. Ac nid hunan-dwyll yw fy nghrêd yn fy anfoniad. **Eithr yr hwn a'm hanfonodd i sydd yn fod gwirioneddol, yr hwn nid adwaenoch chwi.** Na feddyliwch mai ynfydu yr ydwyf,—wedi perswadio fy hunan fod genyf genadwri i'r oes a'r byd heb un sail i'm hargyhoeddiad; na, y mae yr hwn a'm hanfonodd i yn Fod Gwirioneddol. *Alêthês* yw y gair yn adn. 26, yn dynodi cywirdeb; ond *alêthinos* yw y gair yma, ac yn dynodi gwirioneddolrwydd. Yr un gair ag yn i. 9. Nid breuddwydion na dychmygion oedd ei ddysgeidiaeth,—y tu cefn i'r cyfan a than y cyfan yr oedd y *Reality* anfeidrol, y Bôd Gwirioneddol. Nid oedd yr Iuddewon, yn benaethiaid a phobl, ond yn gweled y gwisgoedd, nid oeddynt yn adwaen y Bôd Gwirioneddol oedd dan y gwisgoedd oll.

**ADN. 29. Myfi a'i hadwaen Ef.** Y pwyslais ar "myfi" mewn cyferbyniad i "chwi" yr adnod flaenorol. "Adwaen" (*oida*)—adwaen yn llawn a thrwyadl. Y mae genyf fi adnabyddiaeth lawn o'r Bôd Gwirioneddol, y Bôd sydd yn llanw drychfeddwl bodolaeth, a'r unig Fôd sydd yn gweuthur hyny, oblegid Efe yn unig sydd ddigonol iddo ei hun.

a'i hadwaen: oblegid o hono ef yr ydwyf fi, ac efe a'm
30 hanfonodd i. Am hynny hwy a geisiasant ei ddal ef: ond
ni osododd neb law arno, am na ddaethai ei awr ef etto.
31 A llawer o'r bobl a gredasant ynddo, ac a ddywedasant,
Pan ddelo Crist, a wna efe fwy o arwyddion na'r rhai hyn
a wnaeth hwn?

---

**Oblegid o hono Ef yr ydwyf fi.** Yr arddodiad am "o" yn yr adnod flaenorol yw *apo*; ond yma *para*—o hono Ef, o'i ymyl, o ger ei fron. Nid ei genadwri neu ei ddysgeidiaeth yw pwngc y frawddeg hon, ond ei berson—Crist yn dysgu yma yr hyn a ddysga Ioan yn i. 1. Yr oedd person yr Iesu o ymyl person y Tad—safent eill dau yn gyfochrog yn yr Hanfod. Gwir y dywedai yr Iuddewon fod dirgelwch yn perthyn i'r Messiah—o ba le y daeth. **Ac Efe a'm hanfonodd i.** Yr "Efe" yn bwysleisiol. Wedi nodi dwyfoldeb ei berthynas yn y frawddeg flaenorol, noda yma ddwyfoldeb ei genadwri. Duw *real*—Crist *real*—Efengyl *real*. Yn ymyl hyn nid yw cyfundrefnau drychfeddyliol ond clych ewyn—hardd y tu faes ond gwâg y tu fewn. Yr oedd yr Iuddewon trwy y blynyddoedd wedi bod wyneb yn wyneb a Seremoni: dyma hwy yn awr wyneb yn wyneb a *Reality*.

**ADN. 30. Am hyny hwy a geisiasant ei ddàl Ef.** Yr oeddynt yn ceisio—yr amser anmherffaith. *They kept trying.* Pwy oedd yn ceisio? Y llywodraethwyr, a'r adran hono o'r bobl ag oedd mewn cydymdeimlad a hwy. **Ond ni osododd neb law arno, am na ddaethai ei awr Ef eto.** Teimlent yn ddigon digofus i ymaflyd yn ei wàr, ond—yr oedd rhywbeth yn eu cadw yn ol. Beth oedd y rhywbeth hwnw? (1) Cydwybod, o bosibl. Nid oedd eto wedi caledu digon i osod llaw ar y Purdeb dihalog. (2) Ofn yr Iesu, feallai. Gwyddent am ei allu gwyrthiol: beth os arferai hwnw i ddial ei gam? (3) Ofn y lluaws pobl oedd mewn cydymdeimlad ag Ef, at y rhai y cyfeirir yn yr adnod nesaf. (4) Ond edrych Ioan y tu hwnt i bob ail achosion, at yr Achos mawr ei hun, y Bôd Gwirioneddol, ag oedd yn trefnu amser a phenu lle y weithred fawr ag oedd i fod yn ganolbwynt amser a lle. Nid oedd yr "Awr" hono wedi dyfod eto. Yn ol duwinyddiaeth Ioan, nid damwain yw Trefn y Cadw—nid yw Damwain a Threfn yn cydsefyll.

**ADN. 31. Ond o'r dyrfa llawer a gredasant ynddo** Yr un amgylchiadau ag a ddadblygodd anghrediniaeth rhai a gryfhäodd ffydd eraill. Yr un heulwen sydd yn addfedu ysgall a gwenith. **Ac a ddywedasant, Pan ddelo y Crist, a wna efe fwy o arwyddion na'r rhai a wnaeth hwn?** Y mae ffurf yr ymadrodd yn disgwyl ateb nacäol. Ni allent ddychymygu am neb yn gweuthur gwyrthiau mwy a gwell: paham ynte na chydnabyddid Ef fel y Messiah? Dyma y bobl a ddywedent yn adn. 12, "Gwr da yw": yn y ddadl y maent wedi enill gwroldeb, maentumiant yn awr mai y Messiah yw. Y maent yn parhau i ofyn, fel y dengys amser anmherffaith y ferf, *they kept saying*, "Pan ddelo y Crist, a wna Efe fwy o arwyddion," &c.?

Y Phariseaid a glywsant fod y bobl yn murmur y pethau 32
hyn am dano ef; a'r Phariseaid a'r archoffeiriaid a anfon-
asant swyddogion i'w ddal ef. Am hynny y dywedodd yr 33
Iesu wrthynt hwy, Yr ydwyf fi ychydig amser etto gyd â

---

CRIST YN RHAGDDYWEDYD EI FARWOLAETH. ADN. 32—36.

**ADN. 32. Y Phariseaid a glywsant y bobl yn murmur y pethau hyn am dano Ef.** Nid clywed eu bod, fel yn y cyfieithiad arferol, ond eu clywed hwy eu hunain. (1) Tybia Godet eu bod yn clust-ymwrandaw ar eu ffordd trwy y Cyntedd at eu gwahanol ddyledswyddau yn y deml; (2) ond barna Meyer yr ymgymysgent â'r dyrfa er mwyn gwybod eu barn am yr Iesu. Nid oes dim yn fwy naturiol na'u bod yn gwneuthur y ddau. Clywsant ddigon i'w hargyhoeddi fod brwdfrydedd y dorf yn codi. **A'r archoffeiriaid a'r Phariseaid a anfonasant swyddogion i'w ddàl Ef.** Yn y darlleniad arferol gosodir y Phariseaid o flaen yr archoffeiriaid, a barna Meyer mai dyna y darlleniad iawn, gan mai y Phariseaid oedd y dosbarth cyntaf i symud yn y mater. Ond dysga y Cyf. Diw. fod mwyafrif yr hên lawysgrifau yn gosod yr archoffeiriaid yn nghyntaf, yn gymaint mai hwynthwy oedd y prif swyddogion. Ar ol darganfod fod brwdfrydedd y dorf yn ffafriol i hawliau yr Iesu fel Messiah, (1) barna rhai i'r Phariseaid gymeryd mesurau uniongyrchol i alw ynghyd y Cynghorlys, ac iddynt yno basio yn ffurfiol benderfyniad i ddal yr Iesu; (2) tra y barna eraill nad oedd hyny yn angenrheidiol, gan fod penderfyniad i'r perwyl hwnw ar eu llyfrau yn flaenorol, ond yn unig rhoddi y penderfyniad mewn gweithrediad. Golyga y gair am swyddogion (*hupêretas*) rwyfwyr llong, mewn cyferbyniad i'r milwyr a ddygwyddai fod ar y bwrdd; yna yn raddol daeth i ddynodi is-swyddogion gwladol neu filwrol. Y mae yn amlwg fod y term wedi colli ei ystyr gyntaf, ac y deallir wrtho yma *police* y deml, y rhai oeddynt dan awdurdod y Sanhedrin. Yn ol cyfraith Moses ni allasai fod ond un archoffeiriad tra y parhâi ei oes; ond er gorchfygiad y genedl yn gyntaf gan y Groegiaid, ac ar ol hyny gan y Rhufeiniaid, gan fod yr archoffeiriadaeth wedi llithro i fod yn fwy o swydd wladol na chrefyddol, newidid hwy yn ol mympwy y prif lywodraethwyr tramor, ac yn achlysurol gwerthid y swydd i'r uchaf ei bris. Ymddengys mai Annas oedd y prif arch-offeiriad yn awr, yn cael ei gynorthwyo gan ei fab-yn-nghyfraith Caiaphas. Perthynai yr arch-offeiriaid, gan fwyaf, o amser y Maccabeiaid, i sect y Sadduceaid, sef y sect ag oedd mewn cydymdeimlad ag arferion ac â'r llywodraeth dramor. Cynrychiolai y Sadduceaid y syniadau Groegaidd; ond cynrychiolai y Phariseaid y syniadau Iuddewig.

**ADN. 33. Am hyny y dywedodd yr Iesu.** Gadewir allan "wrthynt hwy" yn y Cyf. Diw. Wrth bwy y dywedodd? Gwelodd yr Iesu y swyddogion a gwyddai amcan eu dyfodiad. Ni chyfeiriodd â'i fys atynt, ond rhoddodd eu presenoldeb ffurf arbenig i'w ymadroddion. Cyfarcha bawb yn y dorf, ac eto y mae cyfeiriad penodol ei eiriau at y Sanhedrin a'r swyddogion. **Yr ydwyf fi ychydig amser eto gyda chwi.** Nid yw presenoldeb y *police* yn dychryn dim arno nac yn dymchwel ei hunanfeddiant. Beth yw ei amcan yn llefaru fel hyn? (1) Adgofir Ef gan

chwi, ac yr wyf yn myned at yr hwn a'm hanfonodd.
34 Chwi a'm ceisiwch, ac ni'*m* cewch : a lle yr ydwyf fi, ni
35 ellwch chwi ddyfod. Yna y dywedodd yr Iuddewon yn eu
mysg eu hunain, I ba le y mae hwn ar fedr myned, fel na

---

bresenoldeb y swyddogion nas gall ei angeu fod yn mhell. Fel pe dywedasai : Yr ydych chwi wedi dyfod gyda'r bwriad o fy rhoddi yn y dalfa. Na, dim heddyw. Nid yw fy awr i wedi dyfod eto, ac ni ddaw am chwe mis. (2) Ond diau fod Calfin yn gywir pan yn canfod yma swn bygythiol—rhybuddia y genedl fod adeg ei phrawf yn cwtogi ; nid oedd ganddi ond byr dymhor i wneyd heddwch. **Ac yr wyf yn myned at yr hwn a'm hanfonodd.** Ofer yw tybiaeth Meyer fod Ioan yma yn defnyddio brawddeg eglurach nag a lefarodd yr Iesu, onite y buasai y Phariseaid yn deall ei feddwl, fel ag i wneyd y cwestiynau yn yr adnodau dilynol yn afreidiol. Yr oedd llen o ddallineb dros eu llygaid, gwëedig gan eu rhagfarnau a'u rhagrith. Cyfeiria at ei fynediad ymaith yn yr angeu ; ond hyd yn nod y pryd hwnw nid goddefydd fuasai, ond gweithredydd ; nid cael ei yru, ond myned—myned yn ôl at yr hwn a'i hanfonodd. Meistr amgylchiadau bob amser yn mhob man, nid gwas yn cael ei sathru dan eu traed. Efe sydd yn trefnu amgylchiadau ei oes, nid y Phariseaid : ä Efe ymaith i'r arall fyd, nid yn eu "hawr" hwy, ond yn "awr" ei Dad.

**ADN. 34. Chwi a'm ceisiwch ac ni'm cewch.** (1) Ei geisio mewn digter i'w ladd, medd Origen a Grotius. Eithr nid felly ddim, oherwydd pan y ceisiasant Ef i'r perwyl hyny hwy a'u cawsant. (2) Ei geisio mewn edifeirwch, meddai Awstin. Nid felly chwaith, canys pwy bynag a'i ceisiant mewn gwir edifeirwch a'u cânt. (3) Gan hyny, rhaid mai y meddwl yw ei geisio fel eu Messiah i'w cynorthwyo yn nydd eu trychineb. Pan y delai dydd dial yr Arglwydd yn ninystr Jerusalem, ac ar ol hyny, hwy a ddyheuent am ddyfodiad y Messiah, ond nis caent ! Yn awr ceisiai Efe hwynthwy, ond heb gael ; y pryd hwnw, ceisient hwy Ef, ond heb gael ! **A lle yr ydwyf fi, ni ellwch chwi ddyfod.** Nid lle yr af fi neu y byddaf fi, ond "lle yr wyf fi"—yn yr amser presenol. Pa le yw hwnw ? Cyntedd y deml ? Nage, oblegid mae yr Iuddewon yno gydag Ef. Pa le? Lle y mae Duw ; a lle y mae Duw, yno y mae y nefoedd. Priodol y dywedir mai ystâd yw y nefoedd, a bod yr Iesu yn y nefoedd y pryd hwnw o ran ansawdd ei feddwl. Ond haner gwirionedd yw hynyna, er ei fod yn haner mawr ; yr haner arall yw y nefoedd fel lle, ac yn rhinwedd dwyfoldeb ei berson yr oedd yn y nefoedd fel lle (iii. 13) yn gystal ac fel ystâd. Dyma berson ddigon mawr i fod mewn deufyd yr un pryd. "Ni ellwch chwi ddyfod"—anallu moesol. Os y nefoedd oedd ei le Ef, ni allasai fod yn lle iddynt hwy—rhaid i bob anian fyned i'w lle ei hun.

**ADN. 35. Gan hyny y dywedodd yr Iuddewon yn eu mysg eu hunain.** Y Phariseaid oedd yn y dorf. Nid wrtho Ef, ond wrth eu gilydd, mewn gwawd. **"I ba le y mae hwn ar fedr myned, fel na chaffom ni ef?"** "Hwn" yn bwysleisiol i ddangos dirmyg. Sylwa Westcott y defnyddir tri gair yn yr efengyl hon am "fyned." Y

chaffom ni ef? ai at y rhai sydd ar wasgar ym mhlith y
Groegiaid y mae efe ar fedr myned, a dysgu y Groegiaid.
Pa ymadrodd yw hwn a ddywedodd efe, Chwi a'm ceis- 36
iwch, ac ni'*m* cewch: a lle yr ydwyf fi, ni ellwch chwi
ddyfod? Ac ar y dydd diweddaf, y *dydd* mawr o'r wyl, y 37

---

cyntaf (*hupago*) yn adn. 33 yn dynodi gweithred bersonol—yr Iesu yn llawn ryddid ei ewyllys yn myned ymaith. Yr ail (*poreuomai*) yn yr adnod hon, ac yn golygu myned ar neges, gyda chenadwri neu amcan. Y trydydd (*aperchomai*) yn xvi. 7, ac yn golygu mynediad neu ymadawiad syml. Yr ail a ddefnyddia yr Iuddewon yn yr adnod hon: "I ba le y mae hwn ar fedr myned gyda'i genadwri?" **Ai at y rhai sydd ar wasgar yn mhlith y Groegiaid y mae efe ar fedr myned, a dysgu y Groegiaid?** Y gair a gyfieithir "Groegiaid" ddwywaith yw *Hellenes*, enw priodol Groegiaid o waed a thafodiaith. Yr enw ar Iuddewon fel Philo, y rhai oeddynt Iuddewon o ran gwaed ond Groegiaid o ran tafodiaith, yw *Hellenistai*: ni ddefnyddir yr enw hwn yma o gwbl. Beth yw ystyr y cwestiwn hwn? (1) Os cyfieithir yn hollol naturiol rhaid darllen fel hyn: "Ai at wasgariad y Groegiaid y mae ar fedr myned, a dysgu y Groegiaid?" Yr oedd y Groegiaid yn wasgaredig trwy holl Syria ac Asia Leiaf, a'u hiaith yn llefaredig gan bob cenedl. Felly yr ystyr cyntaf a mwyaf llythyrenol yw: "A ydyw am droi ei gefn ar yr Iuddewon ac apelio at y Groegiaid—Groegiaid o waed yn gystal ag o iaith?" (2) Ond myn mwyafrif yr esbonwyr leddfu y cyfieithiad: "Ai at y gwasgariad yn mhlith y Groegiaid y mae ar fedr myned, a dysgu y Groegiaid?" gan ddehongli y gwasgariad (*diaspora*) yn ystyr y gair yn Iago i. 1, a 1 Petr i. 1, sef yr Iuddewon oedd ar wasgar yn mhlith y Cenhedloedd. Felly y meddwl yw: A ydyw yn myned i droi ei gefn arnom ni, Iuddewon Palestina, a myned i apelio at yr Iuddewon llai uniongred a llai goleuedig yn mhlith y Cenhedloedd? Ac yna, trwy y rhai hyn, gynyg ei ddysgeidiaeth i'r Cenhedloedd eu hunain? Mewn gwawd y llefarent hwy y geiriau; ond yn eu gwawd yr oedd gwythïen prophwydoliaeth. Dyna yn gymhwys fel y gwnaeth. Wedi gorphen ei waith arbenig ei hun, ei apostolion a aethant i synagogau yr Iuddewon oedd ar wasgar, gan bregethu yr Efengyl i Iuddewon y Gwasgariad; a thrwyddynt hwy cyrhaeddasant y Groegiaid o waed yn gystal ag o dafod. "*Irony* hanesyddiaeth," meddai Watkins.

**ADN. 36. Pa ymadrodd yw hwn a ddywedodd efe, Chwi a'm ceisiwch, ac ni'm cewch, &c.?** Yr oeddynt newydd roddi eu dehongliad eu hunain; ond teimlent fod yn y geiriau ddirgelwch na allent hwy ei blymio. Y mae rhyw deimladau dyeithriol wedi eu deffro o'u mewn, fel pe chwifiai rhyw drychineb mawr ei adenydd duon uwch eu pen. A yw y geiriau yn golygu aflwydd? oedd y cwestiwn a ofynai eu greddfau.

CRIST YN ADDAW YR YSBRYD. ADN. 37–39.

**ADN. 37. Ac ar y dydd diweddaf, dydd mawr yr ŵyl.** Pa ddydd yw hwn? (1) Etyb Bengel mai y seithfed, gan na pharhâi yr ŵyl briodol ond am saith niwrnod. (Num. xxix. 12; Deut. xvi. 13). Amddiffynir y

safodd yr Iesu, ac a lefodd, gan ddywedyd, Od oes ar neb

---

golygiad hwn yn helaeth ac yn gryf gan Edersheim, un o'r prif awdurdodau ar arferion yr Iuddewon. (2) Ond barna mwyafrif mawr yr esbonwyr diweddar mai yr wythfed dydd a ddynodir, oblegid gwelsom eisoes fod diwrnod ychwanegol wedi ei gysylltu a'r ŵyl, yr hwn a syrthiai ar y Sabboth, ac felly a elwid yn Gymanfa y Sabbath (Lef. xxiii. 36, 39; Num. xxix. 35–39; Neh. viii. 18). Yn llenyddiaeth ddiweddar yr Iuddewon yr enw arno yw Dydd yr Hosanna Mawr, oblegid y gorfoledd eithafol a'i nodweddai. **Yr Iesu a safodd ac a lefodd allan.** Ei ffordd arferol oedd "eistedd" (Matt. v. i.; viii. 2) i ddysgu y bobl; ond ar yr achlysur presenol saif ar ei draed ac a lefa allan (*krazô*) - gwaedda yn uchel a nerthol fel yn adn. 28. Y mae rhyw urddas aruchel yn nodweddu ystum ei gorph a goslef ei lais. **Od oes ar neb syched, deued ataf fi ac yfed.** (1) Beth achlysurodd y ffurf arbenig hon ar ei ymadrodd? Etyb yr esbonwyr yn gytun iddo fenthycia ei ffugr oddiwrth y seremoni feunyddiol yn y deml yn ystod yr ŵyl. Ar amser penodol ai gorymdaith o offeiriaid gyda rhwysg i Lyn Siloam wrth droed y mynydd, gan dynu dwfr o hono i gawg aur; yna cludent y dwfr yn araf i fynu y grisiau i'r deml, yn ngwydd y gynulleidfa, tra y cânai y bobl Es. xii. 3: "Mewn llawenydd y tynwch ddwfr o ffynhonau iachawdwriaeth." Yna aent yn mlaen hyd at yr allor yn y deml, a thywalltent y dwfr i gawgiau llai, un bob ochr i'r allor, o ba rai y cludid ef gan bibellau o dan y deml i afon Cedron. Yna curai y Lefiaid ei symbalau a chwythent eu hudgyrn, tra y cânai y gynulleidfa Salmau cxiii.—cxviii. Os ar y seithfed dydd y llefodd yr Iesu, "Od oes ar neb syched, deued ataf fi ac yfed," rhaid mai yn y tawelwch cydmarol a ddilynai floeddiadau gorfoleddus y dorf y gwnaeth, gyda chyfeiriad arbenig at y ddefod ag oeddynt hwy newydd fod yn llygad-dystion o honi. Os ar yr wythfed dydd, pryd y bernir gan fwyafrif mawr yr esbonwyr y peidiai y ddefod, y tebyg yw i bregeth yr Iesu yn awr gymeryd ei lle, ac fel esboniad arni. Dilynir Stier gan Alford a Westcott yn y dybiaeth fod peidiad y ddefod yn gosod pwysigrwydd ychwanegol ar eiriau yr Iesu. Ni allasai y dorf lai na theimlo oddiwrth absenoldeb y seremoni a gyfranai y fath fywiogrwydd i'r gwasanaeth beunyddiol; ac o ganlyniad cymerodd yr Iesu fantais ar y lle gwâg yn y gwasanaeth i sefyll ar ei draed a gwahodd y bobl ato ei hun am ddwfr a ddisychedai eu holl anghenion. (2) Beth oedd ystyr y ddefod? Nid oes eglurhad arni yn yr H. D. Ond os cadwn mewn cof amcan sylfaenol Gŵyl y Pebyll, tybiwn na fydd yn anhawdd i dreiddio i'w hysbryd. "Mewn bythod yr arhoswch saith niwrnod; pob prïodor yn Israel a drigant mewn bythod: fel y gwypo eich cenedlaethau chwi mai mewn bythod y perais i feibion Israel drigo, pan ddygais hwynt allan o dir yr Aipht" (Lef. xxiii. 42). Amcan yr ŵyl, gan hyny, oedd cadw yn fyw yn nghof a phrofiad y genedl ymdaith ei thadau yn yr anialwch. Hynodid eu hymdaith gan dair gwyrth fawr: Bara o'r Nef i'w fwyta, Dwfr o'r Graig i'w yfed, a'r Golofn Niwl y dydd a'r Golofn Dân y nos. Yn mhenod vi. dysga yr Iesu mai Efe yw y gwir Fara o'r nef. Yn y benod hon dengys mai Efe hefyd yw sylwedd yr ail wyrth, ac yn y benod ddilynol mai Efe yw sylwedd y drydedd wyrth, megis y cawn weled ar viii. 12.

syched, deued attaf fi, ac yfed. Yr hwn sydd yn credu 38

---

Portreadid y ddwy wyrth olaf yn flynyddol o flaen llygaid y genedl yn yr ŵyl—gwyrth y Dwfr o'r Graig i yfed yn nefod y dwfr a ddesgrifiwyd uchod. Amcan y ddefod, gan hyny, ydoedd—argraphu ar feddwl y genedl wyrth fawr y Dwfr o'r Graig i'w yfed. Yma hawlia yr Iesu mai Efe yw sylwedd y wyrth, mai Efe yw y Graig sydd yn abl i ddisychedu dynoliaeth. "Od oes ar neb syched," megis ag yr oedd ar y genedl yn y diffaethwch, "deued ataf fi ac yfed." Nid Efe yw y dwfr, fel y dengys y ddwy adnod nesaf, ond Efe yw y Graig sydd yn rhoddi y dwfr. "Hwy a yfasant o'r Graig ysbrydol oedd yn canlyn; a'r Graig oedd Crist" (1 Cor. x. 4). Gesyd yr Iesu ei hunan allan fel un, a'r unig un, a fedr dori syched dyn, a phob dyn—y dyn tylawd a'r dyn cyfoethog, y dyn anllythyrenog a'r dyn dysgedig.

**ADN. 38. Yr hwn sydd yn credu ynof fi.** Dibyna esboniadaeth yr adnod hon i raddau mawr ar gystrawen y frawddeg gyntaf. Y mae yn amlwg, fel y saif yn y cyfieithiad presenol, fod y frawddeg yn ffurfio *subject*; ond pa le y mae y *predicate* neu y ferf a ddylasai ddilyn? Nid ydyw i'w chael. Gan hyny, cyfyd y gofyniad, A ddylid ei chysylltu â'r brawddegau sydd o'i blaen, ynte â'r brawddegau sydd ar ei hol? (1) Dadleua Stier, Gess, a Whitelaw mai gwell ei chysylltu â'r brawddegau blaenorol, er cyfaddef fod y gystrawen trwy hyny yn myned yn dra dyrys. Felly darllenant fel hyn: "Od oes ar neb syched, deued ataf fi, ac yfed, sef yr hwn sydd yn credu ynof fi,—megis y dywedodd yr Ysgrythyr, Afonydd o ddwfr bywiol a ddylifant o'i groth Ef." (Cyd. i. 12). Neu, "Od oes ar neb syched, deued ataf fi; a'r hwn sydd yn credu ynof fi, yfed,—megis y dywedodd yr Ysgrythyr, Afonydd o ddwfr bywiol a ddylifant o'i groth ef." Yn ol y darlleniad hwn, o groth yr Arglwydd Iesu y dylifa yr afonydd i ddisychedu y byd, megis y dylifai y dwfr o groth y Graig yn Horeb i ddisychedu yr Israel yn yr anialwch. Hollol gyson â'r golygiad hwn yw esboniad Ioan yn yr adnod ganlynol: "Hyn a ddywedodd Efe am yr Ysbryd, yr hwn a gai y rhai a gredent ynddo Ef ei dderbyn; canys eto nid oedd yr Ysbryd Glan wedi ei roddi, oherwydd na ogoneddasid yr Iesu eto." Felly o gorph gogoneddus yr Iesu y dylifa yr Ysbryd Glân fel afonydd o ddwfr bywiol i dori syched y byd. Y mae hynyna yn rhoddi synwyr da ac yn hollol gyson a dysgeidiaeth y Test. Newydd. Mabwysiedir ef gan Bengel, Stier, Gess, Whitelaw, ac Ogwen Jones. Cadarnheir y dehongliad hwn gan y darganfyddiad diweddar o sêl Fabilonaidd, ac arni ddelw un o'r duwiau, o lwynau neu groth yr hwn y llifa allan gyflawnder o ddwfr,—yr hyn a'n dysga, gan nad pa mor ddyeithr i'n dull ni o lefaru ydyw ffugr yr adnod, ei fod yn gynefin ddigon i bobl y dwyrain—cymhwysa yr Iesu ato ei hun yma ffugr a arferent hwy ei gymhwyso at Dduw. (2) Ond barna mwyafrif mawr yr esbonwyr, ar dir gramadeg, y dylid edrych ar y frawddeg, "Yr hwn sydd yn credu ynof fi," fel *nominative absolute*, a'i chysylltu â'r hyn sydd yn canlyn: "Yr hwn sydd yn credu ynof fi,—megis y dywedodd yr Ysgrythyr, afonydd o ddwfr bywiol a ddylifant o'i groth ef." Yn ol y darlleniad hwn, am y credadyn, ac nid am Grist, y dywedir y dylifa afonydd allan o hono. Yn y bedwaredd benod rhydd yr Iesu ddwfr i ddisychedu yn dragwyddol y credadyn unigol; ond yma

ynof fi, megis y dywedodd yr ysgrythyr, afonydd o ddwfr
39 bywiol a ddylifant o'i groth ef. (A hyn a ddywedodd efe
am yr Yspryd, yr hwn a gai y rhai a gredent ynddo ef ei
dderbyn: canys etto nid oedd yr Yspryd Glân *wedi ei*

---

y mae y dwfr ysbrydol a yf dyn trwy gredu yn dylifo allan o hono yn ffrydiau cryfion o ddylanwadau ysbrydol—ffrydiau o ddefnyddioldeb eglwysig a chymdeithasol. Nid yn unig bendithir ef yn bersonol, ond gwneir ef yn sianel i drosglwyddo afonydd o fendithion i eraill. Y mae yr ail olygiad hwn hefyd yn wirionedd cydmariaethol, o leiaf dylasai fod; ond nid yw mor gyfoethog â'r cyntaf, nac mor agos at hanfod yr Efengyl.

**Megis y dywedodd yr Ysgrythyr, Afonydd o ddwfr bywiol a ddylifant o'i groth ef.** Pa le y dywedodd yr Ysgrythyr? Gwyddis nad yw yn ddyfyniad uniongyrchol o un adnod adnabyddus i ni; am hyny, barna esbonwyr fod ysbryd amrywiol adranau wedi ei wasgu i'r ymadrodd (Es. xii. 3; xliv. 3; lviii. 2; Joel, iv. 8; Zech. xiv. 8; Ezek xlvii. 1-12). Ond, ar y cyfan, tueddwn ni i gredu gyda Godet fod y prif gyfeiriad at hanes y wyrth yn llyfrau Moses: "Wele, mi a safaf ar y Graig yn Horeb; taro dithau y Graig; a daw dwfr allan o honi, fel y gallo y bobl yfed." Ex. xvii. 6. "A Moses a gododd ei law, ac a darawodd y graig ddwywaith â'i wialen; a daeth dwfr lawer allan" ([redacted]. xx. 11). Sỳn genym nad yw Godet yn myned yn mhellach, ac yn gweled, os at y Graig yn Horeb y mae y cyfeiriad, mai nid y credadyn, ond Crist, yw y graig, o'r hwn y dylifa allan yr afonydd bywiol. Ond o ba le y benthycodd Crist y ffugr o "groth"? Y gwreiddiol yw *koilia*—bol, ymysgaroedd, croth, ceudod. Cyfieithia Chrysostom ef yn "galon"; Lange yn "gorph"; y cyfieithiadau Saesonaeg Awdurdodedig a Diwygiedig, "bol." Ond paham y ffugr hwn? (1) Etyb rhai mai oddiwrth ffurf gron y cawg aur, o'r hwn y dylifai allan ddwfr yn y ddefod. (2) Eraill mai oddiwrth y ffaith fod dwfr Llyn Siloam yn llifo o ffynhon yn ngroth neu "ymysgaroedd" y mynydd, o dan y deml. (3) Godet mai am i'r dwfr ffrydio allan o "galon" y Graig yn Horeb. (4) Y mae y naill neu'r llall o'r egluriadau hyn yn ddigon boddhäol; ond prawf y darganfyddiad y cyfeiriwyd ato yn barod, a'r hwn a wnaed ar ol i'r awduron ysgrifenu eu hesboniadau, fod y ffugr yn un cyffredin, ac o urddas grefyddol, yn llenyddiaeth y Semitiaid, fel na wisgai yr un wedd ddyeithriol i'r Iuddewon ag i ni.

**ADN. 39.** Yma dilyn esboniad Ioan ar eiriau yr Iesu. Y mae rhai beirniaid yn meddu digon o eofndra i haeru fod Ioan yn camesbonio, ac yn cynyg esboniadau rhagorach o'u dyfais eu hunain. Ond i ni sydd yn credu yn ngallu mawr Ioan fel meddyliwr, ac yn ei ysbrydoliaeth fel Apostol, y mae ei eglurhâd uwchlaw cecraeth a dadl. **Hyn a ddywedodd efe am yr Ysbryd.** Felly yn ol Ioan yr Ysbryd a olygir wrth "yr afonydd o ddwfr bywiol." Yr Iesu yw Bara y Bywyd (vi. 48); ond yr Ysbryd bob amser yw Dwfr y Bywyd. **Yr hwn a gai y rhai a gredent ynddo ef ei dderbyn.** Nid oeddynt wedi ei dderbyn eto, ond cawsent ei dderbyn ar y Pentecost, ac ar ôl hyny. **Canys eto nid oedd yr Ysbryd.** Fel yna yn y Cyf. Diw.; ond nid yw yn gwahaniaethu dim mewn meddwl

oddiwrth y cyfieithiad arferol. Beth ynte a feddylir wrth yr ymadrodd, "Nid oedd yr Ysbryd eto?" Y mae yn amlwg mai nid yr ystyr ydyw, nad oedd yn bod fel Trydydd Person yn y Drindod. Fel y cyfryw yr oedd yn bod o dragwyddoldeb. (1) Nid oedd yn bod i wybodaeth ac ymwybyddiaeth yr eglwys. Yr oedd y Drindod yn bod erioed, ond i eglwys yr H. D. nid oedd un athrawiaeth o'r Drindod yn bod—athrawiaeth ydyw perthynol i Eglwys y Test. Newydd. Ac yr ydym wedi cael achlysuron i sylwi y gwyddai Ioan Fedyddiwr ac eraill am yr Ysbryd Glân; ond nid oedd eu gwybodaeth yn ddigon clir a phenderfynol i gymeryd ffurf athrawiaethol. Athrawiaeth berthynol i Eglwys y Test. Newydd yw athrawiaeth yr Ysbryd. (2) Nid oedd athrawiaeth yr Ysbryd yn bod, oblegid nad oedd gweithrediadau achubol yr Ysbryd yn gyfryw ag i alw am ddadansoddiad na deffiniad. Felly yr ystyr yw, nid oedd yr Ysbryd yn bod yn ei weithrediadau, ei ddoniau, a'i ddylanwadau: dyna eglurhad Westcott, Godet, a'r holl fân esbonwyr. Dros yr eglurhad hwn, dyfynir dau reswm. Yn gyntaf, nid yw y fanod o flaen yr Ysbryd yn y frawddeg; a phrawf absenoldeb y fanod mai at ei natur, ei *weithrediadau*, y cyfeirir, ac nid at ei berson. Yn ail, y mae "afonydd" yn yr adnod flaenorol yn bwysleisiol, fel y prawf ei le blaenllaw yn y frawddeg, ac felly yn dynodi cyflawnder o ddylanwadau. Ychydig o ddwfr a lifai allan o'r cawg aur, dim ond un chwart,—yn cyfateb i brinder y dylanwadau dwyfol dan yr Hen Oruchwyliaeth; ond dan yr Oruchwyliaeth Newydd, afonydd—y dylanwadau yn gorlifo ei glanau. Felly yn Eglwys yr H. D. gweithredai yr Ysbryd ar raddfa gyfyng, ond yn Eglwys y Test. Newydd ar raddfa fawr ehang. "Dysgir yma," ebe Dr. Davies, Caernarfon, "y gellid disgwyl bendithion helaethach i ddynoliaeth dan oruchwyliaeth yr Ysbryd nag a gafwyd yn flaenorol. Sonir yn yr H. D. am yr Ysbryd yn gweithredu, yn ysbrydoli cerflunwyr, barnwyr a beirdd. Dywedir am Gedeon ei fod wedi ei wisgo ag Ysbryd yr Arglwydd (Barn. vi. 34, ymyl y ddalen Cyf. Diw.) Ond wedi gogoneddiad y Mab, a disgyniad cyfatebol yr Ysbryd, dyma lif o ddylanwad yn cael ei deimlo gan y ddynoliaeth." Y mae hynyna yn grynodeb clir, cywir o'r hyn a ddywed y prif esbonwyr ar y mater; ac mor belled ag yr ä, y mae yn wir. Ond a ydyw yn myned yn ddigon pell? Ai gwahaniaeth graddau yn unig yw y gwahaniaeth rhwng yr Ysbryd dan yr Oruchwyliaeth Newydd a'r Ysbryd dan yr Hên? Nid ydym yn tybied. (3) Megis y dywed Paul fod Esaias yn "ymhyfhau" pan yn cyhoeddi gwirionedd tra newydd, felly y mae Ioan yn "ymhyfhau" yn yr adnod hon, ac yn myned gryn lawer yn mhellach na neb o'i esbonwyr. Megis yr oedd y Gair yn gweithio yn y byd ac yn yr eglwys cyn yr Ymgnawdoliad, yn ol rhaglith Ioan, i. 1—13, eto yn yr Ymgnawdoliad daeth i gysylltiad newydd a gwahanol â'r byd, cysylltiad a ffurfiodd berthynas newydd â dynoliaeth. Daeth rhyw gyfnewidiad, nid yn unig yn null Person y Mab o weithredu, ond hefyd yn ffurf Person y Mab o fodoli. Yn Methlehem daeth rhyw gyfnewidiad anfeidrol dros Berson y Mab. Credwn fod rhyw gyfnewidiad cyfatebol wedi cymeryd lle yn hanes Person yr Ysbryd. Yr oedd yn y byd dan yr H. D. megis yr oedd y Mab yn y byd, ac i'r un graddau—mesur y naill oedd mesur y llall; ond ar y Pentecost, mewn canlyniad i farwolaeth ac esgyniad yr Arglwydd Iesu, daeth cyfnewidiad yn yr Ysbryd cyfatebol i'r cyfnewidiad yn y Mab yn yr Ymgnawdoliad. Nid yn

*roddi*, o herwydd na ogoneddasid yr Iesu etto).
40 Am hynny llawer o'r bobl, wedi clywed yr ymadrodd
41 hwn, a ddywedasant, Yn wir hwn yw y Prophwyd. Eraill
a ddywedasant, Hwn yw Crist. Eraill a ddywedasant, Ai
42 o Galilea y daw Crist? Oni ddywedodd yr ysgrythyr, Mai

---

unig cynyddodd graddau ei weithrediadau, ond newidiodd ffurf ei fodolaeth a'i ddull o weithredu. Daeth Person yr Ysbryd i'r byd mor wirioneddol ar y Pentecost ag y daeth Person y Mab i'r byd yn yr Ymgnawdoliad. Daeth Person y Mab yma i drigo yn y natur ddynol, ac oddiar fynydd yr Olewydd esgynodd yn ol i'r nefoedd, fel mai priodol dywedyd mai yn y nefoedd y mae Person y Mab heddyw, ac nid ar y ddaear. Yn gyffelyb daeth Person yr Ysbryd ar y Pentecost i'r ddaear i drigo mewn cymdeithas ddynol (yr eglwys), a chalon ddynol (y credadyn), ac ar y ddaear y trig y Person yn awr, ac nid yn y nefoedd. Y mae heb ddychwelyd eto i'r gogoniant, ac ni ddychwela nes dwyn yr eglwys yn ol gydag Ef. Teimlwn ein bod yn mhresenoldeb dirgelwch mawr, dim ond ail i ddirgelwch yr Ymgnawdoliad; ac eto barnwn yn go hyderus ein bod yn sangu yn ol traed Ioan pan yn dywedyd—"hyd yn hyn nid oedd yr Ysbryd." **Oherwydd na ogoneddasid yr Iesu eto.** H.y., nid oedd yr Iesu wedi marw ac esgyn. Paham yr ydoedd hyn yn rheswm dros nad oedd yr Ysbryd wedi disgyn? (1) Oblegid mai ar sail yr Iawn y gallesid rhoddi yr Ysbryd. Rhaid oedd symud y rhwystrau allanol cyfreithiol rhwng dynion a Duw yn mlaenaf, cyn y gallesid rhoddi yr Ysbryd i breswylio yn dufewnol. (2) Oherwydd yn ffurf yr Iawn y mae yr Ysbryd yn awr yn gweithio. Yn ngwaith Cyfryngol Crist y cafodd Efe y defnyddiau, y gwirioneddau, y ffeithiau angenrheidiol i gynyrchu yr argraph briodol ar feddwl pechadur. Heb hyny gweithiwr heb arfau a fuasai. (3) Am mai nid fel Ysbryd Duw y gweithreda, ond fel Ysbryd Crist—dylifa o ddynoliaeth ogoneddus yr Arglwydd Iesu.

EFFEITHIAU Y BREGETH. ADN. 40—53.

Nid ydym i dybied fod Ioan wedi croniclo y bregeth ar ei hyd. Pe na lefarasai ond adn. 38, a brawddeg olaf yr adnod flaenorol, pa fodd y gallasai y swyddogion a'u gwrandawent dalu y fath warogaeth i'w hyawdledd (adn. 46)?

ADN. 40. **Gan hyny, rhai o'r bobl wedi clywed y geiriau hyn, a ddywedasant, Yn wir hwn yw y Prophwyd.** Rhaid i ni beidio disgwyl cysondeb yn esboniadau yr Iuddewon yn fwy nag yn esboniadau Cristionogion. Amrywient yn fawr yn eu dull o egluro Deut. xviii. 15—22. Gwahaniaethai rhai rhwng y Prophwyd addawedig yn y paragraph a'r Messiah; eraill a'u hunaniaethent. Y mae y bobl yma yn eu gwahaniaethu (Gwel ar i. 21).

ADN. 41, 42. **Eraill a ddywedasant, Hwn yw y Crist.** Y Crist â'r fanod o'i flaen, i ddynodi y Messiah. Y mae y bobl hyn yn fwy ffafriol iddo na'r rhai cyntaf. **Ond eraill a ddywedasant, Beth! A ydyw y Crist yn dyfod o Galilea? Oni ddywedodd yr Ysgrythyr, Mai o hâd**

o had Dafydd, ac o Bethlehem, y dref lle y bu Dafydd, y
mae Crist yn dyfod? Felly yr aeth ymrafael ym mysg y 43
bobl o'i blegid ef. A rhai o honynt a fynnasent ei ddal ef: 44
ond ni osododd neb ddwylaw arno.

Yna y daeth y swyddogion at yr arch-offeiriaid a'r Phari- 45
seaid; a hwy a ddywedasant wrthynt hwy, Paham na
ddygasoch chwi ef? A'r swyddogion a attebasant, Ni 46
lefarodd dyn erioed fel y dyn hwn. Yna y Phariseaid a 47
attebasant iddynt, A hudwyd chwithau hefyd? A gred- 48

---

**Dafydd, o Bethlehem, y pentref lle y bu Dafydd, y mae Crist yn dyfod?** Yr oedd eu gwybodaeth Feiblaidd yn gywir (Jer. xxiii. 5. 6; Mic. v. 2); ond yr anffawd oedd y troent ychydig o wybodaeth yn wrthddadl, tra y buasai gwybodaeth helaethach yn peri i'r wrthddadl ddiflanu. Pe holent yn mhellach, hwy ddarganfyddent fod y prophwydoliaethau a'r Iesu yn hollol gyfateb. Y mae mwy na haner gwrthddadleuon yr uwch-feirniadaeth heddyw yn erbyn dilysrwydd yr H. D. yn sylfaenedig ar wybodaeth o un peth, ac anwybodaeth o beth arall. Y mae ymchwiliadau pellach yn dangos mor ddisail oedd y gwrthddadleuon boreuach.

ADN. 43. **Felly yr aeth ymrafael yn mysg y bobl o'i blegid ef.** Ymrafael (*schisma*) rhwyg neu ymraniad. Golyga yn gyntaf rwyg naturiol, megis yn Matt. ix. 16: "a'r rhwyg a wneir yn waeth." Yna cynhen, ymryson, ymbleidio yn yr Eglwys (1 Cor. i. 10; xii. 25). Yna, yn iaith duwinyddiaeth eglwysig, nid rhwyg yn yr eglwys, ond rhwyg oddiwrthi.

ADN. 44. **A rhai o honynt a fynasent ei ddàl ef.** Yr un pobl ag yn adn. 30, y rhai yn y dorf ag oedd mewn cydymdeimlad â'r Sanhedrin. **Ond ni osododd neb ddwylaw arno.** Paham? "Dylanwad daioni," meddai Reith, "urddas cymeriad moesol, a *rhywbeth mwy.*" Beth oedd y rhywbeth mwy? Y Dwyfol nerth yn atal nes y deuai yr "Awr."

ADN. 45. **Yna y daeth y swyddogion**—y *police*—**at yr Arch-offeiriad a'r Phariseaid.** Ymddengys fod y Cynghorlys yn parhau i eistedd nes y dychwelai y swyddogion a'r carcharor gyda hwy,—mor angherddol oedd ei brŷs i'w symud o'r ffordd. **A'r rhai hyny a ddywedasant wrthynt hwy.** "Y rhai hyny" (*ekeînoi*)—yn dangos yr edrychai Ioan arnynt gydag atgasedd. **Paham na ddygasoch chwi ef?** Y mae sŵn siomedigaeth yn eu cwestiwn.

ADN. 46. **Y swyddogion a atebasant, Ni lefarodd dyn erioed fel hyn.** Rhaid fod rhyw urddas annesgrifiadwy yn ei wedd, a rhyw fawrhydi dwyfol yn ei leferydd, i barlysu swyddogion y Sanhedrin—dynion wedi eu caledu i orchwylion anhyfryd. Y fath warogaeth i'w allu fel areithiwr cyhoeddus yw cyffes yr is-swyddogion hyn!

ADN. 47. **Gan hyny y Phariseaid a atebasant iddynt.** Hwynthwy oedd prif elynion yr Iesu, ac yn cymeryd y rhan flaenaf yn y drafodaeth yn y Cynghorlys. **A hudwyd chwithau hefyd?** A arweiniwyd chwithau hefyd ar gyfeiliorn? Yr un gair ag yn adn. 12.

odd neb o'r pennaethiaid ynddo ef, neu o'r Phariseaid?
49 Eithr y bobl hyn, y rhai ni wyddant y gyfraith, melldigedig
50 ydynt. Nicodemus (yr hwn a ddaethai at yr Iesu o hyd
51 nos, ac oedd un o honynt) a ddywedodd wrthynt, A ydyw
ein cyfraith ni yn barnu dyn, oddi eithr clywed ganddo ef
52 yn gyntaf, a gwybod beth a wnaeth efe? Hwythau a
attebasant ac a ddywedasant wrtho, A ydwyt tithau o
Galilea? Chwilia a gwel, na chododd prophwyd o Galilea.
53 A phob un a aeth i'w dŷ ei hun.

---

**ADN. 48. A gredodd neb o'r penaethiaid ynddo ef, neu o'r Phariseaid?** Peidiwch bod mor gyflym, wŷr da. Beth am Nicodemus, a Joseph o Arimathea, a Jairus? Y mae cynddaredd yn eu dallu.

**ADN. 49. Eithr y dyrfa hon, y rhai ni wyddant y gyfraith, melldigedig ydynt.** Yn ol y gyfraith y mae tori y Sabbath yn haeddu marwolaeth; yr oedd yr Iesu wedi tori y Sabbath; gan hyny, yr oedd yr Iesu yn haeddu marwolaeth. Dyna y *syllogism* fach, o fewn ochrau yr hon y cauent eu hunain i fyny fel tyrchod daear- ni allent weled dim y tu allan i'r *syllogism.* Nid oedd ganddynt un teimlad o barch i'r bobl —rhai dan felldith oeddynt. Tymher ddrwg sydd yma yn taflu gwreichion; ofer ymholi beth a feddylient.

**ADN. 50. Nicodemus a ddywed wrthynt hwy, (yr hwn a ddaeth ato ef o'r blaen, ac oedd un o honynt).** Cyfarfyddasom â Nicodemus o'r blaen yn iii. 1—11; y mae ei wroldeb crefyddol wedi cynyddu er hyny. Saif i fynu yn y Cyhghorlys, ac os nad yw yn amddiffyn yr Iesu, gwrthdystia yn erbyn camwri ei erlidwyr. **A ydyw ein cyfraith ni yn barnu y dyn** y fanod o flaen dyn, i ddynodi y dyn sydd ar ei dreial, **oddieithr clywed ganddo ef yn gyntaf, a gwybod beth a wnaeth efe?** Cyfeiriai Nicodemus at y gyfraith yn Deut. i. 16, 17; xvii. 8; xix. 15, lle y gosodid i lawr egwyddorion cyntaf cyfiawnder. Yr oeddynt hwy yn condemnio yr Iesu yn ei absenoldeb, heb chwilio i mewn i'w achos: rhag-farn oedd hyny, ac nid yw rhag-farn byth yn gyfiawn farn.

**ADN. 52. Hwythau a atebasant ac a ddywedasant wrtho, A ydwyt tithau hefyd o Galilea?** Gwyddent yn amgen; ond nid yw dynion mewn natur ddrwg yn mesur a phwyso eu geiriau. **Chwilia a gwel, nad oes un prophwyd yn cyfodi o Galilea.** Gallwn ddeall y modd y barnent na chyfodai y Prophwyd mawr, y Messiah, o Galilea; ond pa fodd y gallai dynion dysgedig haeru na chododd un prophwyd o Galilea, ac na chodai, sydd ddirgelwch, ond amlwg yw mai dirgelwch anwiredd yw. Wrth bob tebyg brodorion o Galilea oedd Elias, Eliseus, Jonah, Nahum, ac Hosea. Ond yr oedd malais yn dallu meddwl yn gystal a gŵyro ewyllys y Phariseaid annuwiol hyn.

**ADN. 53. A phob un a aeth i'w dŷ ei hun.** Nid yw yr adnod hon i'w chael yn y prif lawysgrifau, a chysylltir hi yn y Cyf. Diw. â'r adran gyntaf yn y benod nesaf. Gan hyny, nid am aelodau y Sanhedrin y dywedir iddynt fyned bob un i'w dŷ ei hun, ond am y torfëydd ag oedd yn gwrandaw yr Iesu ar ryw adeg arall.

# PENNOD VIII.

A'R Iesu a aeth i fynydd yr Olew-wydd : Ac a ddaeth 1
drachefn y bore i'r deml ; a'r holl bobl a ddaeth atto 2
ef: yntau a eisteddodd, ac a'u dysgodd hwynt. A'r 3

---

## PENOD VIII.

### Y WRAIG ODINEBUS. ADN. 1—11.

Y mae llawer o amrywiaeth barn yn mhlith y beirniaid o barth i le yr adran hon yn yr Ysgrythyr. (1) Yn mhlith y Tadau amddiffynir ei dilysrwydd gan Jerome, Ambrose, ac Awstin, yr olaf o ba rai a gyfrif am ei habsenoldeb o luaws o'r prif gopïau gan ofn y saint y camddefnyddid yr hanes gan bobl o dueddfryd anllad. Dilynir hwy gan Bengel, Lange, Stier, ac Ebrard. (2) Ond gwrthodir yr adran, fel rhan o efengyl wreiddiol Ioan, gan luaws y beirniaid testynol, a chawn, gan hyny, y dodir hi rhwng cromfachau yn y Cyf. Diw. Rhai o'r rhesymau dros ei gwrthodiad ydynt a ganlyn. (*a*) Nid ydyw i'w chael yn y llawysgrifau henaf, fel y nodir ar ymyl y ddalen yn y Cyf. Diw. (*b*) Nid oes neb o'r Tadau Groegaidd—Origen, Chrysostom, Cyril, Theodore o Mopsuestia, &c.—yn cyfeirio ati, yr hyn a brawf nad ydoedd yn eu copïau hwy o'r ysgrythyrau. (*c*) Ni cha le ychwaith yn y cyfieithiadau boreuaf, megis y Peshito a'r hen gyfieithiadau Lladinaidd ; gan hyny, nid ydoedd yn y copïau o ba rai y gwnaed y cyfieithiadau. (*d*) Amrywia y llawysgrifau diweddarach, lle y ceir yr hanes, yn eu dull o'i adrodd, megis ein hysbysir ar ymyl dalen y Cyf. Diw. (*e*) Y mae yr arddull yn hollol wahanol i'r eiddo Ioan. (3) Ond er y gwrthodir yr hanes fel rhan o'r efengylau canonaidd, eto cytuna y beirniaid ei fod yn wir, wedi ei drosglwyddo i lawr ar dafod-leferydd yr Eglwys. A chan ei fod yn wir, barnodd rhyw gopïwyr y dylai gael lle yn yr efengylau. Ond pa le i'w osod i mewn? Mewn un-ar-ddeg o lawysgrifau ceir ef ar ol vii. 36 ; mewn llawysgrif arall yn niwedd yr efengyl hon ; mewn pedair llawysgrif ar ol Luc xxi. Gan hyny, gorfodir ni i fabwysiadu y casgliad, er fod yr hanes yn wir, nad ydyw yn ganonaidd. *

**ADN. 1. A'r Iesu a aeth i fynydd yr Olewydd.** Nid yw Ioan yn unman yn enwi y mynydd hwn, ond enwir ef amryfal weithiau gan Luc.

**ADN. 2. Ac a ddaeth drachefn y boreu i'r deml.** Gair Ioan am "foreu" yw *prôïos* (xxvii. 1 ; xxi. 4) ; ond y gair yma yw *órthros*, yn golygu toriad y wawr. Ac nid i'r cysegr (*hieron*) y daeth yr Iesu, ond i'r cyntedd (*naós*) **A'r holl bobl a ddaethant ato Ef.** Ni ddefnyddia Ioan y gair "pobl" (*laos*) ond dwywaith, ei hoff air ef yw "tyrfa" (*ochlos*) ; ar y llaw arall, hoff air Luc yw "pobl" (*laos*), a defnyddia ef tua haner cant o weithiau yn ei efengyl a'r Actau. Yr ydym yn nodi hyn i ddangos fod arddull yr adran hon yn wahanol i'r eiddo Ioan. **Yntau a eisteddodd ac a'u dysgodd hwynt.** Yr arddull Synoptaidd.

---

* Gan nad ydyw yn ganonaidd, nid doeth i esbonwyr na dosbarthiadau fanylu arno.

ysgrifenyddion a'r Phariseaid a ddygasant atto ef wraig,
yr hon a ddaliesid mewn godineb; ac wedi ei gosod hi yn
4 y canol, Hwy a ddywedasant wrtho, Athraw, y wraig hon
5 a ddaliwyd ar y weithred yn godinebu. A Moses yn y
gyfraith a orchymynodd i ni labyddio y cyfryw: beth gan
6 hynny yr wyt ti yn ei ddywedyd? A hyn a ddywedasant
hwy, gan ei demtio ef, fel y gallent ei gyhuddo ef. Eithr
yr Iesu, wedi ymgrymmu tu a'r llawr, a ysgrifenodd â'*i*
7 fys ar y ddaear, heb gymeryd arno eu clywed. Ond fel yr

---

**ADN. 3. A'r Ysgrifenyddion a'r Phariseaid.** Yr arddull Synoptaidd eto, gan nad yw Ioan yn enwi yr "Ysgrifenyddion" o gwbl. Cyfeiria at y Phariseaid ugain o weithiau; cysyllta yr "archoffeiriaid" a hwy bedair gwaith, ond nid yr "ysgrifenyddion." **A ddygasant ato ef wraig yr hon a ddaliesid mewn godineb, ac wedi ei gosod hi yn y canol.** Llusgasant hi o'i hanfodd—arwydd ddigamsyniol o ddiffyg lledneisrwydd yn y crefyddwyr swyddogol hyn.

**ADN. 4.** Prawf arall o anghoethder moesol y bobl a lanwent y swyddau crefyddol uchaf yn Jerusalem ar y pryd. Nid rhyfedd i'r Iesu blygu ei ben a gwrido gan gywilydd oherwydd eu gwyneb-galedwch.

**ADN. 5.** Cyfeiriad at Lef. xx. 10, a Deut. xxii. 22. Llabyddio oedd un ffordd o gospi am droseddau anfad; ond dywed rhai o'r esbonwyr Iuddewig y goddefid llindagu hefyd.

**ADN. 6. A hyn a ddywedasant hwy, gan ei demtio ef.** Ei demtio yn yr ystyr o'i "rwydo." Ond nid yw esbonwyr yn hollol glir yn mha beth y mae y rhwyd yn gynwysedig. (1) "Os etybIë," ebai Awstin, "gwrthddyweda ei bregethau ei hun; os etyb Nage, gwrthddyweda Moses." (2) Dywed Meyer a Stier, os atebai yn nacäol, yr ai i wrthdarawiad â'r gyfraith Iuddewig; os atebai yn gadarnhäol, yr ai i wrthdarawiad â'r llywodraeth Rufeinig, yr hon a gadwai pob achos o fywyd ac angeu yn ei llaw ei hun. (3) Dysga Luthardt a Moulton y gofynent i'r Iesu ddywedyd Ië neu Nage. Os dywedai "Nage," apeliai y Phariseaid at y dorf ei fod yn llacio cyfraith Moses; os dywedai "Ië," yr oeddynt yn barod ar unwaith i labyddio y ddynes, druan, yn groes i gyfraith Rhufain, a thrwy hyny daflu y cyfrifoldeb ar yr Iesu. Tybient pa ateb bynag a roddai, y gallent ei ddwyn i wrthdarawiad naill ai â'r gallu eglwysig neu â'r gallu gwladol neu â'r bobl. **Eithr yr Iesu, wedi ymgrymu tua'r llawr, a ysgrifenodd â'i fys ar y ddaear.** Paham yr ymgrymodd? (1) Yr oedd eisoes ar ei eistedd, ac awgryma awdwr "Ecce Homo" iddo edrych tua'r ddaear er cuddio y cywilydd a döai ei wynebpryd a gwrid wrth wrando iaith anweddaidd y cyhuddwyr. (2) Etyb eraill mai dull dwyreiniol ydoedd o ddangos diflasdod o'i du Ef, ac annhueddrwydd i ymyryd yn yr achos. "Heb yngan sill, trwy ddyrchu yr aelau, neu ymgrymu i lawr, neu sefydlu y golygon ar y ddaear, gellwch ochel ymofyniadau afresymol," meddai Plutarch. "Heb gymeryd arno eu clywed." Y mae hyn yn eglurhad priodol ar ymddygiad yr Iesu, ond nid ydynt yn rhan o'r testyn.

oeddynt hwy yn parhâu yn gofyn iddo, efe a ymuniawnodd,
ac a ddywedodd wrthynt, Yr hwn sydd ddibechod o hon-
och, tafled yn gyntaf garreg atti hi. Ac wedi iddo eil- 8
waith ymgrymmu tu a'r llawr, efe a ysgrifenodd ar y
ddaear. Hwythau, pan glywsant *hyn*, wedi hefyd eu 9
hargyhoeddi gan eu cydwybod, a aethant allan o un i un,
gan ddechreu o'r hynaf hyd yr olaf: a gadawyd yr Iesu yn
unig, a'r wraig yn sefyll yn y canol. A'r Iesu wedi ym- 10
uniawni, ac heb weled neb ond y wraig, a ddywedodd
wrthi, *Ha* wraig, pa le y mae dy gyhuddwyr di? oni
chondemniodd neb di? Hithau a ddywedodd, Na ddo 11
neb, Arglwydd. A dywedodd yr Iesu wrthi, Nid wyf
finnau yn dy gondemnio di: dos, ac na phecha mwyach.

---

**ADN. 7. Ond fel yr oeddynt hwy yn parhau yn gofyn iddo, efe a ymunionodd.** Parhaent i wasgu eu cwestiwn arno, er gweled nad oedd yn chwenych rhoddi ateb iddynt. **Ac a ddywedodd wrthynt, Yr hwn sydd ddibechod o honoch, tafled yn gyntaf gareg ati hi.** Y gareg: y gareg â'r fanod o'i blaen, i ddynodi y gareg gyntaf, yr hon y gofynai y gyfraith i gael ei thaflu gan y tystion (Deut. xiii 9; xvii. 7). Beth a olygir wrth "ddibechod" *(anamartemos)*? Y mae yn amlwg mai nid sefyllfa o ddibechadurusrwydd hollol a feddylir, ond rhyddid oddiwrth aflendid ac anlladrwydd. Y mae yn hysbys fod moesoldeb cymdeithasol, hyd yn nod yn mhlith y Rabbiniaid, mewn cyflwr dybryd y pryd hwn.

**ADN. 8. Ac wedi iddo eilwaith ymgrymu tua'r llawr, efe a ysgrifenodd ar y ddaear.** Beth a ysgrifenodd? (1) Dyfala Godet mai y frawddeg ag oedd Ef newydd ei llefaru wrth y cyhuddwyr. (2) Adrodda Cardinal Bonaventura fod traddodiad y darllenai pob un, yn yr ysgrifen ar y llawr, ei bechod ei hun, megis y clywai pob un yn ei iaith ei hun ar y Pentecost yr hyn a leferid gan Petr. Ond ofer pob dyfaliad.

**ADN. 9. Hwythau, pan glywsant hyn, a aethant allan o un i un.** Bernir mai eglurhad rhyw gopïwr yw y geiriau, "wedi hefyd eu hargyhoeddi gan eu cydwybod"; ac am hyny gadewir hwy allan yn y Cyf. Diw. Y cyhuddwyr sydd yn awr yn gyhuddedig; gwyddent na oddefai eu bywyd llygredig ddadleniaid cyhoeddus. **Gan ddechreu o'r henaf hyd yr olaf.** Golyga y gair "henadur" *(presbuteros)* yma, nid swydd, ond oed,—o'r henaf hyd yr ieuangaf. **A gadawyd yr Iesu yn unig, a'r wraig yn sefyll yn y canol.** "Yn unig" o ran y cyhuddwyr; canys yr oedd y dysgyblion a'r bobl eto o'i amgylch. "Dau beth yn unig," meddai Awstin, "a adawyd ar ol—Trueni a Thrugaredd *(Miseria et Mesericordia)!*"

**ADN. 11. Nid wyf finau yn dy gondemnio di; dos, ac na pharhâ mwyach mewn pechod.** Felly, meddai Awstin, er na chondemniodd y bechadures, Efe a gondemniodd y pechod.

12 Yna y llefarodd yr Iesu wrthynt drachefn, gan ddywedyd, Goleuni y byd ydwyf fi: yr hwn a'm dilyno i, ni

---

TYSTIOLAETH YR IESU AM DANO EI HUN. ADN. 12—20.

**ADN. 12. Gan hyny y llefarodd yr Iesu wrthynt drachefn.** "Gan hyny," sef am y rheswm na roddodd neb law arno, a'i fod yn rhydd o grafangau ei elynion. At pa beth yn yr adranau blaenorol y cyfeiria y gair "drachefn"? (1) Y rhai a gredant yn nilysrwydd yr adnodau blaenorol a gydiant y gair hwn ag adn. 2. Gan i'r Iesu ymddangos yn y deml ar "doriad y dydd" *(orthros)*, ei fod yma yn cyfeirio at godiad yr haul naturiol dros fynydd yr Olewydd, gan gymeryd achlysur oddiwrth hyny i ddyweyd, "Myfi yw goleuni—haul—y byd." (2) Ond ateb y rhai sydd yn gwadu dilysrwydd yr adran rag-ddywededig yw, mai "drachefn," ar ol y bregeth ar y Dwfr o'r Graig, aeth yr Iesu yn mlaen i draddodi pregeth arall, o'r hon y cawn grynodeb yn y paragraph hwn. **Myfi yw goleuni y byd.** Beth a awgrymodd y ffurf hon i'w ddysgeidiaeth? Paham y ffugr o oleuni? Rhaid cofio mai Gŵyl y Pebyll ydyw, a gwybod amcan yr ŵyl. Megis y gwnaed arddangosiad arwyddluniol o wyrth y Dwfr o'r Graig, felly hefyd y gwnaed arddangosiad arwyddluniol o'r wyrth fawr arall—y Golofn Dân y nos. Ar un o nosweithiau yr ŵyl, ac os yw yr esboniwr Iuddewig enwog, Moses Maimonides, yn gywir, ar bob noswaith, cyneuid canwyllharnau aur yn Nghyntedd y Gwragedd yn y deml, cyntedd didô, y rhai a fflachient eu goleuni dros holl ddinas Jerusalem, ac allan i'r meusydd lle yr oedd y bythod, fel darlun anmherffaith o'r Golofn Dân a oleuai y genedl yn yr anialwch. Megis y cymerodd yr Iesu fantais ar y wyrth gyntaf yn penod vii., felly yn y benod hon cymer fantais ar yr ail wyrth i gyfeirio meddwl y bobl ato ei hun fel ei gwir sylwedd. Fel pe dywedasai: Chwi welsoch oleuni llachar y canwyllharnau aur y neithiwr, i ddwyn i'ch cof y Golofn Dân yn yr anialwch; myfi yw sylwedd y Golofn Dân—myfi yw goleuni y byd; nid goleuni un genedl, ond goleuni byd cyfan. Dywed rhai fod Goleuni yn un o'r enwau Iuddewig ar y Messiah, a'i fod felly, wrth gymeryd iddo ei hun enw y Messiah, yn hawlio iddo ei hunan hefyd swydd y Messiah. Y mae yn bosibl fod cysylltiad arwynebol o'r fath; ond credwn fod i'r ymadrodd gyfeiriad dyfnach nag at dermau Iuddewig, ac y gesyd yr Iesu ei hunan allan yma fel sylwedd y cysgodau. Y mae y "Myfi" yn bwysleisiol. "Myfi yw Goleuni y byd"—myfi mewn cyferbyniad i bawb eraill. Gelwir Ioan Fedyddiwr yn ganwyll neu lamp—"Ioan oedd lamp yn llosgi ac yn goleuo." A'r hyn oedd Ioan, dyna oedd Moses a Dafydd ac Esaiah; dyna oedd Socrates a Plato ac Aristotle—lampau; ac nis gall lampau, er eu lluosogi yn ddiddiwedd, byth wneuthur dydd. Eithr nid lamp oedd yr Iesu, ond haul; ac y mae un haul yn ddigon ar gyfer byd cyfan. Y gwahaniaeth rhwng y byd cyn yr Ymgnawdoliad a'r byd ar ol yr Ymgnawdoliad yw y gwahaniaeth rhwng byd yn cael ei oleuo gan lampau a'r byd yn cael ei oleuo gan haul. "Myfi yw goleuni y byd." Y mae ein cynefindra ni â'r geiriau wedi eu hamddifadu o'u beiddgarwch digyffelyb. Portreadwn i ni ein hunain un o werin Galilea yn sefyll i fynu yn y deml, ac yn gwneyd y fath baeriad! Ar un llaw y mwyaf gostyngedig o blant

rodia mewn tywyllwch, eithr efe a gaiff oleuni y bywyd.
Am hynny y Phariseaid a ddywedasant wrtho, Tydi sydd 13
yn tystiolaethu am danat dy hun; nid yw dy dystiolaeth
di wir. Yr Iesu a attebodd ac a ddywedodd wrthynt hwy, 14
Er fy mod i yn tystiolaethu am danaf fy hun, y mae fy

---

dynion; ar y llaw arall y mwyaf beiddgar o honynt oll. Rhaid ei fod yn Dduw-ddyn neu yn wallgof-ddyn.

**Yr hwn a'm dilyno i.** Megis y dilynai yr Israel y Golofn Dân yn yr anialwch, felly "yr hwn a'm dilyno i, ni rodia mewn tywyllwch." Gosoda yma ei berson o flaen ac yn uwch na'i ddysgeidiaeth. Dysgeidiaeth yr athronwyr a'r prophwydi oedd o bwys—gallesid yn hawdd hebgor eu personau; ond person yr Iesu sydd o bwys—ei berson a gyfrana bwysigrwydd i'w ddysgeidiaeth. Ar wahân i'w berson ni allasai ei ddysgeidiaeth fod yn wir. **Ni rodia yn y tywyllwch.** Nid tywyllwch, ond *y* tywyllwch,—y tywyllwch â'r fanod o'i flaen, i ddynodi tywyllwch moesol ac ysbrydol. Ni ddywedir na rodia yn nhywyllwch tlodi a thywyllwch afiechyd, ond ni rodia yn nhywyllwch pechod,—caiff oleuni ar ei gyflwr. **Eithr efe a gaiff oleuni y bywyd.** Bara y Bywyd, Dwfr y Bywyd, Goleuni y Bywyd. (1) Golyga oleuni sydd yn cynyrchu bywyd; (2) ond yn benaf oleuni sydd yn ffrwyth bywyd. Trefn y byd ysbrydol yw, nid goleuni yn fywyd, ond bywyd yn oleuni (i. 4). Wrth ddilyn Crist mewn "ufudd-dod ffydd," try y goleuni sydd yn Nghrist yn oleuni yn y galon—fflachia y bywyd ysbrydol yn oleuni deallol. Gosododd Duw haul yn y ffurfafen, yr hwn a saetha ei oleuni i lawr i'r ddaear; ond ni thycia y goleuni, er ei ddysglaerdeb, i ddyn dall. Beth sydd yn angenrheidiol i'r goleuni allanol i droi yn oleuni tufewnol? "Gwnaeth Duw bob peth yn ddwbl"; haul yn y ffurfafen, a llygad yn y pen—y mae y naill ar ddelw y llall; ac oherwydd y gyfatebiaeth anianyddol, try y goleuni ffurfafenol y tu allan yn oleuni bywydol y tu fewn. Felly i oleuni Crist y tu faes droi yn oleuni y bywyd y tu fewn, rhaid agor llygaid y meddwl—rhaid i Grist y Datguddiad ddylifo i'r enaid trwy ffydd, ac yno droi yn Grist y Profiad.

**ADN. 13. Tydi sydd yn tystiolaethu am danat dy hun, nid yw dy dystiolaeth di wir.** Nid yn unig yn annigonol, ond hefyd yn anwireddus. Pobl graff iawn eu meddyliau oedd y Phariseaid,—rhesymeg fu eu dinystr. Ymdrechent yn ddiddiwedd i wneuthur deddfau bywyd yr un a deddfau *logic*, gan anghofio fod bywyd yn fwy na rhesymeg, bod dyn yn fwy na'i ddeall. Cyfeiriant yma at egwyddor a osododd yr Iesu ei hunan i lawr yn v. 31: "Os ydwyf fi yn tystiolaethu am danaf fy hunan, nid yw fy nhystiolaeth i wir." Felly y mae ymresymiad y Phariseaid yn hollol deg, os ydyw cynwys *(connotation)* yr "hunan" yn y ddwy adnod yr un. Ond os nad yw, nid yw eu casgliad o angenrheidrwydd yn gywir.

**ADN. 14. Hyd yn nod os wyf fi yn tystiolaethu am danaf fy hun, y mae fy nhystiolaeth i yn wir.** Y mae y pwyslais ar "fi" yn y ddau le. Nid "er" ond "hyd yn nod"—nid *ean kai* ond *kàn egô*. Fel egwyddor gyffredinol, cymhwysiadol at bawb dynion mewn sefyllfa o bechod, y mae v. 31 yn wir. Ond awgryma yr Iesu, er ei fod Ef yn ddyn, eto nad

nhystiolaeth i yn wir: oblegid mi a wn o ba le y daethum, ac i ba le yr ydwyf yn myned; chwithau nis gwyddoch o ba le yr wyf fi yn dyfod, nac i ba le yr wyf fi yn myned.

---

oedd fel pawb eraill; yr oedd ynddo Ef ryw arbenigrwydd, yr hwn nid yn unig a'i gwahaniaethai, ond hefyd a'i gwahânai, oddiwrth holl blant dynion. Os Efe oedd y Goleuni, y mae yn canlyn nad oedd ynddo ddim tywyllwch—yn wahanol i bawb eraill. Rhaid i wybodaeth gydmariaethol a rhanol wrth gadarnhâd; ond am wybodaeth hollol (*absolute*), saif hono ar ei gwaelod ei hun, nid oes raid iddi wrth ategion allanol. "Dengys goleuni ei hunan yn gystal a phethau eraill," ebe Awstin. "Y mae yn dwyn tystiolaeth iddo ei hun. Egyr lygaid iach, ac y mae yn profi ei hun." Pwy a oleua ganwyll i'w gynorthwyo i weled yr haul? Ac eto dyna oedd yr Iuddewon, yn eu hafresymoldeb, yn ofyn gan yr Iesu—gofynent am yr hyn oedd ynddo ei hun yn anmhosibl. Gwaeddent am brawf dynol o wirionedd dwyfol, gofynent am dystion dynol i wirionedd goruwch-ddynol—gwirionedd nad oedd iddo un tyst dynol i'w gael. I wirioneddau uwch-anianol (*transcendental*), pa brofion a allasai roddi yn amgen i'r rhai a roddodd—pregethau, gwyrthiau, cariad pur? Ond yn nghyndynrwydd eu calonau, galwent hwy am brofion eraill, y rhai yn ol natur pethau nid oeddynt yn bod. **Canys mi a wn o ba le y daethum, ac i ba le yr ydwyf yn myned.** Yma syrthia yr Iesu yn ol ar ei hunan-ymwybyddiaeth, yr hwn oedd yn glir a thryloew trwyddo. Dwfr lleidiog yw ein hymwybyddiaeth ni; oherwydd paham nid yw yr athronwyr craffaf yn medru gweled yn eglur iddo na thrwyddo. Ond yr oedd yr Iesu yn anffaeledig sier o'i ddechreu a'i ddiwedd, ac felly yn anffaeledig sier o'r canol—yr oll oedd cydrhwng y ddau eithafion. "Mi a wn," medd yr Iesu; ac y mae y gair am wybod (*oida*) yn golygu gwybodaeth lwyr, berffaith, anffaeledig. "Mi a wn o ba le y daethum"—"daethum" yn yr *aorist tense*, ac felly yn dynodi ei ddyfodiad oddiwrth Dduw yn yr Ymgnawdoliad. "Mi a wn i ba le yr wyf yn myned"—sef i'r gogoniant oedd iddo gyda'i Dad cyn bod y byd. Nid oedd cwmwl yn holl ffurfafen ei ymwybyddiaeth. Yr oedd ganddo dystiolaeth ddiamwys ynddo ei hun o'i gyn-hanfodiad gyda Duw, a thystiolaeth glir, loew, o sierwydd ei ddychweliad buan at Dduw: cyfyd hynyna Ef o ddosbarth tystion dynol, barn y rhai sydd yn agored i gael ei gŵyro gan wybodaeth ranol neu ragfarn bersonol. Oherwydd llwyredd (*absoluteness*) ei wybodaeth, yn rhinwedd dwyfoldeb ei bersonoliaeth, maentumia fod ganddo hawl i dystiolaethu am dano ei hun, heb i'r dystiolaeth hono fod yn wrthrych anymddiried. Y mae yr anghen am fwy nag un tyst yn mhlith dynion yn cyfodi o anmherffeithrwydd eu gwybodaeth neu eudeb eu dybenion. Ond a chaniatau fod yr Iesu yn berffaith onest, onid oedd Efe, fel llawer o ddynion da hanesyddiaeth, yn ddarostyngedig i *illusions*—i gael ei gamarwain gan ledrith? Na; y mae y dibechod yn ddidwyll—nid yw yn twyllo eraill nac yn cael ei dwyllo gan eraill. Rhaid sylfaenu Cristionogaeth ar ymwybyddiaeth y Crist. **Chwithau nis gwyddoch o ba le yr wyf fi yn dyfod, nac i ba le yr wyf fi yn myned.** Y mae "chwithau" yn bwysleisiol, er mwyn dwyn allan y gwahaniaeth annhraethol rhyngddo Ef a hwy. Ond pa fodd y cysonir yr adnod hon â vii. 28? Yno cyfeiriad sydd at ei darddiad a'i berthynasau dynol; ond yma sieryd am

Chwychwi sydd yn barnu yn ol y cnawd ; nid ydwyf fi yn 15

---

ei darddiad a'i berthynasau dwyfol. Er gwybod rhywbeth am y blaenaf, ni wyddent ddim am y diweddaf ; a hyny, nid oddiar ddiffyg cyfleusdra,—pa gyfleusderau mwy a allent gael na chlywed ei eiriau, gweled ei wyrthiau, a chanfod ei burdeb?—ond o ddiffyg cydymdeimlad â'r da. Yn rhan gyntaf yr adnod y mae y ferf "dyfod" yn yr amser perffaith, tra yn y rhan hon y mae yn yr amser presenol. Paham y gwahaniaeth? Am fod ei ddyfodiad Ef i'r byd, o safle ei ymwybyddiaeth bersonol ei hun, yn ffaith berffeithiedig yn y gorphenol ; ond yn ei berthynas â'r Iuddewon ffaith bresenol ydoedd, "dyfod" yr oedd, gwasgu ar eu hymwybyddiaeth hwy, trwy air a gwyrth a chymeriad, urddas ei gommissiwn a dwyfoldeb ei hâniad. Ond cauent hwy eu llygaid yn dŷn yn erbyn y goleuni ; ac yna gofynent am brofion fod yr haul yn tywynu. Ni wyddent hwy ddechreu a diwedd eu bodolaeth eu hunain ; pa fodd, gan hyny, y gwyddent ddechreu a diwedd ei fodolaeth Ef, gan y gwrthodent dystiolaeth yr unig un oedd yn gwybod?

**ADN. 15. Chwychwi sydd yn barnu yn ol y cnawd.** (1) Yn ol Chrysostom a De Wette wrth y "cnawd" yma yr ydym i ddeall llygredd eu natur, y cnawd tufewnol (*subjective*). Barnent hwy yn ol cnawdolrwydd eu calonau—eu rhagfarnau a'u drygioni, ac felly adlewyrchent arno Ef eu pechod eu hunain. Newidier lliw y gwydr, a newidir lliw y gwrthrych. Newidier llèn y llygad, ac mewn canlyniad newidia y greadigaeth—ni fydd yr un lliw na'r un llun : ac eto nid oes dim cyfnewidiad yn y cread, eithr yn yr edrychydd yn unig. Felly yr oedd cnawdolrwydd eu calonau yn gŵyro eu barn—priodolent yr ysmotiau ar y gwydr i'r Gwyn Dihalog. (2) Ond pe dyna yw y prif feddwl, gallesid disgwyl mai *kata sarka* fuasai yr ymadrodd; ond *kata tên sarka* a ddefnyddir, ac y mae presenoldeb y fanod yn peri i ni feddwl, gyda Meyer a Godet, mai cnawd yn ei ystyr allanol (*objective*) a olygir. Barnu yn ol y cnawd, sef barnu yn ol yr ymddangosiad allanol. Dyna arfer yr Iuddewon, a dyna, ysywaeth, arfer mwyafrif dynion hyd y dydd heddyw—barnu dynion yn ol eu cyfoeth, eu sefyllfa gymdeithasol, eu perthynasau teuluol, yn lle yn ol cymeriad a nerth meddwl. Dyna y dull yn ol yr hwn y barnent yr Iesu. Gwerinwr o ran ymddangosiad, wedi codi o deulu tlawd a thref anghysbell : barnent ef yn ol ei ymddangosiad, wrth ei amgylchiadau bydol, yn lle wrth y gwirioneddau a lefarai a'r cymeriad a wisgai. Gwirionedd, nid aur ; cymeriad, nid meddiannau ; yw gwir fesur dyn. Pa bryd y dysga y byd, ie, pa bryd y dysga yr Eglwys, i barchu dyn yn ol ei werth personol, ac nid yn ol ei werth arianol? (3) Ond dadleua Stier dros gyfuno y ddau olygiad blaenorol, ac nis gall gwrthwynebiad fod i hyny, gan fod y "cnawd" yn yr ystyr *objective* yn rhagdybied y "cnawd" yn yr ystyr *subjective*. Y mae safonau allanol gau, wrth ba rai i fesur dynion, yn brawf fod syniadau tufewnol gau yn teyrnasu yn yr enaid. Ni fuasai neb yn barnu dyn wrth ei amgylchiadau, onibai fod y galon yn gosod mwy o bwys ar amgylchiadau nag ar gymeriad. Barnai yr Iuddewon hyn yr Iesu wrth ei amgylchiadau cyffredin ; tynent y casgliad, oddiwrth ffeithiau bychain ei hanes ag oedd yn wybyddus iddynt hwy, na allasai Efe fod y Messiah hir-ddisgwyliedig. Ond y mae ffeithiau eraill yn bod,

16 barnu neb. Ac etto os wyf fi yn barnu, y mae fy marn i
yn gywir: oblegid nid wyf fi yn unig, ond myfi a'r Tad
17 yr hwn a'm hanfonodd i. Y mae hefyd yn ysgrifenedig yn

---

meddai yr Iesu; gŵn i am danynt, wyddoch chwi ddim, er y gallech wybod pe byddai eich llygaid yn syml. Ac oblegid nad oedd ganddynt yr un ffeithiau fel cynseiliau, gwahaniaethent yn eu casgliadau. Dywedent hwy mai twyllwr ydoedd; dywedai yntau mai Efe oedd Goleuni y Byd. **Nid ydwyf fi yn barnu neb.** (1) Y mae Cyril ac eraill yn ychwanegu at y frawddeg hon: "Nid ydwyf fi yn barnu neb yn ol y cnawd." Hyny yw, Yr wyf fi yn chwilio i mewn i bob achos, nes cael gafael yn yr holl ffeithiau—nid wyf yn cymeryd fy nghamarwain gan wybodaeth ranol neu wybodaeth ymddangosiadol. (2) Chrysostom ac Awstin a esboniant fel hyn: "Nid ydwyf fi yn barnu neb yn awr." Daw yr adeg i mi farnu yn niwedd amser; ond yn nghyflawnder yr amser nid barnu yw fy ngwaith; tystiolaethu sydd yn awr, perthyn i'r dyfodol y mae barnu. (3). Tafla Godet bwyslais eithafol ar "fi." Nid wyf fi, fi fy hunan, y fi wrthyf fy hun, yn barnu neb; canys nid yw fy marn i ond datganiad o farn Duw. Tra y mae hynyna yn wirionedd, nis gallwn ochel yr argraph mai gwirionedd ydyw sydd yn cael ei roddi i mewn yn y frawddeg yn hytrach nag yn cael ei dynu allan o honi. (4) Gan hyny, casglwn mai y ffordd oreu yw gadael y geiriau fel y maent, heb ychwanegu dim atynt na thynu dim oddiwrthynt. Nid ydwyf fi yn barnu neb; nid wyf yn rhoddi neb ar ei dreial; achubwr wyf fi, ac nid barnwr. Nid yw yr haul yn codi i farnu y byd—amcan codiad yr haul ydyw goleuo; er hyny ni all oleuo heb gondemnio pob budreddi ac aflendid. Mor barod oedd y Phariseaid, yn eu balchder hunan-gyfiawn, i gondemnio y Diniwaid! ond mor hwyrfrydig yr Iesu, er perffeithrwydd ei wybodaeth a'i gymeriad, i gondemnio hyd yn nôd yr euog. "Nid wyf finau yn dy gondemnio di; dos, ac na phecha mwyach."

**ADN. 16. Ac hyd yn nod os wyf fi yn barnu.** Awgrym, yn ol Calfin, Meyer, a Westcott, fod barnu yn waith eithriadol ganddo. Ei swydd yw tystiolaethu; ei ddyeithr waith yn awr yw barnu. **Y mae fy marn i yn wirioneddol.** Nid cyfiawn fel yn v. 30, ond gwirioneddol. Nid oedd barn y Phariseaid yn un wirioneddol, canys barnu yn ol ymddangosiad yr oeddynt, ac nid yn ol y *reality*, gyda gwybodaeth lawn o'r ffeithiau. Ond yr oedd barn Crist yn un wirioneddol—sylfaenedig ar *reality*, ac nid ar ymddangosiadau. Gwyddai Ef yr holl ffeithiau, heb ddirdynu na chamliwio yr un o honynt, ac felly ffurfiai farn gywir, yn cyfateb yn hollol i'r gwirionedd. **Oblegid nid wyf fi wrthyf fy hun, ond myfi a'r Tad yr hwn a'm hanfonodd i.** "Myfi a'r Tad": yr oedd y Tad yn gyfrifol am ei gyflenwi a phob cymhwysder angenrheidiol i gyflawni y swydd Gyfryngol—nid dyfarniad dynol oedd ei eiddo Ef, ond dyfarniad dwyfol, ac felly yn anffaeledig.

**ADN. 17. Y mae hefyd yn ysgrifenedig yn eich cyfraith chwi.** Cyfeiriad at Deut. xix. 15. Ond paham y dywed "eich cyfraith chwi," gan roddi pwyslais ar y "chwi," ac nid cyfraith Moses neu gyfraith Duw? (1) Barna Meyer a Luthardt mai am yr ystyrient y gyfraith dan eu nodded arbenig eu hunain, tra y cyfrifent yr Iesu yn droseddwr o

eich cyfraith chwi, Mai gwir yw tystiolaeth dau ddyn.
Myfi yw yr hwn sydd yn tystiolaethu am danaf fy hun; ac 18
y mae y Tad, yr hwn a'm hanfonodd i, yn tystiolaethu am
danaf fi. Yna y dywedasant wrtho, Pa le y mae dy Dad 19
di? Yr Iesu a attebodd, Nid adwaenoch na myfi, na'm

---

honi. (2) Ond crêd Godet, gan fod yr Iesu yma yn llefaru am dano ei hun ar ochr ddwyfol ei berson, y derchafa ei hun uwchlaw y gyfraith, ac yr ystyria ei hun yn rhydd oddiwrth ei rheol o barth i ddau neu dri o dystion – rheol a wnaed ar gyfer cymdeithas anwireddus. Ond eto, er eu hargyhoeddi a'u henill, yr oedd yn foddlon ymostwng i gyfraith a wnaed ar gyfer celwyddwyr ac anudonwyr! **Mai gwir yw tystiolaeth dau ddyn**. Dau dyst, meddai y gyfraith; dau ddyn, meddai yr Iesu. Paham? Mŷn rhai fod yr Iesu yn awgrymu yma, nid yn unig y daw Ef i fynu â'r rheol, ond fod ganddo *surplus*, mwy na digon, i brofi ei bwngc. Fel pe dywedai, Os gwir tystiolaeth dau dyst *dynol*, pa faint mwy tystiolaeth dau dyst *dwyfol?* Nid oedd y gyfraith yn golygu dau yn ychwanegol at y gwr oedd ar ei dreial, ond hwnw ac un arall. Aiff yr Iesu yn mlaen yn yr adnod nesaf i gymhwyso yr egwyddor hon at ei achos ei hun.

**ADN. 18. Myfi yw yr hwn sydd yn tystiolaethu am danaf fy hun.** Neu, fel y gellid cyfieithu, "Myfi yw un sydd yn tystiolaethu." Gwir yw tystiolaeth dau: myfi yw un—yr wyf fi wedi dwyn fy nhystiolaeth. **Ac y mae y Tad, yr hwn a'm hanfonodd i, yn tystiolaethu am danaf fi.** Myfi yw un tyst, ebe yr Iesu, fy Nhad yw y llall (cyd. v. 37); ond nid yn ei gymeriad fel Tad yn unig, ond hefyd fel Anfonwr y Mab. Pa dystiolaeth ydyw? Pe fel Tad yn unig y tystiolaethai, diau y buasai y cyfeiriad at ymwybyddiaeth y Mab; ond fel y cyfryw buasai yn guddiedig oddiwrth y Phariseaid. Ond gan mai fel Tad, yr hwn a anfonodd ei Fab i'r byd ar genhadaeth achubol, rhaid y cyfeiria yma at y gweithredoedd nerthol trwy ba rai y cadarnhâi y Tad hawliau goruchel ei Fab. "Yn yr un," meddai Beza, "y mae genych ddau."

**ADN. 19. Pa le y mae dy Dad di?** Nid pwy, ond p'le? (1) Meddylia Awstin, Lange, ac eraill, ar y dybiaeth y deallent yn dda at bwy y cyfeiriai, mai mewn gwatwareg yr ymholant. (2) Ond nis gallwn ni ddileu yr argraph fod y frawddeg—"y Tad yr hwn a'm hanfonodd i"—yn peri dyrysweh iddynt. Yr oeddynt hwy mor estronol i bob peth dwyfol a nefol, fel na allai eu meddyliau ymgodi atynt. Ond eu pechod oedd tybied eu bod yn gwybod, tra, pe buasent yn chwenych y gwirionedd, yr eisteddent wrth draed yr Iesu i gael eu dysgu ganddo. **Nid adwaenoch na myfi na'm Tad.** Y mae y gair am adwaen (*oida*) yn golygu, nid gwybodaeth ddeallol yn unig, ond gwybodaeth foesol hefyd, yn tarddu oddiar gydymdeimlad â'r da. "Nid adwaenoch fi," meddai yr Iesu. Tybiwch chwi y gwnewch; eich arfer i'w barnu yn ol y cnawd neu yr ymddangosiad allanol. Ond y mae ynof fi beth nad adwaenoch chwi, am nad oes ynoch y cymhwysder, y synwyr moesol, y reddf ysbrydol, i'w ganfod a'i werthfawrogi. "Nid adwaenoch myfi na'm Tad." Nid un fel y tybiwch chwi ei fod yw Duw. Proffeswch

Tad: ped adnabuasech fi, chwi a adnabuasech fy Nhad i
20 hefyd. Y geiriau hyn a lefarodd yr Iesu yn y trysordy,
wrth athrawiaethu yn y deml: ac ni ddaliodd neb ef, am
21 na ddaethai ei awr ef etto. Yna y dywedodd yr Iesu

---

chwi fod yn addolwyr iddo: ond nid ydych yn ei adwaen—nid ydych yn synied yn briodol am ei gymeriad. **Ped adnabuasech fi, chwi a adnabuasech fy Nhad i hefyd.** Yr ydym ni mor debyg i'n gilydd, fel pe yr adnabuasech un, chwi a adnabuasech y ddau. Nid ydych yn fy adnabod i—prawf o hyny yw eich bod yn fy erlid; nid ydych yn adnabod Duw—prawf o hyny yw eich bod yn methu fy neall i. Eu camsyniad gwreiddiol oedd cymeryd yn ganiatäol y medrent hwy ymresymu oddiwrth Dduw at yr Iesu, tra mai trefn yr Efengyl yw ymresymu oddiwrth yr Iesu at Dduw. Nid oes gwybodaeth o Dduw y tu allan i Grist; ni allai yr Iuddewon ymresymu oddiwrth Dduw at Grist, am nad oedd ganddynt y wybodaeth angenrheidiol o Dduw i gychwyn yr ymresymiad oddiwrthi. Ond gallasent ymresymu oddiwrth Grist at Dduw, canys yr oedd y cymeriad yn ffaith anwadadwy o flaen eu meddyliau.

**ADN. 20. Y geiriau hyn a lefarodd yr Iesu yn y trysordy, wrth athrawiaethu yn y deml** Y trysordy oedd y darn hwnw o'r deml, lle y bwriai yr addolwyr eu rhoddion, wrth fyned i, a dychwelyd o'r, gwasanaeth. Yr oedd felly yn un o'r lleoedd mwyaf cyhoeddus. Gelwid ef y trysordy, am fod ynddo tua thri ar ddeg o flychau, ar lun udgyrn, i ba rai y gallai yr addolwyr fwrw eu rhoddion. Sefyll yma yr oedd yr Iesu pan y gwelodd y weddw yn taflu i un o'r cyrn hyn "ddwy hatling, ei holl fywyd" (Marc xii. 41—44). **Ac ni ddaliodd neb ef, am na ddaethai ei awr ef eto.** Yr oedd yn y man mwyaf cyhoeddus; elai aelodau y Sanhedrin, a swyddogion y deml heibio iddo, wrth fyned a dod; ac eto ni ddaliodd neb Ef! Yr oedd yr "Awr" heb daraw, meddai Ioan; nid oedd ganddo un esboniad arall ar ffaith mor ryfedd.

DWYFOLDEB EI BERSON. ADN. 21—30.

**ADN. 21. Gan hyny**—gan na ddaliodd neb Ef—**Efe a ddywedodd wrthynt hwy drachefn.** Daeth "yr Iesu" i mewn i'r cyfieithiad arferol, gan fod yr adnod yn dechreu llith newydd yn ngwasanaeth yr Eglwys foreuol. Y rhagenw "Efe" sydd gywir. Beth yw ystyr y gair "drachefn" yma? Diau y dynoda seibiant ar ol y bregeth a'r ymddiddan a gofnodir yn y paragraph blaenorol, am awr neu ddwy neu am ddiwrnod neu ddau. (1) Barna Meyer ac Ewald mai y diwrnod canlynol a feddylir. (2) Ond barna Origen, Lange, a Godet mai yr un dydd, sef "y dydd diweddaf, dydd mawr yr ŵyl." Y mae y gair "wrthynt" yn ffafrio y golygiad hwn. Boreu dranoeth byddai y bobl yn dychwelyd i'w cartrefi, a chyn gwasgar o honynt defnyddia yr Iesu bob cyfleusdra i'w cyfarch, ac i ddifrifoli eu meddyliau. Nid oedd ond haner blwyddyn ganddynt i'w dderbyn neu i'w wrthod Ef, ac felly i benderfynu tynghed y genedl yn y byd hwn, a'u tynghed dragwyddol eu hunain yn y byd a ddaw. Yn y trydydd anerchiad hwn, cymer afael yn y pwngc y cyffyrddodd ag ef yn ei anerchiadau blaenorol, sef dynesiad awr ei farwolaeth, ac felly y

wrthynt hwy drachefn, Yr wyf fi yn myned ymaith, a chwi
a'm ceisiwch i, ac a fyddwch feirw yn eich pechod: lle
yr wyf fi yn myned, ni ellwch chwi ddyfod. Am hynny, y 22
dywedodd yr Iuddewon, A ladd efe ei hun? gan ei fod yn
dywedyd, Lle yr wyf fi yn myned, ni ellwch chwi ddyfod.
Ac efe a ddywedodd wrthynt hwy, Chwychwi sydd oddi 23

---

pwysigrwydd iddynt hwy farchnata yn ddoeth tra yr oedd tymhor iachawdwriaeth yn eu gafael. **Yr wyf fi yn myned ymaith.** Cyfeiriad at ei ymadawiad yn yr angeu yn yr ŵyl nesaf, ond y mae ei ddull o ymadroddi yn dwyn i amlygrwydd wirfoddolrwydd ei farwolaeth. Nid marw am na allai fyw, ond marw am na fynai fyw—myned ymaith o'i fodd. **A chwi a'm ceisiwch.** Gwel ar vii. 34. **Ac a fyddwch feirw yn eich pechod.** Y mae hyn yn *advance* ar vii. 34. Yno, "ni'm cewch"; yma, "chwi a fyddwch feirw yn eich pechod." Nid oherwydd eich pechod, fel y dysga Hengstenberg ac eraill, er fod hynyna yn wir, ond "yn eich pechod." Y mae y credinwyr yn marw oherwydd eu pechod, eithr nid yn eu pechod; ond y mae yr anghredinwyr yn marw o dano ac ynddo—yn ei afaelion a than ei lywodraeth. Y mae "yn eich pechod" yn bwysleisiol, fel y dengys ei le blaenllaw yn y frawddeg: "yn eich pechod chwi a fyddwch feirw." Y Messiah wedi dyfod ac wedi myned ymaith; hwythau yn dyheu am dano i amcanion daearol; ond yn parhau yn eu pechod—y pechod o anghrediniaeth, ac yn marw yn ei afaelion. **Lle yr wyf fi yn myned**—brawddeg ychydig yn wahanol i vii. 34—**ni ellwch chwi ddyfod.** Yr oedd Efe ar fin myned at Dduw, i'r nefoedd; ond ni allent hwy gyrhaedd yno, canys yr oedd eu hanghrediniaeth yn rhwystr anorfod, ac anghrediniaeth oedd yr unig rwystr. Onid oes pobl fel yna yn ein plith ni, pobl sydd yn ceisio Crist ac yn caru pechod yr un pryd?

**ADN. 22. Am hyny y dywedodd yr Iuddewon.** Y ferf yn yr amser anmherffaith, i ddangos eu bod yn parhau i ddyweyd. *They kept saying.* **A ladd efe ei hun?** Gan iddo roddi arbenigrwydd i'r elfen wirfoddol yn ei angeu, sef ei fod yn myned ymaith ac nid yn cael ei yru ymaith, troisant ei eiriau yn destyn gwawd. "A ladd Efe ei hun?" Y mae presenoldeb y gair *mè* yn y gofyniad, fel arferol, yn dangos mai ystyr nacäol sydd iddo. "A ydyw yn meddwl cyflawni hunan-laddiad, tybed? Na choeliwn fawr." Yn nuwinyddiaeth yr Iuddewon, yr oedd i ddyn lofruddio ei hun yn waeth nag iddo lofruddio ei gymydog. O ganlyniad, dedfrydid ef, yn ol Josephus, i'r lle poethaf yn Gehenna. Onid yw y cwestiwn yn arddangos sefyllfa resynus eu meddwl, pan y cysylltent, hyd yn nod mewn tybiaeth a gwawd, y pechod mwyaf ysgeler a'r Person mwyaf pur? Tair gwaith y llefara yr Arglwydd Iesu eiriau yr adnod flaenorol (vii. 33, 34; xii. 34, 35; ac yma) a phob tro cam-ddeallir Ef. Yr oedd cysylltu y drychfeddwl o ddyoddefaint â'r Messiah yn anmhosibl iddynt, a hyny oblegid daearoldeb eu serchiadau.

**ADN. 23. Chwychwi sydd oddi isod; minau sydd oddi uchod.** Y pwyslais ar "chwychwi" a "minau," er mwyn dwyn allan y cyferbyniad rhyngddo Ef a hwy. Beth a feddylir wrth "oddi isod" ac "oddi uchod," neu "y pethau isod" a'r "pethau uchod"? (1) Tybia rhai mai

isod; minnau sydd oddi uchod: chwychwi sydd o'r byd
24 hwn; minnau nid wyf o'r byd hwn. Am hynny y dywed-
ais wrthych, y byddwch chwi feirw yn eich pechodau:
oblegid oni chredwch chwi mai myfi yw *efe*, chwi a fydd-
25 wch feirw yn eich pechodau. Yna y dywedasant wrtho,

---

dynodi uffern a nefoedd y mae. Fel pe dywedasai, Yr ydych chwi yn derbyn eich ysbrydoliaeth faleisus o uffern; (ac y mae hyn yn hollol gydweddol ag adn. 44); ac yr wyf finau yn derbyn fy ysbrydoliaeth o'r nefoedd; a chan eu bod yn dyfod o wahanol ffynhonellau, y mae hyny yn cyfrif am ein bod yn cael ein llywodraethu gan wahanol egwyddorion. (2) Ond cywirach, debygem ni, yw cymeryd y brawddegau sydd yn dilyn fel eglurhâd ar y brawddegau hyn. **Chwychwi sydd o'r byd hwn; minau nid wyf o'r byd hwn.** Gwelir, gan hyny, fod yr adnod hon yn enghraipht deg o'r ffurf Hebreig o feddwl a chyfansoddi, trwy frawddegau cyfochrog (*parallelisms*), yn crythau ac egluro eu gilydd. Er mwyn eglurder dodwn hwynt yn y ffurf ganlynol:

**Chwychwi sydd oddi isod,**
**Minau sydd oddi uchod;**
**Chwychwi sydd o'r byd hwn,**
**Minau nid wyf o'r byd hwn.**

Y mae y drydedd linell yn esboniad ar y gyntaf, ac felly yn dangos mai wrth "oddi isod" yr ydym i ddeall "y byd hwn," ac nid uffern obry; ac y mae y bedwaredd yn eglurhâd ar yr ail, ac felly yn dangos mai wrth "oddi uchod" yr ydym i ddeall "nid y byd hwn," ond y byd arall. Cyferbyniad, gan hyny, sydd yma rhwng eu natur ddaearol hwy a'i natur nefol Ef. Yr oedd Efe a hwythau *yn* y byd hwn; eithr, yn wahanol iddynt hwy, nid oedd Efe *o'r* byd hwn, ond o fyd arall. Ymwelydd ydoedd Efe o'r nefoedd. Nid oedd Efe a hwy yn perthyn yn wreiddiol i'r un byd, i'r un gyfundrefn o fodolaeth; oherwydd paham nid oedd cydnawsedd teimlad a syniad cydrhyngddynt.

**ADN. 24. Am hyny y dywedais wrthych.** Sef, am eich bod oddi isod, yn fydol a daearol eich tueddiadau. **Y byddwch feirw yn eich pechodau.** Yn adn 21, trefn y geiriau yw "yn eich pechod y byddwch feirw," i ddangos fod y pwyslais ar "yn eich pechod." Yn yr adnod hon trefn y geiriau yw, "y byddwch feirw yn eich pechodau," i'n dysgu i daflu y pwyslais ar "byddwch feirw." Gan nad oedd un elfen o'r nefoedd yn eu calonau, nid oedd ond marw yn eu haros, a "marw yn eu pechodau." Yn adn. 21, "pechod"—y rhif unigol; yma, "pechodau"—y rhif lluosog. Beth yw y gwahaniaeth? Yn y rhif unigol golyga bechod yn ei natur neu ei egwyddor ddrwg; yn y rhif lluosog, yr egwyddor ddrwg wedi tori allan yn weithredoedd drwg. Ond nid oes dim yn llifo allan yn y bywyd, heb fod yn gyntaf i mewn yn yr egwyddor. Yn wir, gall llawer o ddrygau fod i mewn yn yr egwyddor na thorant byth allan yn y fuchedd; o ganlyniad, y mae pechod yn fwy na phechodau, yr egwyddor yn waeth na'r gweithredoedd. (Gwel ar i. 29). **Oblegid oni chredwch mai myfi ydwyf, chwi a fyddwch feirw yn eich pechodau.** Dysga yr Iesu yma iddynt, er eu bod yn bechaduriaid

Pwy wyt ti? A'r Iesu a ddywedodd wrthynt, Yr hyn yr
wyf yn ei ddywedyd hefyd wrthych o'r dechreuad. Y mae 26

---

mawrion, eto y gallent osgoi "marw yn eu pechod," os credent ynddo Ef. Os credent yr oedd gwaredigaeth iddynt oddiwrth bechod; os gwrthodent gredu nid oedd ond marwolaeth mewn pechod yn eu haros, "a gwell," ebe Burkitt, "fil o weithiau marw yn y ffos na marw mewn pechod." Felly yr achos o ddamnedigaeth yr Iuddewon hyn, fel o wrandawyr yr Efengyl yn awr, yw, nid pechod fel pechod, yn gymaint a bod gan Dduw drefn i faddeu hwn, ond pechod fel anghrediniaeth yn yr Arglwydd Iesu. Angredwch, ac fe'ch demnir; credwch, ac fe'ch hachubir. Ond credu peth? Credu "mai Myfi Ydwyf." Beth gynwysa hynyna? (1) Cynwysa yn ddiamheu yr hyn a osodir allan yn y cyfieithiad arferol—"credu mai myfi yw *efe*," h.y. mai yr Iesu oedd y Messiah, anfonedig Duw i wared Israel. Y mae Meyer yn ffafrio y golygiad hwn. (2) Ond dadleua Westcott tros ei gysylltu yn agosach a sylwedd y pregethau—"credu mai myfi yw *Efe*," sef goleuni y byd, a phob peth sydd yn gynwysedig yn hyny. Y mae yr eglurhad hwn, ar ryw gyfrifon, yn fwy cynwysfawr na'r cyntaf. (3) Eraill a gredant mai adsain ydyw o un o frawddegau mawr yr H. D., priodol i Dduw yn unig. "Gwelwch bellach mai myfi, myfi yw Efe; ac nad oes Duw ond myfi." "Fel yr adnabyddoch ac y credoch fi, ac y dealloch mai myfi yw; o'm blaen nid oedd Duw wedi ei ffurfio, ac ni bydd ar fy ol. Myfi, myfi yw yr Arglwydd; ac nid oes Geidwad ond myfi." (Deut. xxxii. 39; xliii. 10, 11). Felly cymhwysa yr Iesu ato ei hun frawddeg fawr y Jehofah, gan hunaniaethu ei hun a Duw Israel. (4) Ond os awn mor bell a hynyna, gallwn yn ddiberygl fyned gam yn mhellach. "**Myfi Ydwyf**" heb un *predicate* yn canlyn. Tair gwaith y dywed "**Ydwyf**" yn y benod hon (adn. 24, 28, 58). Ai damwain hyn? Na; gorfodir ni i gredu fod yr Iesu am gysylltu ei hun yn anwahanol ag Ex. iii. 14: "Ydwyf yr hwn ydwyf." Felly, mewn ffordd anuniongyrchol ond hollol sylweddol, hunaniaetha ei hun ag "Ydwyf"—Jehofah—yr H. D. Cymer feddiant o'r enw Jehofah—yr Ydwyf mawr tragwyddol. Swnia yr "Ydwyf" yn eu clustiau deirgwaith yn y benod hon, i weled a ddeffry ynddynt ryw amgyffrediad fod person yr Iesu oedd o'u blaen yr un a pherson yr "Ydwyf" a waredodd eu tadau o gaethiwed yr Aipht. Gan hyny, gwna ffydd yn ei Dduwdod yn hanfodol i iachawdwriaeth. Nid ydys yn dyweyd fod yn rhaid i ffydd yn Nuwdod yr Arglwydd Iesu gymeryd y ffurf athrawiaethol a roddodd yr Eglwys foreuol iddi yn Nghredo Athanasius; ond gan nad pa ffurf a gymer yr athrawiaeth, erys y ffaith yr un, a rhaid credu yn y ffaith fod Iesu Grist yn wir Dduw. Y ffydd sydd yn syrthio yn fyr o hynyna, nid yw yn ffydd gadwedigol. Iesu heb ei Dduwdod, Iesu heb fod oddi uchod, nis gall fod yn Waredwr i bechadur.

**ADN. 25. Pwy wyt ti?** Deffrôdd yr ymadrodd goruchel o'u mewn ryw ymsyniadau o ddirgelwch; ond ymgyndynant â'u hargyhoeddiadau, gan ddyweyd, "Tydi! Pwy wyt ti?" gan daflu eu hysgorn i'r rhagenw. Y mae nerth eu gwrthwynebrwydd yn profi grym ei apêl. **A'r Iesu a ddywedodd wrthynt, Yr hyn yr wyf yn ei ddywedyd hefyd wrthych o'r dechreuad.** Y mae mwy o amrywiaeth barn am ystyr y frawddeg hon

nag am un frawddeg arall yn y pedair efengyl; ac y mae yr amrywiaeth i'w olrhain i ansicrwydd am y gwir gyfieithiad. Meddai Plummer: "(1) Y mae amheuaeth a'i gofyniad ydyw; (2) y mae amheuaeth a gynwysa chwech ynte saith o eiriau Groeg; (3) o'r chwech neu saith air Groeg, y mae i bob un o honynt oddigerth 'wrthych' fwy nag un meddwl." Ond gellir rhanu y gwahanol olygiadau i ddau ddosbarth mawr. Yn gyntaf, edrychai y Tadau Groegaidd, a dilynir hwy gan Meyer a Westcott, ar y frawddeg fel gofyniad; ond amrywiant am y ffordd oreu i'w chyfieithu. (1) Chrysostom, Ewald, ac ymyl dalen y Cyf. Diw. a ddywedant mai y meddwl yw, Paham y gwnaf hyd yn nod lefaru wrthych o gwbl? fel pe byddai yn synu at ei amynedd ei hunan yn ymdrechu o ddydd i ddydd eu goleuo am urddas ei berson a phwysigrwydd ei genadwri. (2) Meyer a gyfieithia yn wahanol. "Beth wyf yn ei ddywedyd hefyd wrthych o'r dechreuad, ai dyna yr ydych yn ei ofyn?" ac yna aiff yr Iesu yn mlaen i ateb eu gofyniad yn llawnach. Ond gwelir fod Meyer yn cyflenwi geiriau na cheir yn y gwreiddiol. Yn ail, edrychai y Tadau Lladinaidd, a dilynir hwy gan fwyafrif yr esbonwyr, ar y frawddeg fel gosodiad neu hysbysiad. Ond yma eto gwahaniaethir yn fawr am ystyr bendant y gosodiad. (1) Barna Calfin, Tholuck, a'r Cyf. Diw. fod syniad y Gymraeg yn gywir—"Yr hyn yr wyf yn ei ddywedyd hefyd wrthych o'r dechreuad," sef o ddechreuad ei weinidogaeth. Dywed Alford, gan ddilyn De Wette, Stier, a Lange, "Pan ofynodd Moses i Dduw beth oedd ei enw, cafodd yr ateb, 'Ydwyf yr hwn Ydwyf.' Ond pan ofynwyd i'r Iesu, atebodd, 'Ydwyf yr hyn ydwyf yn ei lefaru.'" (2) Dealla Cyril, Awstin, Tholuck, a Hengstenberg y geiriau fel hyn: "Pwy wyt ti? Y dechreuad, sef yr hyn yr wyf yn ei ddywedyd wrthych." Felly yr un ystyr sydd i'r ymadrodd â Dat. i. 8: "Myfi yw Alpha ac Omega, y dechreu a'r diwedd," ac yn golygu tragwyddoldeb yr Arglwydd Iesu megis yn i. 1 and 1 Ioan i. 1. (3) Edrych Melancthon, De Wette, a Luthardt ar y geiriau "y dechreuad" (*tên archên*—yn yr *accusative case*) fel adferf, ac felly cyfieithant: "Pwy wyt ti? Yr Iesu a ddywedodd wrthynt, I ddechreu (neu yn gyntaf), yr hyn wyf yn ei ddywedyd hefyd wrthych." Ond y mae "yn gyntaf" yn tybied "yn ail." Pa le y mae yr ail? Yn adn. 28. Yr oedd yn llefaru yn awr mor eglur ag y caniatâi amgylchiadau; ond ar ol ei groeshoeliad deuai goleuni ychwanegol ar ei berson a'i waith. (4) Gwyddis mai ystyr gyntaf y gair *archê*, a gyfieithir "dechreuad," yw elfen neu egwyddor gyntaf ddechreuol unrhyw wrthrych; a'r elfen gyntaf ddechreuol ydyw ei hanfod. O ganlyniad dadleua Winer a Godet mai y cyfieithiad priodol ydyw: "Yn hanfodol neu yn wirioneddol yr hyn yr wyf hefyd yn ei lefaru wrthych." Fel pe dywedasai yr Iesu, Y mae fy mod a fy ngeiriau, fy mherson a fy nysgeidiaeth, yn hollol gyfateb i'w gilydd; ond i chwi dderbyn fy ngeiriau, chwi ddeallwch pwy ydwyf. Y mae yn anmhosibl, feallai, i ddyfod i gasgliad penderfynol; ond cystal gyda ni y cyfieithiad a'r ystyr Gymraeg â'r un—edrych yn fwy syml a naturiol, tra nad yw ar ol mewn dyfnder.

Ond gall rhywrai ofyn, Paham na roddasai yr Iesu ateb eglur i gwestiwn syml? Paham na atebai, Ie, y Messiah ydwyf, yr hwn a addawodd Duw i'r genedl, y Messiah ag yr ydych chwi yn ei ddisgwyl. Ond os edrychwn dan y wyneb, hwyrach y canfyddwn mai ffordd yr Iesu oedd oreu. (1) Pe hònasai mewn geiriau diamwys mai Efe oedd y

gennyf fi lawer o bethau i'*w* dywedyd ac i'*w* barnu am danoch chwi: eithr cywir yw yr hwn a'm hanfonodd i; a'r pethau a glywais i ganddo, y rhai hynny yr ydwyf fi yn eu

---

Messiah, brenhin disgwyliedig y genedl, gosodasai ei hun mewn gwrthdarawiad â llywodraeth Rhufain. Cymerai yr Iuddewon maleisus fantais ar eglurder ei ymadroddion i'w gyhuddo wrth Pilat o *high treason* yn erbyn Cæsar; a chymerai y rhan o'r genedl ag oedd yn bleidiol iddo achlysur i'w gipio a'i wneyd yn frenhin daearol,—cydymgeisydd a Cæsar. (2) Ni ddefnyddiai y gair Messiah, am nad oedd Efe a'r Iuddewon yn defnyddio y gair yn yr un ystyr. Nid Efe oedd y Messiah ag oeddynt hwy yn disgwyl am dano Messiah gwladol, daearol a ddisgwylient hwy, Messiah ysbrydol, nefol oedd Ef. Yn hytrach na dywedyd y gair "Messiah," ei amcan mawr Ef oedd egluro iddynt yn ei ddysgeidiaeth a'i fywyd gynwys y gair. Yr oedd holl fudd ysbrydol y Messiah, nid yn yr enw, ond mewn amgyffrediad priodol o gynwys gwirioneddol yr enw.

**ADN. 26. Y mae genyf fi lawer o bethau i'w dywedyd ac i'w barnu am danoch chwi.** Barna Godet, a hyny gyda phriodoldeb, y dylid cysylltu yr adnod hon ag adn. 24, fel parhâd o'r mater ag oedd ganddo mewn llaw yno, ac nad yw adn. 25 ond atebiad i gwestiwn a ofynwyd gan yr Iuddewon. Yno condemnia yr Iesu yr Iuddewon i farwolaeth yn eu pechodau. (1) "Y mae genyf," meddai yr Iesu yn yr adnod hon, "lawer o bethau," o gyffelyb natur, "i'w dywedyd ac i'w barnu am danoch chwi"; a pha mor anhyfryd bynag ydynt i'ch teimladau chwi, eto rhaid i mi eu llefaru, gan nad faint a gostia hyny i mi. Gwirioneddau ydynt, os gwirioneddau anhyfryd, a rhaid i mi lefaru y gwirionedd, er i hyny gostio i mi fy mywyd. Cyffelyb i hynyna yw eglurhad Godet a Westcott. (2) Ond rhagorach yn ein bryd ni, a mwy cydweddol a rhediad dysgeidiaeth yr Arglwydd Iesu, yw esboniad Meyer, sef er fod ganddo lawer o bethau diflas a chondemniol i'w dywedyd am yr Iuddewon hyn, eto ymataliai, gan gyfyngu ei hun at ei waith arbenigol fel Iachawdwr. Nid barnu oedd ei waith, ond achub. **Eithr gwir yw yr hwn a'm hanfonodd i.** (1) Os eglurhad Godet a Westcott ar y frawddeg flaenorol sydd gywir, y meddwl yma yw fod ganddo hawl i'w condemnio trwy lefaru wrthynt y pethau caledion a wnaeth, gan fod yr hwn a'i hanfonodd yn wir, ac nad oedd ei gondemniad Ef o honynt ond datganiad o farn hwnw. (2) Eithr os esboniad Meyer sydd gywir, yna yr ystyr yw, fod Duw yn parhau yn ffyddlon, ac mai ei swydd Ef oedd, nid cyhoeddi barn Duw ar yr Iuddewon, ond bwriadau grasol Duw tuag at y byd. **A'r pethau a glywais i ganddo, y rhai hyny yr ydwyf fi yn eu dywedyd i'r byd.** "A'r pethau"—pa bethau? (1) Yn ol Godet a Westcott pethau barnol Duw am y genedl. (2) Ond yn ol ein tyb ni pethau grasol o barth i iachawdwriaeth y byd. Pe pethau barnol Duw am y genedl yw y meddwl, gallem ddisgwyl i'r frawddeg gael ei chyfyngu at yr Iuddewon yn y diwedd yn gystal ag yn y dechreu. Ond, yn lle hyny, yn ei diwedd cynwysa y "byd"; casglwn, gan hyny, mai y pethau a glywodd Efe gan Dduw oeddynt, nid meddyliau barnol Duw am Israel, ond bwriadau achubol Duw ar gyfer y "byd." "Y pethau a glywais i

27 dywedyd i'r byd. Ni wyddent hwy mai am y Tad yr oedd
28 efe yn dywedyd wrthynt hwy. Am hynny y dywedodd yr
Iesu wrthynt, Pan ddyrchafoch chwi Fab y dyn, yna y

---

ganddo." Y mae amser y ferf (*aorist*) yn cyfeirio at ei gyn-hanfodiad; y pethau a glywodd gan Dduw cyn ei Ymgnawdoliad yw y pethau y mae yn awr yn eu llefaru; ac yn sicr nid meddyliau barnol Duw am Israel yw y rhai hyny, ond ei fwriadau grasol am achubiaeth dynolryw. Sylwer hefyd ar y cyfartaledd rhwng y pethau a glywodd cyn ei Ymgnawdoliad a'r pethau a lefarodd ar ol ei Ymgnawdoliad: "Y pethau a glywais—y rhai hyny." Nid y rhai hyny yn mhlith pethau eraill; ond y rhai hyny yn unig oedd cynwys ei ddysgeidiaeth. Nid rhyw bethau a glywodd gan Dduw, a'r gweddill yn bethau o'i ddyfais ei hun, megis pregethau yr oes hon; ond y pethau a glywodd gan y Tad—y rhai hyny, a dim ond y rhai hyny—a lefarodd i'r byd. Nid a lefarodd wrth y byd, ond "a lefarodd i'r byd"—i mewn i'r byd (nid y *dative*, ond *eis with an accusative*). Desgrifia yr Iesu ei hunan megis yn sefyll y tu allan i gylch y byd hwn (adn. 23), yn Gyfryngwr rhwng y ddau fyd, ac o'r safle hono yn llefaru gwirioneddau byd arall i mewn i galon y byd hwn—yn gwasgu gwirioneddau pur Duw i mewn i ganol byd anfoesol dynion. A llwyddodd—taflodd y pethau a glywodd gan ei Dad i ganol byd y ddynoliaeth; heddyw y mae gwirioneddau tragwyddoldeb yn treiddio trwy holl gylch amser, y mae gwirioneddau byd arall yn preswylio yn y byd hwn, a thrwy hyny yn ei achub a'i sancteiddio. Yr Iesu a "lefarodd" y pethau hyn; nid oedd neb arall a allasai, nac angel na dyn, canys nid oedd neb arall yn bresenol i'w clywed. "Y pethau a glywais i ganddo"—yn nhragwyddoldeb, cyn i aden seraph aflonyddu awyr, na chân cerub dori ar ddistawrwydd, arall fyd. Nid oedd neb yno ond fy Hunan i'w clywed; am hyny Myfi yn unig a fedr eu datguddio i'r byd.

**ADN. 27. Ni wyddent hwy mai am y Tad yr oedd Efe yn dywedyd wrthynt hwy.** Paham na wyddent? (1) Hwyrach am nad oedd wedi enwi Duw na'r Tad yn uniongyrchol, ond "yr hwn a'm hanfonodd i." (2) Barna Godet mai y dyrfa a olygir fel heb wybod, ac nid yr Iuddewon swyddogol. (3) Tybia Meyer mai gwrandawyr newydd oedd yma, y rhai ni chlywsent ei bregethau blaenorol. (4) Taera De Wette fod sylw Ioan na wyddent mai at Dduw y cyfeiriai yn anghredadwy. Diau yr edrychai Ioan ar eu hanwybodaeth gyda'r un syndod a De Wette; ac oblegid ei fod mor sỳn, ac ar ryw gyfrifon yn anesboniadwy, y cronicla ef yma. Pe y deallent, ni fuasai yn ei theimlo yn angenrheidiol i'w grybwyll. (5) Gan hyny, barnwn nad oes "paham" drosto. Gyda phriodoldeb y sylwa Alford, "Nid oes gyfrif am anwybodaeth anghrediniaeth, megis y gŵyr pob gweinidog i Grist trwy brofiad chwerw." Y mae i synu ato, ond nid i'w esbonio.

**ADN. 28. Am hyny y dywedodd yr Iesu wrthynt, Pan dderchafoch chwi Fab y Dyn.** Yr oedd hyn chwe mis cyn y Pasg diweddaf, a phrofa fod gan yr Iesu wybodaeth eglur o'r dyfodol. Pan yn sôn am dano ei hun yn dyoddef, Mab y Dyn yw yr enw bob amser, ac nid Mab Duw. Derchafu Mab y Dyn—ei dderchafu i'r Groes, a thrwy y Groes

cewch wybod mai myfi yw *efe*, ac nad wyf fi yn gwneuthur dim o honof fy hun; ond megis y dysgodd fy Nhad fi,

---

i'r Orsedd. Am ystyr "derchafu" gwêl ar iii. 14. **Yna y dewch i wybod mai myfi ydwyf.** Nid "yna y cewch wybod," fel pe y rhoddid datguddiad adnewyddol iddynt, ond "yna y dewch i wybod" *(ginôskein)* —dysgu trwy brofiad a sylwadaeth fanwl. Yn ol y cyfieithiad arferol, "mai myfi yw Efe," sef y Messiah. Y mae hynyna yn ddiamheu yn gynwysedig, ond y mae mwy—ei fod y fath Fessiah ag a osodasai Efe allan yn ei bregethau blaenorol; ac os felly deuent i wybod ei fod o ddwyfol darddiad—"mai **Myfi Ydwyf.**" Ar ol y croeshoeliad a ddaethant i wybod mai yr Iesu oedd y Messiah? Do, daethant oll i wybod, ond ni ddaethant oll i gredu. (1) Mabwysiedir esboniad Chrysostom gan lawer: "A ydych yn tybied y cewch wared o honof fi, trwy fy lladd i? Yr wyf yn dywedyd wrthych mai y pryd hwnw y gwybyddwch yn sicr mai Myfi Ydwyf, trwy wyrth fy adgyfodiad, a dinystr Jerusalem. Pan y gyrir chwi ymaith o le eich addoliad, ac na chaniateir i chwi wasanaethu Duw fel cynt, yna y dewch i wybod ei fod Ef yn gwneuthur hyn i'm dial i, a'i fod yn ddigllawn wrth y rhai na wrandawent arnaf fi." Y mae yr eglurhâd hwn yn hollol gyson â'r holl hanes. "A'r canwriad, pan welodd y pethau a wnaethpwyd, a ogoneddodd Dduw, gan ddywedyd, Yn wir, yr oedd hwn yn wr cyfiawn. A'r holl bobloedd y rhai a ddaethant ynghyd i edrych hyn, wrth weled y pethau a wnaethpwyd, a ddychwelasant, gan guro eu dwyfronau" (Luc xxiii. 47, 48). "Wele, rhai o'r wyliadwriaeth a ddaethant i'r ddinas, ac a fynegasant i'r archoffeiriaid yr hyn oll a wnaethid. Ac wedi iddynt ymgasglu ynghyd gyda'r henuriaid, hwy a roisant arian lawer i'r milwyr, gan ddywedyd, Dywedwch, Ei ddysgyblion a ddaethant o hyd nos, ac a'i lladratasant ef, a nyni yn cysgu" (Matt. xxviii. 11—13). Tarawodd yr adgyfodiad y penaethiaid a syndod a gorchuddiodd hwy a chywilydd—ni cheisiasant wadu y ffaith, dim ond ei chuddio; a dygodd ffaith mor aruthrol fawr argyhoeddiad i'w meddwl mai yr Iesu oedd y Crist; ond yn malchder eu calonau a chyndynrwydd eu hewyllys, er dyfod i wybod ni chredent. Nid oedd Josephus yr hanesydd ond engraipht o filoedd eraill o Iuddewon, yr hwn a briodolai holl anffodion dilynol y genedl i'w llofruddiaeth o'r Iesu. Y mae y rhai hyn oll yn dystion i wirionedd yr adnod hon. (2) Barna Awstin, fodd bynag, mai at y rhai yn y dyrfa a gredent ynddo, ar ol y croeshoeliad, y cyfeiria. "Yn ddiamheuol," meddai, "gwelai yr Iesu yno rai y gwyddai, y rhai yn ei ragwybodaeth a etholodd Efe gyda'i saint eraill cyn seiliad y byd, y buasai iddynt gredu ar ol ei ddyoddefaint." A yw ffurf esboniad Awstin yn gywir sydd amheus, ond y mae y ffaith a enwa yn anwadadwy. Ar ddydd y Pentecost chwanegwyd at yr eglwys "yn nghylch tair mil o eneidiau." Ac ar ol hyny yr "Arglwydd a chwanegodd beunydd at yr eglwys." Yn fuan drachefn coffheir, "A gair Duw a gynyddodd; a rhifedi y dysgyblion a amlhaodd yn ddirfawr, a thyrfa fawr o'r offeiriaid a ufuddhasant i'r ffydd" (Act. vi. 7). "A phan glywsant, hwy a ogoneddasant yr Arglwydd, ac a ddywedasant wrtho, Ti a weli, frawd, pa sawl myrddiwn sydd o'r Iuddewon y rhai a gredasant" (Act. xxi. 20). (3) Barna Alford y derbyniodd y geiriau gyflawniad dyblyg. Cawsant oll argyhoeddiad mai yr Iesu oedd y Measiah: arweiniodd argyhoeddiad

29 yr wyf yn llefaru y pethau hyn. A'r hwn a'm hanfonodd
i sydd gyd â myfi: ni adawodd y Tad fi yn unig; oblegid
yr wyf fi yn gwneuthur bob amser y pethau sydd foddlawn

---

rhai i ffydd gadwedigol ynddo; arweiniodd argyhoeddiad eraill i galedwch mwy—barnwyd a chondemniwyd hwy yn nymchweliad y deml, dinystr Jerusalem, gwasgariad y genedl, a'u colledigaeth dragwyddol eu hunain. **Ac nad wyf fi yn gwneuthur dim o honof fy hun**. Yr oedd hunan-ymwadiad hollol yr Iesu, ei berffaith *self-effacement*, yn annirnadwy gan y penaethiaid hunan-geisiol hyn; ond deuai yr adeg pan eu gorfodid i gyfaddaf mai nid hunan-glod, ond hunan-aberthiad, oedd egwyddor lywodraethol ei fywyd (Cyd. v. 19, 30). **Ond megis y dysgodd fy Nhad i, yr wyf yn llefaru y pethau hyn**. "Clywed" gan y Tad yn adn. 26; "dysgu" gan y Tad yma; a'r ddau yn yr *aorist tense*, i ddangos y cyfeiriant at rywbeth a gymerodd le rhwng y Tad a'r Mab cyn yr Ymgnawdoliad. Awgryma y geiriau fod yr Iesu wedi bod megis yn *rehearso* trefn y cadw o flaen ei Dad yn nhragwyddoldeb—cymaint oedd bryd y ddau wedi rhedeg arni! Ac eto teimlwn fod anghen arnom am gynghor Awstin: "Peidiwch portreadu megis i chwi eich hunain ddau berson, un yn dad, y llall yn fab, a'r tad yn llefaru wrth y mab, megis yr wyt ti yn llefaru wrth dy fab di, gan ei gynghori a'i hyfforddi pa fodd i lefaru, fel pa beth bynag a glyw genyt ti y trosglwydda ef i'w gof, ac fel o'i gof y datganai ef a'i dafod." Eto: "Yn ddigorph y llefarodd y Tad wrth y Mab, canys yn ddigorph y cenhedlodd y Tad y Mab. Ac Efe a'i dysgodd, nid megis pe ei cenhedlasai yn anwybodus ac mewn anghen cael ei ddysgu; ond yr oedd y 'dysgu' hyn yr un peth a'i genhedlu yn gwybod."

**ADN. 29. A'r hwn a'm anfonodd i sydd gyda mi.** Rhag i neb dybied mai cenad yn unig ydoedd, dwg yma i eglurder yr undeb swyddogol oedd rhyngddo a'i Dad, a bod yr undeb swyddogol yn gorphwys ar undeb hanfodol. Nid yn unig yr oedd Duw gydag Ef megis y mae y frenhines gyda'i chenadon mewn llysoedd tramor, ond yr oedd gydag Ef mewn cymundeb personol pob cam o'r ffordd. **Ni adawodd y Tad fi yn unig.** H.y. wrthyf fy hun. Pa mor galed bynag y gwaith a gerwin yr hin, y mae fy Nhad wrth fy ochr yn cyflenwi fy holl raid. Ar un llaw, cymerodd wahaniad le rhwng y Tad a'r Mab yn yr Ymgnawdoliad—anfonodd y Tad y Mab o'r nefoedd i'r ddaear, a daeth y Mab mewn ufudd-dod i'r Tad. Ond, ar y llaw arall, er y gwahaniad parhaodd y cymundeb personol rhyngddynt yn berffaith a difwlch. Yn yr Ymgnawdoliad yr oedd "anfon," ac yr oedd hefyd "aros." Yn ngeiriau Westcott, "Ychwanegwyd perthynas newydd, ond ni ddarfu i'r newydd ddinystrio yr hên." "Ni adawodd y Tad fi"—yr *aorist* eto, i ddangos na adawodd y Tad Ef wrtho ei hun yn ei Ymgnawdoliad, na throdd ei Dad ei gefn arno pan y cymerodd gnawd. **Oblegid yr wyf fi yn gwneuthur bob amser y pethau sydd gymeradwy ganddo Ef.** Y mae y pwyslais ar y "fi" a "phob amser." Haeriad annhraethol bwysig—ei fod Ef trwy ei holl fywyd, yn ei holl feddyliau, ei holl eiriau, a'u holl weithredoedd, yn boddloni Duw. Mor wahanol i ddynion eraill! Pa sant a all hawlio ei fod, nid weithiau ond

ganddo ef. Fel yr oedd efe yn llefaru y pethau hyn, 30
llawer a gredasant ynddo ef. Yna y dywedodd yr Iesu 31
wrth yr Iuddewon a gredasant ynddo, Os arhoswch chwi

---

bob amser, yn mhob meddwl, gair, a gweithred, yn rhyngu bodd yr Anfeidrol? Nid oes, ac ni fu, y fath sant erioed. Cyfarfydda yn Nghrist eithafion hunan-ddarostyngiad ac eithafion hunan-dderchafiad. Tystia ei ymwybyddiaeth i ddibechadurusrwydd hollol ei fuchedd a sancteiddrwydd perffaith ei natur. Yn mhob peth, bob amser, yn boddloni y Duw anfeidrol lân! Ond beth yw cysylltiad y frawddeg hon a'r frawddeg flaenorol? Beth yw *force* yr "oblegid"? Ai am ei fod Ef bob amser yn gwneuthur yr hyn sydd gymeradwy gan Dduw y mae Duw heb ei adael wrtho ei hun, ynte ai am fod Duw heb ei adael wrtho ei hun y mae Efe yn gwneuthur bob amser yr hyn sydd foddlon gan Dduw? (1) Etyb Meyer mai am ei fod Ef bob amser yn mhob amgylchiad yn boddloni Duw y parha Duw mewn cymundeb parhaus ag Ef. Dyna hefyd olygiad Ogwen Jones, yr hwn a wêl yr un egwyddor yn rhedeg trwy fywyd y Cristion—Duw gydag ef pan y gwna y pethau sydd gymeradwy, Duw yn ei adael pan yr ymdrybaedda mewn pechod. Y mae yr esboniad hwn yn cynwys gwirionedd, a gwirionedd tra phwysig. (2) Ond credwn ni fod fod yma wirionedd arall dyfnach, yr hwn sydd yn sylfaen i'r llall. Felly credwn, gyda Wescott, mai nid rheswm sydd yma ond prawf (*evidence*)—prawf fod y Tad heb ei adael yw ei fod ef bob amser yn medru ei foddloni. Mewn geiriau eraill, nid yr achos fod y Tad mewn cymundeb didor âg Ef yw ei fywyd dichlynaidd, dibechod, ond yr effaith. Nid oes un ffordd i gyfrif am ddibechadurusrwydd ei fywyd ond ar sail y cymundeb hanfodol angenrheidiol oedd rhyngddo a'i Dad. Yn ol y golygiad cyntaf y bywyd dilychwin yw yr achos, a'r cymundeb yw yr effaith; ond yn ol y golygiad hwn y cymundeb yw yr achos, a'r bywyd dilychwin yw yr effaith.

**ADN. 30. Fel yr oedd efe yn llefaru y pethau hyn.** Pa bethau? Y mae yn amlwg mai y pethau yn yr adnodau blaenorol am dano ei hun. Cyhoeddiad syml o'r gwirionedd, heb ddim ategion oddiwrth resymau neu ddysgeidiaeth ddynol, yn profi ei hun i feddyliau y gwrandawyr nes cynyrchu ffydd ynddynt. **Llawer a gredasant ynddo Ef.** Enillwyd hwy i edrych yn ffafriol ar ei hawliau, er y dengys yr hanes dilynol mai ffydd go arwynebol ydoedd; ac eto, mewn amryfal enghreiphtiau, diau ei bod yn ffydd achubol. O leiaf, rhagora ar ffydd y bobl y darllenwn am danynt yn ii. 23, canys yr oedd y ffydd hono yn sylfaenedig ar *allu* yr Arglwydd Iesu, tra y mae ffydd yr adnod hon yn sylfaenedig ar ei *ddysgeidiaeth*.

RHYDDID ODDIWRTH BECHOD. ADN. 31—36.

**ADN. 31. Yr Iesu, gan hyny, a ddywedodd wrth yr Iuddewon a'u credasant ef.** Nid yw yr hanes yn hysbysu pa ddiwrnod—yr un diwrnod ynte y diwrnod canlynol. Y tebyg yw mai yr un diwrnod. Yr ydym wedi gweled amryw weithiau mai wrth yr Iuddewon yn yr efyngyl hon yr ydym i ddeall, nid corph y genedl, ond y penaethiaid—aelodau y Sanhedrin ynghyd â'r Ysgrifenyddion a'r Phariseaid. Felly, yn adn. 30, dysgir ni fod "llawer" wedi credu; yn mhlith y "llawer," yn ol yr

32 yn fy ngair i, disgyblion i mi ydych yn wir; A chwi a gewch wybod y gwirionedd, a'r gwirionedd a'ch rhyddhâ chwi.

---

adnod hon, yr ydoedd cwmpeini cryf o "Iuddewon," h.y., lluaws o arweinwyr crefyddol y genedl. Yn unol a hyn darllenwn yn xii. 42: "Llawer o'r penaethiaid hefyd a gredasant ynddo." Ond tra yn adn. 30, y defnyddir geiriau cryf, "credu ynddo neu arno Ef," yn yr adnod hon defnyddir y ffurf wanaf, "ei gredu Ef." Golyga "credu ynddo neu arno" ymddiried yn ei berson, yr hyn a gynwys derbyn ei ddysgeidiaeth heb gecraeth na dadl, pa un a fyddwn yn ei hamgyffred ai peidio. Ond golyga "ei gredu Ef" dderbyniad o'i ddysgeidiaeth, ond heb ymostyngiad llwyr a hollol yr ewyllys i'w awdurdod; nid yw ei berson yn cael y lle priodol yn y meddylfryd. Gan hyny, ffydd yr Iuddewon hyn ydoedd ffydd arwynebol, y fath ffydd ag oedd gan Plato yn Socrates. Derbynient am y tro ei ddysgeidiaeth, ond heb roddi i fynu ddim o'u Hiuddewiaeth. Dyna, o bosibl, yw y rheswm y cyfenwa yr Iesu hwynt yn "*Iuddewon*, y rhai oedd wedi ei gredu Ef." Y mae yn amlwg mai *compromise* oedd eu ffydd. Oherwydd paham cyfaddasa yr Iesu ei anerchiad ar gyfer eu sefyllfa feddyliol, i ddangos iddynt eu perygl, ac i'w hanog i symud yn mlaen. **Os arhoswch chwi yn fy ngair i.** Y mae y pwyslais ar "chwi" a "i." "Os arhoswch chwi"—yr Iuddewon swyddogol—"yn fy ngair i." Y mae "aros" yn un o eiriau mawr Ioan yn ei efengyl a'i epistolau, a golyga barhâd a sefydlogrwydd. Ymrestrodd llawer o'r Galileaid o dan ei faner, ond ni arosasant yn ei air—"Hwy a aethant yn ol, ac ni rodiasant mwyach gyda Ef (vi. 66). Yr oedd y penaethiaid hyn wedi derbyn argraph ddaionus, a datganasant mewn rhyw ffordd na chrybwyllir yma eu hawydd i fod yn ganlynwyr iddo. Ond a oedd eu ffydd yn gyfryw ag a ddaliai *strain* y dyfodol? Ai teimlad ydoedd, ynte egwyddor? Y prawf o'u dilysrwydd yw—"aros yn ei air Ef," cymeryd ei air Ef yn rheol, ac yn unig reol, ffydd ac ymarweddiad. Nid cyfuno Cristionogaeth ac Iuddewiaeth, neu Gristionogaeth a Phlatoniaeth, ond aros yn "ngair" Crist fel mewn castell, pob cyflenwad y tu fewn i'r muriau. Nid aros yn ei "eiriau"—dewis a fynent o'i ddysgeidiaeth a gwrthod y gweddill; ond aros yn ei "air"—ei ddysgeidiaeth fel un cyfangorph cyson a chyflawn, ei derbyn yn ei phethau celyd yn gystal a'i phethau dymunol, yn yr hyn oedd yn myned yn erbyn graen y genedl yn gystal ag yn yr hyn ag oedd yn cyfarfod y dyheadau cenedlaethol. Os aroswch felly, **dysgyblion i mi ydych yn wir.** Nid dysgyblion i mi fyddwch, ond ydych; y mae eu *discipleship*, er yn anmherffaith ac anaddfed, yn ddiffuant, ac yn "wir" mewn cyferbyniad i "gau." Nid teimlad anrywiol, ond egwyddor sefydlog, bywyd cyson, sydd yn profi gwirioneddolrwydd ein proffes.

**ADN. 32. A chwi a ddeuwch i wybod y gwirionedd.** Nid chwi a gewch wybod, fel pe eu cynysgaeddid o'r tu faes, ond chwi a ddewch i wybod (*ginôskein*)—try eich profiad a'ch sylwadaeth a'ch myfyrdod yn argyhoeddiad eich bod wedi taraw wrth haenau isaf gwybodaeth. Wrth "aros yn y gair" arferent lygaid eu meddwl ysbrydol, ac mewn ymarferiad cyson ymloewai ac ymgryfhai y rhai hyny nes eu galluogi i

farnu rhwng pethau sydd a gwahaniaeth rhyngddynt. Beth a feddylir wrth "y gwirionedd?" I ateb gofynwn gwestiwn arall, Beth yw gwirionedd? (1) Atebwn yn nghyntaf, Cyfatebiaeth hollol rhwng ein drychfeddwl neu ein syniad tufewnol â'r ffeithiau allanol. Os ydyw ein syniad tufewnol ni yn hollol gyfateb i ffeithiau allanol y greadigaeth—y greadigaeth megis y mae—y mae y syniad yn wirionedd. Wrth barhau yn y syniad yna, daw y dysgybl ieuangc i weled yn fwyfwy y gyfatebiaeth rhwng y drychfeddyliau a'r ffeithiau—daw i wybod y gwirionedd. Derbyniodd ef mewn ffydd i ddechreu, ond wrth barhau ynddo derbyniodd ei ffydd gadarnhâd gan ffeithiau y greadigaeth faterol. Daw i wybod gwirionedd y gyfundrefn. Cymhwyser hynyna at y byd ysbrydol. Rhoddodd yr Iesu ddehongliad yn ei "air" neu ei ddysgeidiaeth o'r byd hwnw, dehongliad gwahanol o Dduw, dyn, a'r berthynas rhyngddynt, nag a roddodd un meddyliwr o'i flaen nac ar ei ol. Pa fodd y deuwn ni i wybod fod ei ddehongliad yn cyfateb i'r ffeithiau, ac felly yn wirionedd? Trwy "aros yn ei air"; trwy barhau i fyfyrio a byw ac ufuddhau, cawn fod ei ddysgeidiaeth Ef a ffeithiau mawr y byd ysbrydol yn hollol gyfateb i'w gilydd (Gwêl ar vii. 17). Derbyniwn argyhoeddiad sicr fod dysgeidiaeth Crist yn gorphoriad teg a chyflawn o ffeithiau, deuwn i wybod gwirionedd yr athrawiaeth. (2) Atebwn yn ail, mai y gwirionedd yw y ffeithiau y tu allan i'r meddwl, y rhai y mae y syniad yn ymdrechu eu cynrychioli y tu fewn i'r meddwl. Gwybod y gwirionedd yw gwybod y ffeithiau, ac nid cyfundrefnau neu opiniynau dynion. Dyma gyfansoddai newydd-deb Carlyle yn myd llenyddiaeth—ei fod yn ysgubo ymaith pob gorchudd fel gwê y pryf-gopyn i gael gweled y ffeithiau, *y realities*, y tu cefn i bob ymddangosiad. "Chwi a gewch wybod y gwirionedd"—gwirionedd bôd yn hytrach na gwirionedd meddwl, *the truth of being* yn hytrach na *truth of thought*. Dyma athrawiaeth y gwirionedd. (3) Ond dilys genym y cynwys yr adnod y ddau olygiad. Wrth barhau yn "ngair" Crist, deuwn i wybod yn nghyntaf wirionedd bodolaeth, sef Duw, dyn, a'r berthynas rhyngddynt fel ei gosodir allan yn y ddau air—pechod ac iachawdwriaeth, *bottom facts* y byd ysbrydol. Y mae pob gwir ddysgybl i'r Arglwydd Iesu wedi ei seilio a'i wreiddio yn y gwirioneddau hyn, nid am ei fod wedi darllen traethodau dysgedig arnynt, ond am ei fod wedi "aros yn ngair Crist," a thrwy ei natur foesol wedi sylweddoli eu bod. Ni all, hwyrach, ateb gwrthddadleuon ysgrifenwyr anghredinol; ond, ar y llaw arall, nis gallant hwy ysgwyd dim ar ei argyhoeddiadau ef—y mae mor sicr o ffeithiau mawr y byd ysbrydol ag yw o ffeithiau mawr y byd materol. Ond y mae gwybodaeth ffeithiau yn graddol ddadblygu yn wybodaeth meddyliau; a meddyliau mewn perthynas organaidd a'u gilydd sydd yn ffurfio cyfundrefnau. Felly y mae gwirionedd yr athrawiaeth yn graddol drawsnewid yn athrawiaeth y gwirionedd. Yn y Test. Newydd cawn wirionedd yr athrawiaeth—gwirionedd bôd; yn ysgrifeniadau y Tadau Eglwysig a'r duwinyddion dilynol, cawn athrawiaeth y gwirionedd—y ffeithiau wedi eu trawsnewid yn gyfundraethau. **A'r gwirionedd a'ch rhyddha chwi.** Nid rhyddid gwleidyddol na gwladol, ond rhyddid moesol ac ysbrydol. Y mae natur y rhyddid i'w benderfynu gan natur y gwirionedd. Gwirionedd ysbrydol yw mater dysgeidiaeth Crist; o ganlyniad, rhyddid ysbrydol a olygir. Gall dyn fod yn feddiannol ar ryddid gwleidyddol a gwladol, ac eto fod mewn caethiwed moesol ac ysbrydol; ar y llaw arall, gall dyn

33 Hwythau a attebasant iddo, Had Abraham ydym ni, ac
ni wasanaethasom ni neb erioed: pa fodd yr wyt ti yn
34 dywedyd, Chwi a wneir yn rhyddion? Yr Iesu a atteb-

---

fod yn feddiannol ar ryddid moesol ac ysbrydol tra mewn caethiwed gwleidyddol a gwladol. "Y gwirionedd a'ch rhyddha chwi." Ond os oedd Crist yn cynyg rhyddid i'r Iuddewon hyn, rhag-dybiai hyny eu bod yn flaenorol mewn caethiwed; ac ystyrient y dybiaeth yn sarhâd arnynt.

**ADN. 33. Hwy a atebasant iddo.** Pwy yw yr "hwy"? (1) Etyb Awstin, Calfin, De Wette, a Tholuck mai nid yr Iuddewon y cyfeirir atynt yn adn. 31, fel wedi credu ei dystiolaeth, canys yn mhellach yn mlaen geilw yr Iesu y rhai hyn yn blant y diafol, a chyhudda hwynt o fwriadu ei ladd Ef. Anhygoel, yn mryd yr esbonwyr hyn, y gallesid llefaru am neb oedd wedi credu, pa mor egwan bynag, fel y llefara yr Iesu am y bobl hyn. (2) Ond crêd Bengel, Olshausen, Meyer, a Godet mai yr un pobl ydynt; ac os oes rhyw bwys i'w roddi ar gyfansoddiad, nis gallwn lai na mabwysiadu eu golygiad. Nid oes yma un awgrym mai Iuddewon eraill, dynion gelyniaethus, o'r dorf, sydd yn gwrthddadleu. Pa fodd y gellir cysoni y ffaith eu bod yn ei "gredu" â'u hymddygiadau a'u hymresymiadau dilynol nis gwyddom; ond y gwirionedd yw—y mae anghrediniaeth yn anesboniadwy, gan mai o'r ewyllys, ac nid o'r deall, y tardda. **Had Abraham ydym ni, ac ni chaeth-wasanaethom ni neb erioed.** Nid gwasanaethu, canys y mae gwasanaeth a rhyddid yn cyd-sefyll, ond caeth-wasanaethu *(dedouleúkamen)*. Beth a feddylient? (1) Mỳn Tholuck a Lange mai gwadu y maent eu bod wedi colli eu rhyddid yn yr hawl *(de jure)*, er eu bod wedi ei golli yn weithredol *(de facto)*. Honent fod *ideal liberty* yn feddiant parhaus iddynt, ac nad oes neb mewn gwirionedd mewn caethiwed nes yr ymfoddlona i'w ystâd,—nad priodol galw neb yn gaeth-weision tra yr ymorchestant am ryddid—rhyddion ydynt tra y mae ysbryd rhyddid o'u mewn. Yr oeddynt yn awr dan iau Rhufain; ond yr oeddynt yn llawn asbri i'w thori, ac felly gwrthodent eu galw yn gaethion. (2) Maentumia Luthardt a Hengstenberg mai mewn ystyr grefyddol y dylid deall eu gwrthddadl. "Had Abraham ydym ni," mewn meddiant o freintiau crefyddol lawer; ac o ddyddiau Abraham hyd yn awr yr ydym wedi cadw ein hannibyniaeth grefyddol; ein cenedl ni, ac nid un genedl arall, a ddewisodd Duw i fod yn dderbynydd ei ddatguddiedigaethau, ac nid yw Efe wedi ein gwrthod. Yn lle ein bod ni yn dibynu ar genhedloedd eraill am wirionedd, hwynt-hwy sydd yn dibynu arnom ni. Annibyniaeth trwy feddiant o'r gwirionedd! Y mae hwnw genym eisoes, ac ni chollasom ef erioed. (3) Barna Westcott nad oeddynt am anwybyddu ffeithiau mor amlwg yn eu hanes a'u caethiwed yn yr Aipht, eu caethgludiad i Babilon, a'u darostyngiad ar y pryd hwnw dan iau Rhufain; ond yr edrychent arnynt fel "damweiniau arwynebol, heb gyffwrdd â gwir fywyd y bobl, y rhai ni dderbyniasant lywodraeth eu gorchfygwyr ac ni ymgymysgasant â hwy." Yr oedd y genedl yn hanfod ei bywyd wedi cadw ei hannibyniaeth. (4) Ond dysga Ewald a Meyer, yn nghyd a mwyafrif yr esbonwyr, mai mewn ystyr wleidyddol y defnyddiai yr Iuddewon yr ymadrodd, ac

odd iddynt, Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, Pwy bynnag sydd yn gwneuthur pechod, y mae efe yn was i bechod.

---

iddynt, yn ngwylltineb eu tymher, anwybyddu yr anffodion gwleidyddol a'u goddiweddodd yn nghwrs eu hanes. Mor gryf oedd eu balchder cenedlaethol fel y gŵyrdroent ffeithiau hanesyddiaeth. Gwnaeth Duw addewidion mawr iawn a gwerthfawr i Abraham: "Dy had a feddianna borth ei elynion," &c. (Gen. xxiv. 17). Esbonient hwy eu holl anffodion yn ngoleuni yr addewidion hyn a'u cyffelyb. (5) Dàlia Grotius a Godet mai nid mewn ystyr grefyddol na gwleidyddol *(political)*, ond gwladol *(civil)*, y lleferir y geiriau. Fel personau unigol nid oeddynt hwy mewn caethwasiaeth, mwynhaent ryddid dineswyr, er fod y genedl, yn ei chymeriad corphoredig, dan lywodraeth Rhufain. Gwadu y maent eu bod hwy yn *slaves*, ac felly dàlient fod yr Iesu yn cam-ddesgrifio eu sefyllfa pan yn dywedyd, "Chwi a wneir yn rhyddion.' Caniatâi Rhufain ryddid helaeth i'r talaethau dan ei llywodraeth. Cyffelyb, gan hyny, oedd sefyllfa Palestina yn ei pherthynas a Rhufain i sefyllfa Cymru yn ei pherthynas a Lloegr. Y mae y Cymry yn orchfygedig gan Loegr, ac yn yr ystyr hono y maent mewn caethiwed; ond er ein gorchfygu mwynhawn ryddid gwladol hollol. Pe galwai neb ni yn gaethweision *(slaves)*, atebem gyda yr Iuddewon, "Ni fuom ni mewn caeth-wasanaeth i neb erioed." Maentumio eu rhyddid personol y maent, ac yn yr ystyr hono y mae eu gwrthddadl yn wir. Dyma y golygiad a gymeradwya ei hunan i ni. Yn yr adnod nesaf ä yr Iesu yn mlaen i ddangos, mai nid am ryddid a chaethiwed gwleidyddol a gwladol y llefara, ond am ryddid a chaethiwed moesol ac ysbrydol.

**ADN. 34. Pwy bynag sydd yn gwneuthur pechod, y mae efe yn gaethwas pechod.** Yn ol y Cyf. Diw. *He is a bond-servant of sin* Nid cyflawni actau gwahanol o bechod a feddylir—y mae y dynion duwiolaf yn gwneuthur hyny; ond gweithio pechod fel gwr yn gweithio ei grefft—parhau mewn ystâd o bechod. Felly y mae "gwneuthur pechod" yma yn wrthgyferbyniol i "wneuthur cyfiawnder" neu "wneuthur y gwirionedd" mewn adnodau eraill. "Pob un sydd yn gweithio pechod" fel crefft, beth am dano? "Y mae yn gaethwas pechod." Yn lle ei fod ef yn llywodraethu pechod, pechod sydd yn ei lywodraethu ef—y mae mewn caethiwed pechod. Nid priodol dywedyd fod pob crefftwr yn gaethwas i'w grefft, oblegid gall y saer neu y crydd adael ei waith pryd y myno; ac, os ewyllysia, gall droi ei gefn ar ei grefft am byth. Ond nid all yr hwn sydd yn gweithio pechod fel crefft adael heibio bechu pryd y mŷn, nid all droi ei gefn arno—pechu a fŷn, a phechu sydd raid iddo. Gwelir yr egwyddor hon yn amlwg yn y meddwyn—y mae yn gaethwas i'w chwant; ac y mae yn wir am bob ffurf arall ar bechod, megis cybydd-dod, anonestrwydd, &c. A pha brawf cryfach mai Caethwas ydyw pechadur na'r ffaith na all adael ei bechod pryd y mŷn? Mewn un golygiad gellir dywedyd am y pechadur fod ganddo ryddid ewyllys—rhyddid athronyddol *(metaphysical)*; ond yn yr ystyr Feiblaidd y mae wedi colli ei ryddid—y mae yn gaethwas i ddrygioni. Gwelwn felly fod y ddadl ddyrys am ryddid ewyllys pechadur yn ddadl yn nghylch geiriau yn hytrach nag yn nghylch ffeithiau. Os cawn ddyfynu o'n llyfr *Primeval Revelation*, tudal. 250; "Nid yw y Beibl byth yn diraddio y gair 'rhyddid'

35 Ac nid yw y gwas yn aros yn tŷ byth: y Mab yn aros

---

trwy ei gymwyso at sympwy pechadur. Cyfyngir rhyddid (*eleutheria*) gan yr Ysgrifenwyr Beiblaidd at ddadblygiad dynion mewn daioni, rhinwedd, a sancteiddrwydd, mewn cysondeb a phob peth sydd yn ddwfn a chynhenid yn y natur ddynol. Y gair a gymhwysant hwy yn ddieithriad at bechadur yn erlyn ei ddrwg yw, nid rhyddid, ond caethiwed. O beidio talu sylw priodol i'r dull Ysgrythyrol o ddefnyddio y ddau air hyn, ac felly i gyfyngiad eu hystyr, y tarddodd llawer o ddadleuon cynhyrfus y gorphenol. Y mae rhyddid yn ei ystyr athronyddol (*metaphysical*) yn feddiant cyffredin sant a phechadur; yn ei ystyr Feiblaidd meddiant ydyw i'r sant yn unig. O ganlyniad, galwodd Erasmus ei lyfr yn *De Libero Arbitrio* (*Am Ryddid yr Ewyllys*), tra y galwodd Luther ei lyfr ef yn *De Servo Arbitrio* (*Am Gaethiwed yr Ewyllys*). O safle athroniaeth yr oedd Erasmus yn iawn, fod rhyddid, yn yr ystyr o ryddid dewisiad, yn perthyn i bawb dynion yn ddiwahaniaeth. O safle duwinyddiaeth yr oedd Luther yn gywir, fod rhyddid yr ystyr dda, yr ystyr Feiblaidd, yn feddiant y da yn unig, a bod pechaduriaid mewn 'caethiwed pechod.'"

**ADN. 35. Ac nid yw y caethwas yn aros yn y ty byth: y Mab sydd yn aros byth.** Cynwysa yr adnod hon wirionedd cyffredinol am y teuluoedd lle y ffynai caethwasiaeth. Ond tybir yn go gyffredin fod yn meddwl yr Iesu yr hanes am Ishmael, y caethwas, yr hwn a drowyd allan o deulu Abraham, tra y cafodd Isaac, y mab, barhau yn y teulu fel etifedd yr oll; ac y mae y dybiaeth yn hollol naturiol. Ond pan y dilynir y dybiaeth gan ymdrechion diflino i esbonio yr adnod hon ar yr un egwyddorion ag a esyd Paul allan yn Gal. iv., neu awdwr yr Epistol at yr Hebreaid yn iii. 2, 3, dygir i mewn anhawsderau i'r adnod na pherthynant iddi yn wreiddiol. Nid ydym ni yn gallu canfod yr ymdrinia Crist yma ag athrawiaeth y Mabwysiad, yr hon yw mater Paul yn Gal. iv. Gwir y defnyddiant yr un gydmariaeth, eithr nid i'r un dybenion. Y cwbl a brofa y cyffelybrwydd yw, fod yr arddull hwn o feddwl ac addysgu yn ffynu yn yr oes hono yn mhlith y dysgedigion Iuddewig, ac felly yn y colegau a'r synagogau. Gan hyny, yr oedd syniad yr Iesu yn yr adnod hon yn gynefin i'w wrandawyr; ei gymhwysiad atynt hwy sydd yn newydd. Nid mabwysiad credadyn i deulu Duw yw mater yr Iesu yma, ond rhyddhâd pechadur o gaethiwed pechod. Dylem yn mhellach fod ar ein gwyliadwriaeth rhag disgwyl i'r gydmariaeth gyfateb yn mhob manylion i'r sylwedd, ond y mae y gyfatebiaeth yn ddigon i ddwyn y prif wirionedd i eglurder. Dywed yr Iesu fod yr hwn sydd yn arfer gwneuthur pechod yn gaethwas pechod, boed Iuddew neu Genedl-ddyn; yr oedd yr Iuddewon yn perthyn i deulu neu deyrnas Dduw, oblegid hâd Abraham oeddynt: dyma gaethweision pechod yn nheulu Duw. Ond nid yw y caethwas yn aros yn y ty byth,—y mae gan ei berchenog hawl i'w werthu neu ei droi allan pryd y dewiso; llawer llai y bydd i gaethweision pechod, megis yr oedd yr Iuddewon, gael aros yn nhy neu deyrnas Dduw byth. Gallasai Duw droi ei gaethweision ei hun allan o'i dŷ; y mae yn sicr y try gaethweision y diafol allan. Ni chaent aros yn y "Ty" neu y "Teulu" byth—bwrid hwy allan oherwydd eu bod yn gaeth i anfoesoldeb. "Y Mab sydd yn aros byth." Mŷn rhai, ar y tir mai egwyddor gyffredinol sydd yma, y dylasai "y Mab" fod heb y lythyren fawr—"y mab,"

byth. Os y Mab gan hynny a'ch rhyddhâ chwi, rhyddion 36
fyddwch yn wir. Mi a wn mai had Abraham ydych chwi: 37
ond yr ydych chwi yn ceisio fy lladd i, am nad yw fy ngair

---

unrhyw fab, "sydd yn aros byth." Gwir fod yn yr adnod hon egwyddor gyffredinol; ond y mae yr ymdrech i gau "y Mab" allan, a dodi "mab" cyffredin yn ei le, yn cyfodi oddiar awydd i ddarganfod yma athrawiaeth y Mabwysiad, megis yn Gal. iv. Gosod gwirionedd i mewn yn yr adnod yw hynyna, yn lle tynu y gwirionedd sydd ynddi hi ei hunan allan. Nid yw yn debyg y buasai yr Iesu yn defnyddio y term "mab" mewn dwy frawddeg nesaf i'w gilydd mewn dau ystyr—dyrysai hyny dduwinyddion rhagorach na'r Iuddewon hyn. Y mae yn ddigon gwir fod y "mab" yn aros byth; ond nid dyna wirionedd yr adnod hon—y mae arosiad bythol "y mab" yn gorphwys ar arosiad bythol "y Mab." Arosiad hwn, ei arosiad ei hun, yn y ty byth, yw pwngc yr Arglwydd Iesu yma; ac felly ei allu i'w rhyddhau hwy o gaethiwed pechod, a'u sefydlu fel ei hunan yn y ty byth.

**ADN. 36. Os y Mab gan hyny a'ch rhyddha chwi, rhyddion fyddwch yn wir.** Yn adn. 31, y gair am "yn wir" yw *alêthôs*; yma *ontôs*: y mae yr un gwahaniaeth rhyngddynt ag sydd rhwng *truly* a *really*. Y mab yn mhob teulu oedd yr etifedd, perchenog yr anifeiliaid a'r caethweision. Gan hyny, os rhoddai efe ei ryddid i gaethwas, pwy oedd i'w wrthwynebu? Yr oedd y caethwas a ryddheid gan y mab neu y perchenog yn rhydd mewn gwirionedd. Ni ddesgrifir dull ei ryddhâd, yn unig crybwyllir y ffaith. Felly yr Iesu oedd y Mab, yr uniganedig Fab, yn nheulu Duw, fel Isaac yn nheulu Abraham; fel y cyfryw meddai hawl i ryddhau caethweision pechod yn nhy ei Dad,—yr oedd ganddo yr hawl a'r gallu i dòri yr iau. Pa fodd? Nid yw yr adran hon yn hysbysu, ond dengys mai trwy y gwirionedd. Yn adn. 32, dywedir mai y gwirionedd sydd yn rhyddhau; yma mai y Mab. Nid y gwirionedd heb y Mab—nid oes digon o nerth mewn gwirionedd ynddo ei hun, yn y ffurf o egwyddorion neu ddrychfeddyliau, i dòri iau pechod. Ac nid y Mab heb y gwirionedd—ni all ryddhau pechaduriaid o afael euogrwydd a halogrwydd pechod yn ol mympwy neu benarglwyddiaeth. Rhaid wrth y Mab a'r gwirionedd—Efe yn ei berson a'i waith yw y gwirionedd—i ryddhau caethweision pechod oddiwrth eu heuogrwydd trwy y cyfiawnhâd, ac oddiwrth eu halogrwydd trwy y sancteiddhâd. Efe, ac Efe yn unig, trwy y gwirionedd a fedr wneuthur hyn.

HAD ABRAHAM, NID PLANT ABRAHAM. ADN. 37—41.

**ADN. 37. Mi a wn mai had Abraham ydych chwi.** "Mi a wn (*oida*)"—mi a wn yn annibynol ar eich tystiolaeth chwi; nid wyf yn ddyledus i chwi am yr hysbysrwydd. Mewn llawn wybodaeth o'r ffaith yna yr wyf wedi eich cyhoeddi yn gaethion pechod, ac wedi cynyg i chwi waredigaeth oddiwrth ei ormes. Disgynyddion Abraham ydych, ei waed ef sydd yn llifo yn eich gwythïenau, "ond—." **Ond yr ydych chwi yn ceisio fy lladd i.** A allasai yr Iesu gyfarch rhai oedd yn ei "gredu" mewn iaith mor gref? Gwelsom eisioes (adn. 23) fod rhai o'r prif esbonwyr yn tybied mai dosbarth arall o Iuddewon yn y dorf sydd

38 i yn genni ynoch chwi. Yr wyf fi yn llefaru yr hyn a wel-
ais gyd â'm Tad i: a chwithau sydd yn gwneuthur yr hyn

---

yn dwyn y ddadl yn mlaen, ac mai yn ei herbyn hwy y dwg yr Iesu y cyhuddiad. Nid oes genym, fodd bynag, ond dilyn yr hanes fel y mae ar lawr yma, ac ni chrybwyllir am neb Iuddewon yn y cyd-destyn ond y rhai oedd yn credu. Ond, yn ol awgrymiad Ioan, ffydd wân ydoedd, ac y mae eisioes yn dechreu pallu. "Credent Ef," ond "ni chredent ynddo Ef." Pe credent ynddo Ef, gadawent Ef i egluro ei swydd fel Messiah, a syrthient i mewn â'i syniadau. Ond gan mai ei "gredu Ef" a wnaethant, disgwylient iddo Ef syrthio i mewn â'u syniadau hwy am yr hyn y dylasai y Messiah ei wneyd. Yn lle aberthu eu syniadau eu hunain i'w syniadau Ef, disgwyliant iddo Ef gydnabod eu syniadau daearol hwy. O ganlyniad cyfyd gwrthdarawiad enbyd iawn, yr hwn a gyrhaedd ei uchafnod mewn ymgais i ladd yr Iesu,—gwrthdarawiad personau yn cyfodi oddiar wrthdarawiad drychfeddyliau, ei ddrychfeddwl Ef a'u drychfeddwl hwy am yr hyn y dylasai y Messiah ei gyflawni. Gwrthodai Ef yn bendant a chyfaddasu ei hun i'w syniadau hwy; ar y llaw arall, ymdrecha yma eu dwyn allan o'u hên syniadau a'u hên fywyd daearol. Ond yn lle cymeryd eu harwain allan, syrthiant yn ol i'r bywyd llygredig cenedlaethol, ac felly cynrychiolant yr elfen lofruddiog oedd yn y genedl, yr hon nis boddlonid nes tywallt gwaed y Gwirion. **Am nad yw fy ngair i yn enill ynoch.** Yn ii. 6 cyfieithir y gair am "enill" (*chōreō*) yn "ddàl"—"y rhai a ddàlient bob un ddau ffircyn neu dri." Ond amlwg yw nad yw "dàl" neu "gynwys" yn gwneyd synwyr yma. Beth ynte yw yr ystyr? (1) Yn ol y cyfieithiadau Cymraeg a Saesonaeg, yr ystyr yw "genni" neu "gael lle," neu "gael mynedfa." "Am nad yw fy ngair i yn cael lle ynoch," neu fynedfa i mewn i'ch calonau. Amddiffynir y cyfieithiad hwn gan Luthardt a Tholuck. Ond pe dyna yr ystyr, dadleua y dysgedigion y dylasai y ferf gael ei dilyn gan arddodiad gwahanol—*eis humeis* yn lle *en humēn*. (2) Gan hyny, cytuna mwyafrif y beirniaid mai ei ystyr arferol yn y classuron yw ei ystyr yn yr adnod hon hefyd, sef, ffynu, myned yn mlaen, enill tir. Y mae hynyna yn gwneuthur synwyr da. Y drychfeddwl yw, nid arosiad, ond cynydd. Yn adn. 30, dywedir fod y bobl hyn wedi derbyn ei air; yn adn. 31, cynghora yr Iesu hwy i "aros" yn ei air; ond y mae eu hiaith a'u hymddygiad yn yr adnodau dilynol yn profi nad yw ei air yn enill tir ynddynt, ond yn hytrach yn colli tir. Prawf o hyny yw fod eu nwydau llygredig yn enill nerth,—nerth a fuasai yn fuan yn lladd y Messiah. Gan hyny, y maent yn enghraipht deg o'r dosbarth hwnw o gredinwyr a ddesgrifir yn Matt. xiii. 5, 6: "Peth arall a syrthiodd ar graig-leoedd, lle ni chawsant fawr ddaear"—cawsant ychydig, haen deneu o bridd ar wyneb y graig, "ac yn y mân yr eginasant gan nad oedd iddynt ddyfnder daear; ac wedi codi yr haul y poethasant; ac am nad oedd ganddynt wreiddyn hwy a wywasant."

**ADN. 38.** Y mae yn y llawysgrifau amrywiol ddarlleniadau o'r adnod hon; ac y mae yr esboniad yn dibynu ar y darlleniad a fabwysiedir. Ni roddwn yma ond y ddau ddarlleniad a ystyrir yn deilyngaf o sylw. **Yr wyf fi yn llefaru y pethau a welais gyda y Tad; gwnewch chwithau y**

a welsoch gyd â'ch Tad chwithau. Hwythau a attebasant 39
ac a ddywedasant wrtho, Ein tad ni yw Abraham. Yr

---

**pethau a glywsoch gyda y Tad.** Barnodd awduron y Cyf. Diw. y darlleniad hwn yn deilwng o le ar ymyl y ddalen. Yn ol hwn edrychir ar y ferf "gwneuthur" (*poiete*) yn y modd gorchymynol. Gellir, gan hyny, edrych ar y geiriau fel cynghor neu anogaeth olaf Crist iddynt i ddyfod i'r iawn allan o fagl y diafol. Yr ail ddarlleniad yw, fel yn y Cyf. Diw.: **Yr wyf fi yn llefaru y pethau a welais gyda fy Nhad i; ac yr ydych chwithau yn gwneuthur y pethau a glywsoch gyda'ch tad chwithau.** Yn ol y darlleniad hwn, y mae y ferf "gwneuthur" yn y modd mynegol, a syrth y pwyslais ar y "fi" a "chwithau." Felly cyferbyna yr Iesu ei hunan â'r Iuddewon swyddogol hyn; ac y mae y cyferbyniad rhyngddo Ef a hwy yn cynwys cyferbyniad rhwng ei Dad Ef a'u tâd hwy: o ganlyniad, gadewir allan y llythyren fawr yn y gair "tad" yn niwedd yr adnod. Yn ol y darlleniad cyntaf, yr un yw y ddau dad; ond yn ol y diweddaf, y maent yn ddau, sef Duw a'r Diafol. Gan hyny, er mwyn eglurder, dodir i mewn yn y cyfieithiad y rhagenwau "fy" ac "eich," fel y dynoda y llythrenau Italaidd: "*fy* Nhad i," "*eich* tad chwithau." Y mae hynyna yn hollol gywir fel eglurhâd ar yr adnod hon yn ngoleuni yr adnodau dilynol, ond y mae yn oleuni mwy nag sydd yn yr adnod ei hun. Defnyddia yr Iesu iaith lydan agored, i awgrymu y gwirionedd ofnadwy cyn ei fynegu mewn geiriau pendant, diamwys. Defnyddir hefyd ddwy ferf wahanol mewn dau amser gwahanol i ddangos dwy berthynas wahanol â dau dad gwahanol. Y ferf sydd yn desgrifio perthynas yr Iesu â'i Dad yw "gweled" yn yr amser perffaith (*eōraka*); ac nid yn unig hyny, ond "gweled gyda'i Dad" (*para tō patri*): ymadroddion sydd yn cyfeirio at y cymundeb agos, trwyadl, rhyngddynt cyn yr Ymgnawdoliad. Nid yw amser y ferf yn cau allan y cymundeb ar ol hyny, yn y cnawd; ond nid oedd y cymundeb rhyngddynt mewn amser ond y gweithiad allan o'r cymundeb rhyngddynt yn nhragwyddoldeb. Ac y mae "gweled" yn cynwys eglurder canfyddiad; gwelodd y pethau yn ngoleuni digrëedig ei Dad—nid oes le i amheuaeth yn eu cylch. Y ferf sydd yn desgrifio yr Iuddewon yn eu perthynas â'u tad hwy yw "clywed" yn yr *aorist tense* (*ēkousáte*); ac nid "clywed gydag" ef, ond "clywed oddiwrtho" ef (*para toû patros*). Gwybodaeth anuniongyrchol a thywyll. Mewn pechod, meddai Godet, nis gellir "gweled," dim ond "clywed,"—y diafol o'r tywyllwch yn murmur yn aneglur wrth yr enaid fel dewinwyr yn mwngian eu swyngyfaredd. Felly dangosai ei fod Ef fel Mab yn derbyn adgyfnerthion beunyddiol o fôr daioni yn Nuw; a'u bod hwythau yn derbyn cyflenwad beunyddiol o fôr drygioni yn y diafol. Syniad difrifol, fod daioni a drygioni ar y ddaear yn derbyn adgyfnerthiad parhaus o ddaioni a drygioni mewn arall fyd! Megis y mae i dduwiolion Dad yn y Nefoedd, felly y mae i annuwiolion Dad yn Uffern, ac oddiwrth hwnw y derbyniant eu hegni pechadurus.

**ADN. 39. Hwythau a atebasant ac a ddywedasant wrtho, Ein tad ni yw Abraham.** Yr oedd yr Iesu wedi awgrymu yn yr adnod flaenorol fod iddynt ryw dad dyeithriol, tad na roddodd yr un enw arno. Gwâdent hwythau y berthynas, gan ddadleu nad oedd iddynt ond un tad, a

Iesu a ddywedodd wrthynt, Pe plant Abraham fyddech,
40 gweithredoedd Abraham a wnaech. Eithr yn awr yr
ydych chwi yn ceisio fy lladd i, dyn a ddywedodd i chwi y
gwirionedd, yr hwn a glywais i gan Dduw: hyn ni wnaeth

---

hwnw oedd Abraham. **Yr Iesu a ddywedodd wrthynt, Pe plant Abraham fyddech, gweithredoedd Abraham a wnaech.** Yma eto y mae amrywiaeth mawr yn y darlleniadau. Mabwysiada y Cyf. Diw. y darlleniad Cymraeg, er y gwrthwynebir ef gan Westcott. Ond pa ddarlleniad bynag a fabwysiedir, saif y gwirionedd allan yn amlwg, sef, mai nid cyfranogiad o'r un gwaed, ond cyfranogiad o'r un anian, yw hanfod maboliaeth. Had Abraham, meddent hwy, disgynyddion naturiol o lwynau Abraham. Ie, meddai yr Iesu, Had Abraham, ond nid plant Abraham. Tỳn Ef linell wahaniaethol rhwng yr hâd a'r plant—gwirionedd a ddadblygir i'w lawn faint yn epistolau Paul. "Nid Israel yw pawb a'r sydd o Israel. Ac nid ydynt, oblegid eu bod yn had Abraham, i gyd yn blant" (Rhuf. ix. 6, 7). Y mae "hâd" (*sperma*) yn cyfeirio at berthynas naturiol—yr un gwaed ynddynt hwy ag oedd yn Abraham. Ond y mae "plant" (*tekna*) yn golygu cysylltiad moesol ac ysbrydol—yr un anian dduwiol ynddynt hwy ag oedd yn y patriarch. Yr oedd yno berthynas naturiol ond dim perthynas ysbrydol; oblegid y mae unrhywiaeth anian yn sicrhau cyffelybrwydd cymeriad—y mae yr un anian dufewnol yn ymhyfrydu yn yr un gwrthrychau ac yn cyflawni yr un gweithredoedd.

**ADN. 40. Eithr yn awr yr ydych chwi yn ceisio fy lladd i.** Nid "yn awr" o ran amser, ond "yn awr" o ran ymresymiad. Dangos y mae nad oeddynt yn blant Abraham, oblegid nid oeddynt yn gwneuthur gweithredoedd Abraham; ac "yn awr," fel prawf, "yr ydych chwi yn ceisio fy lladd i." Nid arf rhesymeg yw y ffaith hon yn nwylaw yr Iesu, ond y mae ei gyfeiriadau mynych ati yn dangos ei bod yn pwyso yn drwm ar ei feddwl, ac yn peri gofid mawr iddo. **Dyn a ddywedodd i chwi y gwirionedd, yr hwn a glywais i gan Dduw.** "A glywais," yn yr *aorist tense*, gan gyfeirio at y gwirionedd goruchnaturiol, a glywodd gan ei Dad yn ei sefyllfa gyn-hanfodol. Gelwir yr Arglwydd Iesu yn Act. xvii, 31 yn "wr" (*anēr*), ac yn 1 Tim. ii. 5, yn "ddyn" (*anthropos*), ond dyma yr unig fan y geilw yr Iesu ei hunan wrth yr enw hwn: Mab y Dyn yw ei enw arferol. Nis gallwn esbonio y frawddeg hon yn ei chysylltiad â'r frawddeg flaenorol yn well nag adrodd a ganlyn. Gofynasom unwaith i Robin Ddu, yr hên fardd adnabyddus a'r areithiwr hyawdl, a allasai roddi i ni engraipht o areithyddiaeth John Elias. "Gallaf," meddai, "yr hyn a glywais ganddo pan oeddwn yn laslangc, ni anghofiaf byth mo hono." Yna cododd ar ei draed, a chan ddynwared John Elias, dywedai: "Yr ydych chwi yn ceisio fy lladd i. Yr ydych chwi yn ceisio fy lladd i—dyn—dyn—dyn; lladd dyn. Yr ydych chwi yn ceisio fy lladd i—dyn a ddywedodd i chwi y gwirionedd: nid dyn celwyddog, nid dyn anllad, nid dyn drwg, ond dyn da—dyn a ddywedodd i chwi y gwirionedd. Yr ydych chwi yn ceisio fy lladd i—dyn a ddywedodd i chwi y gwirionedd yr hwn a glywais i gan Dduw; nid rhyw wirionedd, ond y gwirionedd pwysicaf, gwirionedd am iachawdwriaeth enaid, y

Abraham. Yr ydych chwi yn gwneuthur gweithredoedd 41
eich tad chwi. Am hynny y dywedasant wrtho, Nid trwy
butteindra y cenhedlwyd ni: un Tad sydd gennym ni, *sef*

---

gwirionedd a glywais i gan Dduw. Lladd hwnyna, y dyn yna: Oh bechod, oh ysgelerder!" Felly gwelir fod yr hen weinidog Cymreig wedi rhagflaenu yr esboniwr enwog Godet, gyda golwg ar y tair gris y cyfeiria atynt yn esgyneb yr adnod hon. **Hyn ni wnaeth Abraham.** Derbyn gwirionedd Duw, ufuddhau i alwadau Duw, parchu cenhadon Duw: dyna wnaeth Abraham. Pe byddai anian Abraham ynoch chwi, dyna wnaech chwithau, fy nerbyn i! Hâd Abraham, iè; ond nid plant Abraham—yr ydych wedi derbyn eich anian chwerw o ryw dad arall.

MAB DUW A PHLANT DIAFOL. ADN. 41—50.

**ADN. 41. Yr ydych chwi yn gwneuthur gweithredoedd eich tad chwi.** A chan y cyflawnent ei weithredoedd, profent eu perthynas foesol ag ef fel ei blant. **Am hyny, dywedasant wrtho, Nid trwy buteindra y cenhedlwyd ni.** Beth oedd eu meddwl? Anfuddiol a fyddai i ni ddilyn yr esbonwyr trwy ymhelaethu ar y gwahaniaeth rhwng puteindra a godineb, a thrwy hyny luosogi yr amrywiol farnau; ond gellir, yn ddigolled i'r gwirionedd, eu dwyn oll i ddau ddosbarth. (1) Barna Meyer ac eraill fod yr Iuddewon o hyd, o ran eu meddwl, yn symud o fewn tiriogaeth yr anianyddol, ac yr honant eu bod yn ddisgynyddion cyfreithlon Abraham a Sarah. Nid oedd ddolen yn eisieu yn eu hachyddiaeth, ac felly nis gallai fod amheuaeth am eu hawliau naturiol yn y patriarch a'i wraig, ac o ganlyniad yn y rhagorfreintiau ysbrydol a dderbyniasant yn dreftadaeth iddynt oddiwrth Abraham—y Duw a aeth i gyfamod ag Abraham yn Dduw mewn cyfamod a hwy, Efe yn Dad a hwythau yn blant iddo. (2) Ond barna Hengstenberg, Lange, Westcott, ac eraill, mai cyfeirio y maent at ddiweirdeb eu llinach ysbrydol. Ni aned ni o buteindra ysbrydol; nid yw ein hachyddiaeth grefyddol wedi ei llygru gan eilunaddoliaeth. Portreadir perthynas Duw ag Israel yn yr H. D. fel perthynas gwr a gwraig, i argraphu ar y genedl y pwysigrwydd iddi gadw ei hun yn bur i'w Phriod dwyfol. Pan yr ai ar ol duwiau dyeithr, anffyddlondeb i'w Phriod nefol oedd hyny—godineb, puteindra. Dyma y ffugr mwyaf eglur yn yr H. D. i osod allan ddyledswydd y genedl yn ei pherthynas a Duw, am ei fod yn ffugr dealladwy i amgyffredion pawb, yr uchelradd a'r iselradd (Hosea i. 2; ii. 1—5; Es. i. 21; Jer. ii. 20). Daeth y ffugr ar unwaith i feddwl yr Iuddewon, a gwâdant anffyddlondeb y genedl i'r Jehofah; ac fel plant y genedl amddiffynant eu purdeb crefyddol. Y Phariseaid heb fod o linach grefyddol ddianaf! Hwtient y drychfeddwl. Yr oedd i'r Groegiaid dduwiau lawer, ac felly dadau lawer mewn ystyr grefyddol. Yr oedd y Samariaid hefyd, y rhai a gashaent hwy a chasineb perffaith, ond i'r rhai y dangosai yr Iesu lawer o gyfeillgarwch, wedi cymysgu undduwiaeth ac aml-dduwiaeth, fel y gellid eu hystyried yn fastardiaid crefyddol. "Y Jehofah yr oeddynt hwy yn ei ofni, a gwasanaethu yr oeddynt eu duwiau, yn ol defod y cenhedloedd y rhai a ddygasent oddiyno" (darllener 2 Bren. xvii. 26—41). Ffrwyth puteindra crefyddol oeddynt hwy: ond "y *ni*—nid trwy butein-

42 Duw. Yna y dywedodd yr Iesu wrthynt hwy, Pe Duw
fyddai eich Tad, chwi a'm carech i: canys oddi wrth Dduw
y deilliais, ac y daethum i; oblegid nid o honof fy hun y
43 daethum i, ond efe a'm hanfonodd i. Paham nad ydych

---

dra y'n cenhedlwyd ni," y mae ein hachyddiaeth ysbrydol ni mor ddinam a'n hachyddiaeth naturiol. **Un tad sydd i ni, Duw.** Nid ydym yn talu addoliad i, nag yn cydnabod perthynas, ag un Duw arall.

ADN. 42. **Yna y dywedodd yr Iesu wrthynt hwy, Pe Duw fuasai eich tad, chwi a'm carasech i.** Megis y profodd eisioes, oddiwrth eu gweithredoedd, nad oeddynt blant ysbrydol i Abraham, felly ä yn mlaen yn awr i ddangos nad ydynt blant ysbrydol i Dduw. Beth yw y prawf? Prawf moesol eto, nid prawf rhesymegol: carai Duw Ef, nid oeddynt hwy yn ei garu, yn hytrach ceisient ei ladd; gan hyny, nid oedd cydrhywiaeth anian rhyngddynt a'u gilydd, a lle nad oes gydrhywiaeth anian nis gall fod tadoliaeth ar un ochr, a maboliaeth (nid oes air yn y Gymraeg am *childship*) ar yr ochr arall. Y mae perthynas tad a phlentyn yn cynwys o angenrheidrwydd gydrhywiaeth anian, tebygolrwydd cymeriad. **Canys o Dduw y deilliais i ac y daethum i.** Yr un gair yw "deilliais" a "daethum," ond fod y cyntaf yn yr amser *aorist* a'r ail yn yr amser perfaith. Sylwer hefyd ar yr arddodiad "o" (*ek*)—o Dduw. Nid oddiwrtho, ond allan o hono. Yr arddodiaid ag ydym wedi eu cyfarfod hyd yn hyn, i osod allan berthynas y Mab a'r Tad yw "oddiwrtho" (*apo*), ac "o'i ymyl" (*para*), ond yma "o" (*ek*). Beth yw y gwahaniaeth? Golyga "*apo*" oddiwrtho, yr ysgariad rhwng y Mab a'r Tad yn yr Ymgnawdoliad (xiii. 3; xvi. 30). Golyga "*para*" o'i ymyl, y cymundeb agos a dwfn ag oedd rhyngddynt, pa un ai cyn yr Ymgnawdoliad ai ar ol hyny. (xvii. 27; xviii. 8). Golyga "*ek*," o, yr undeb hanfodol a fodolai rhyngddynt; ac os undeb hanfodol, yna undeb tragwyddol. (Cyd. xvi. 27, 28). "O Dduw y daethum allan": beth yw yr ystyr? (1) Maentumia Meyer a Godet mai ei ddyfodiad allan o'i ystad tragwyddol yn yr Ymgnawdoliad a ddynodir; (2) credwn ni gyda Westcott, ond cymeryd amser y ferf a'r arddodiad i ystyriaeth, mai y berthynas ddirgeledig rhwng y Mab a'r Tad yn yr Hanfod a feddylir—y frawddeg nesaf sydd yn gosod allan ei ddyfodiad yn y cnawd. Y deilliad yn nhragwyddoldeb yw sylfaen y dyfodiad mewn amser. "Ac y daethum i." Dynoda amser perffaith y ferf, nid yn unig y weithred, ond y weithred yn ei chanlyniad parhäol. Felly i osod allan y synwyr yn llawn, cyfieithir, "O Dduw y daethum allan ac yma yr wyf." Yr hwn oedd yn bresenol gyda Duw yn y tragwyddoldeb diddechreu, y mae yn bresenol yn awr gyda dynion. Ond pa fodd y daeth i fod yn bresenol ar y ddaear? Trwy Ymgnawdoliad. Gan hyny credwn fod y ddwy frawddeg hon yn gosod allan y Tragwyddol Genhedliad yn natur Duw a'r Ymgnawdoliad yn natur dyn. **Canys ychwaith nid o honof fy hun yr wyf wedi dyfod, ond Efe a'm hanfonodd i.** Yr "Efe" yn bwysleisiol. Cyfuna y ferf hon y ddwy ferf flaenorol yn un syniad—y Cenhedliad a'r Ymgnawdoliad yn cyd-gyfarfod yn yr Iesu i'w gymhwyso i gyflawni dyledswyddau y swydd Gyfryngol—yr oll, yn Nhrefn y Cadw, yn ddarostyngedig i amcanion mawr iachawdwriaeth. Nid gweithred

yn deall fy lleferydd i? am na ellwch wrandaw fy ymad-
rodd i. O'*ch* tad diafol yr ydych chwi, a thrachwantau 44

---

fympwyol o'i eiddo ei hun ydoedd ei ddyfodiad o'r byd arall i'r byd hwn —cael ei anfon yma ar genadwri benodol gan Dduw a wnaeth; nid anturiaeth *brivate* o'i eiddo ei hun, ond ymgymeriad o eiddo y llywodraeth Ddwyfol.

**ADN. 43. Paham nad ydych yn deall fy lleferydd i?** Camddeallent pob peth a ddywedai. Yr ymadroddion a ddefnyddia Efe i osod allan sylweddau ysbrydol a gymhwysent hwy at wrthrychau anianyddol. A lefarai Efe am "Fara"? meddylient hwy am fara haidd a gwenith. A lefarai Efe am "Ryddid"? meddylient hwy am ryddid gwleidyddol a gwladol. A lefarai Efe am "eich Tad"? meddylient hwy ar unwaith am Abraham. Paham y parhewch i fy ngham-ddeall? gofyna yr Iesu. Yna, wedi moment o seibiant, ä yn mlaen i ateb. **Am na ellwch wrandaw fy ngair i.** "Lleferydd" (*lalia*) a "gair" (*logos*). Beth yw y gwahaniaeth? "Lleferydd" a olyga yr ymadroddion, "gair" yr athrawiaeth neu y gwirionedd. "Lleferydd" oedd y seiniau a wnai y siaradwr yn yr awyr, "gair" oedd y gwirionedd oedd yn meddwl y siaradwr. Deallent y seiniau gramadegol; ni ddeallent y gwirionedd ysbrydol ynddynt ac odditanynt. "Ni ellwch wrandaw" (*akouein*), gwrandaw i fuddioldeb, gwrandaw fel ag i ddeall—"fy ngair i." "Ni ellwch"—nid oeddynt yn meddu y gynheddf ysbrydol angenrheidiol i ddeall gwirioneddau ysbrydol (1 Cor. iii. 14). Pa ddyben desgrifio lliwiau yr enfys i ddyn dall o'i enedigaeth? Nid oes ganddo y synwyr angenrheidiol, nid all fod ganddo y syniad gwànaf am danynt. "Beth yw lliw coch?" gofynwyd unwaith i ddyn dall. "Taran" oedd yr ateb (Locke: *Human Understanding*). Oblegid ei fod yn ddiffygiol yn y synwyr o weled, nid all bortreadu o flaen ei feddwl wrthrychau y synwyr hwnw; a'r rhyfeddod yw—nid yw yn teimlo ei amddifadrwydd, canys iddo ef nid ydynt yn bod. Cyffelyb oedd yr Iuddewon hyn, heb y gyneddf i weled gwrthrychau ysbrydol, gyda hyn o wahaniaeth—mai dallu eu hunain a wnaethant hwy, ac felly yr oeddynt yn gyfrifol am eu hanallu. O ddiffyg adnabyddiaeth o, a chydymdeimlad â'r gwirionedd, nid oedd y brawddegau ag oedd yn llawn sylwedd ar ei wefusau Ef ond seiniau gwâg yn eu clustiau hwy.

**ADN. 44. O'ch tad diafol yr ydych chwi.** Gellir cyfieithu brawddeg gyntaf yr adnod hon mewn gwahanol ffyrdd. (1) "O dad y diafol yr ydych chwi." Amddiffynir y cyfieithiad hwn gan amryw o feirniaid anghrediniol Germani; nis gwyddom ond am un beirniad Seisnig wedi dilyn eu hesiampl, sef y diweddar Dr. Samuel Davidson. Diau fod gramadeg yn cyfreithloni y cyfieithiad, os nad yw synwyr cyffredin a greddf dduwinyddol yn ei wahardd. Yr amcan yw profi mai rhyw athronydd Gnosticaidd, yn yr ail ganrif, a gyfansoddodd yr efengyl hon; a chan mai un o athrawiaethau y Gnosticiaid oedd, mai is-dduw (*demiurge*) a greodd y byd, ac mai yr is-dduw hwnw oedd Jehofah yr Israel, fod yr Arglwydd Iesu yma yn olrhain yr Israel a'r diafol i'r un ffynhonell wreiddiol yn yr is-dduw hwn: efe oedd eu tad hwy, ac efe oedd tad y diafol. Cywir yr etyb Godet—os felly, nid plant y diafol oeddynt, ond ei

eich tad a fynnwch chwi eu gwneuthur. Lleiddiad dyn

---

frodyr! (2) Y ffordd arall yw—"Chwychwi sydd o dad, yr hwn yw y diafol." Dyna gyfieithiad Meyer, ac y mae yn sylweddol yr un a'r cyfieithiad Cymraeg. Satan—y Gwrthwynebydd—y gelwir ef yn yr H. D.: dyna ei enw Hebreig. Diafol—yr Enllibiwr—y gelwir ef fynychaf yn y Test. Newydd: dyna ei enw Groegaidd. Y mae y ddau enw, o'u cymeryd gyda'u gilydd, yn gosod allan brif nodweddion ei gymeriad. Fel Satan,—gwrthwynebydd, lleiddiad dyn yw efe o'r dechreuad: fel Diafol, —enllibiwr, celwyddwr digywilydd ydyw. Fel Satan, casha ddynion; fel Diafol, cashâ y gwirionedd. Gan hyny, pan y dywedir fod yr Iuddewon hyn, cynrychiolwyr anghredinwyr pob oes, o'r Diafol, beth yw y meddwl? Gofynwn gwestiwn arall, Beth a feddylir pan y dywedir fod credinwyr o Dduw? Onid y meddwl yw fod anian Duw wedi dyfod yn anian iddynt hwy? A beth yw anian Duw? Yn ol efengyl Ioan, Gras a Gwirionedd; yn ol epistol Ioan, Cariad a Goleuni neu Gyfiawnder. Dyna, gan hyny, egwyddorion llywodraethol pob un a'r sydd wedi ei eni o Dduw. Yn awr, ynte, Beth a feddylir wrth fod yr Iuddewon hyn o'u tad, y Diafol? Os Gras a Gwirionedd—Cariad a Chyfiawnder—yw egwyddorion yr anian ddwyfol, y gwrthwyneb—Cas a Chelwydd—yw egwyddorion yr anian ddieflig. Dyna ddwy brif linell y cymeriad a briodolir yma i'r Diafol; a dyna y ddwy egwyddor a lywodraethant yr Iuddewon hyn, ac anghredinwyr pob oes, yn eu perthynas â'r Iesu. Plant y diafol oeddynt am ei fod ef a hwythau yn gweithio allan yr un egwyddorion drwg.

Ond nid hyny yn unig. Cyfranoga duwiolion o'r un anian a'u gilydd; ond oherwydd hyny, nid ydynt blant i'w gilydd, ond plant i Dduw, am y rheswm mai Duw yw ffynhonell wreiddiol eu hanian. Felly hefyd cyfranoga anghredinwyr o'r un anian lygredig, ond nid ydynt oblegid hyny yn blant i'w gilydd. Ond y maent yn blant i'r Diafol—y mae y berthynas rhyngddynt ag ef yn wahanol i'r berthynas sydd rhyngddynt a'u gilydd. Y mae efe yn dad iddynt, efe yw ffynhonell y drwg—o'i anian lygredig ef yr hânodd eu hanian lygredig hwy. Ond pa fodd y trosglwyddwyd yr anian o hono ef iddynt hwy? Ysgrifena Awstin: "Pa fodd y mae yr Iuddewon hyn yn blant i'r diafol? Trwy efelychiad, ac nid trwy enedigaeth." Ar y llaw arall, dywed y Prifathraw D. Charles Davies: "O ddiafol y mae. Rhaid fod hyn yn wrthgyferbyniol i'r hyn a ddywedir am yr hwn sydd yn gwneuthur cyfiawnder, sef ei fod wedi ei eni o Dduw. Felly y mae yr hwn sydd yn gwneuthur pechod wedi ei *eni* o ddiafol." Gorwedd y gwirionedd, ni dybiwn, cydrhwng Awstin a'r Prifathraw Davies. Yn sicr golygir mwy nag efelychiad; o braidd y golygir cymaint â genedigaeth; feallai mai *inoculation* yw y syniad cywir.

**A thrachwantau eich tad a ewyllysiwch chwi eu gwneuthur.** Trachwantau, nid egwyddorion. A siarad yn fanwl nid oes egwyddorion drwg. Perthyn i ddaioni a gwirionedd y mae egwyddorion; trachwantau sydd yn perthyn i ddrygioni—diffyg egwyddorion. Beth yw y trachwantau hyn? Yn ol yr adnod hon, rhedant yn nghyfeiriad gweithredoedd drwg — lladd, ac yn nghyfeiriad geiriau drwg — celwydd. Trachwantai y bobl hyn am waed y Cyfiawn. Ac nid angenrheid-

oedd efe o'r dechreuad; ac ni safodd yn y gwirionedd, oblegid nid oes gwirionedd ynddo ef. Pan yw yn dywedyd

---

rwydd anianyddol (*fatalism*) oedd yn eu darostwng dan lywodraeth "yr un drwg," eithr ei hewyllysiau eu hunain. Carent y tywyllwch yn fwy na'r goleuni. Yr oeddynt yn amddifad o ryddid moesol—caethion pechod; ond meddent ryddid *metaphysical*, a'r diweddaf sydd yn cyfansoddi cyfrifoldeb dyn.

**Lleiddiad dyn oedd efe o'r dechreuad.** Y mae "lleiddiad dyn" yn gyfieithiad llythyrenol o'r gwreiddiol (*anthrōpoktónos*). "Dyn-leiddiad" oedd efe o'r dechreuad. Dechreuad peth? (1) O ddechreuad ei fodolaeth, medd rhai. Felly ymresymant fod Duw a'r Diafol, Daioni a Drwg, gyferbyn eu gilydd, ac eill dau yn gyd-dragwyddol. Tra mai yr athrawiaeth yna yw y bwysicaf mewn athroniaeth baganaidd, gwrthwynebir hi yn bendant yn y Beibl. (2) O ddechreuad llofruddiaeth, medd Cyril, De Wette, ac eraill, gyda chyfeiriad arbenig at lofruddiaeth Abel. (1 Ep. iii. 8, 12, 15). Y mae yn ddilys fod Ioan yn cymhwyso y gwirionedd hwn at lofruddiaeth Abel gan ei frawd; ond gall mai cymhwysiad penodol ydyw o wirionedd mwy cyffredinol. (3) O ddechreuad hanesyddiaeth ddynol, ebe Origen, Chrysostom, Awstin, a mwyafrif yr esbonwyr diweddar. Cyfeiria at Gwymp dyn (Gen. iii.), pan y teimtiodd y diafol Adda ac Efa i'w dinystr eu hunain a'u hiliogaeth. Lladdodd, nid yn unig berson dynol, ond yr hil ddynol. **Ac ni safodd yn y gwirionedd.** Anhawdd penderfynu ar y gwir esboniad, am fod y dysgedigion eto heb benderfynu ar y gwir ddarlleniad, oblegid amrywia yr hen lawysgrifau gryn lawer oddiwrth eu gilydd. (1) Creda Plummer a llawer eraill mai y darlleniad cywir ydyw: "Ac nid yw yn sefyll yn y gwirionedd, oblegid nid oes gwirionedd ynddo ef"—y ddwy ferf yn yr amser presenol. Y mae hynyna yn gwneyd cysylltiad y ddwy frawddeg a'u gilydd yn fwy eglur. Y mae amddifadrwydd gwirionedd yn ei natur yn egluro amddifadrwydd gwirionedd yn ei gyflwr. Ond nid y darlleniad hawddaf i'w egluro sydd bob amser y darlleniad cywiraf. (2) Barna Westcott mai yn yr amser anmherffaith y dylasai y ferf fod: "Ac nid oedd yn sefyll yn y gwirionedd"—nid oedd yn sefyll ynddo pan y lladdodd y ddynoliaeth yn Eden ardd. Yn ol y darlleniad hwn, ni chyfeirir at Gwymp y Diafol; er hyny rhag-dybir ei Gwymp. (3) Yn ngwyneb cymaint o amrywiaeth barn, doethineb ynom ni yw derbyn y Cyf. Diw.: "Ni safodd yn y gwirionedd." Y ferf yn yr amser perffaith, ac felly yn cyfeirio at Gwymp y diafol ei hun. Gwir y dadleua Meyer ac eraill yn ei erbyn; ond nid oes neb o honynt yn medru cynyg darlleniad mwy esmwyth—"Lleiddiad dyn oedd efe o'r dechreuad, ac ni safodd yn y gwirionedd"—y mae yn naturiol i'r ddwy ferf fod yn y gorphenol, a'r naill yn eglurhad ar y llall. Hudodd ef ddyn i'w gwymp: paham? Y mae y rheswm tu draw i Gwymp dyn, yn Nghwymp y diafol ei hunan. Barna Westcott mai *stēkō*—sefyll yn gadarn, yw y ferf, ac nid *histēmi*, sefyll. "Ni safodd yn gadarn yn y gwirionedd." Safodd rhai o'r angylion yn gadarn, eithr nid hwn. **Oblegid nid oes gwirionedd ynddo ef.** Gwirionedd a'r fanod o'i flaen sydd yn y frawddeg flaenorol, yn dynodi gwirionedd gwrthrychol, a hwnw yn ei agwedd foesol. Ond yn y frawddeg hon, gwirionedd heb y fanod, i ddynodi gwirionedd

celwydd, o'r eiddo ei hun y mae yn dywedyd: canys y mae
45 yn gelwyddog, ac yn dad iddo. Ac am fy mod i yn dy-

---

tufewnol; y mae *truth* yma yn myned yn *truthfulness*. "Nid oes gwirionedd ynddo ef"—dim un gronyn, y mae yn bwdr trwyddo i gyd, mor bwdr nes fod ei gyflwr yn anadferadwy, ei iachawdwriaeth yn anmhosibl. Y dynion gwaethaf a adnabuom ni erioed, yr oedd rhyw gymaint o wirionedd ynddynt, rhyw fân tyner, rhyw gymaint o gydwybod: dim llawer feallai, ond eto dipyn bach, digon i râs roddi ei droed i lawr. Ond am y diafol nid oes ynddo ddim gwirionedd, dim tynerwch, dim cydwybod —y mae yn gorphoriad o bob drwg, heb un pelydryn o oleuni yn ei natur. Ond beth yw swyddogaeth yr "oblegid?" Sut y mae absenoldeb gwirionedd ynddo yn bresenol yn rheswm dros ei gwymp dechreuol oddiwrth y gwirionedd? Rheswm ydyw ag sydd yn *evidence*, ac nid yn achos. Gyda dyn yr *objective* sydd yn cyfrif am y *subjective*, yn gymaint a bod ffynhonell ei ddrwg y tu allan iddo ei hun, dylanwadau allanol a'i gorchfygodd. Ond am y diafol y *subjective* yw achos yr *objective*, yn gymaint a bod y drwg wedi derbyn ei fod a'i fagwraeth y tu fewn i'w natur ei hun. Pechod hunan-ddechreuol yw ei bechod ef; felly rhaid oedd iddo syrthio o ran ei natur cyn syrthio o ran ei gyflwr. (Gwêl *Primeval Revelation*, p.p. 253—256).

**Pan yw yn dywedyd celwydd, o'r eiddo ei hun y mae yn dywedyd; canys y mae efe yn gelwyddwr ac yn dad iddo.** Y mae anhawsder yr esboniad yma eto yn cyfodi oddiar yr anhawsder i benderfynu ar y gwir ddarlleniad. (1) Caniata gramadeg i gyfieithu: "Canys y mae efe yn gelwyddwr a'i dad hefyd," sef y diafol a'i dad, yn ol yr athrawiaeth Gnosticaidd. Ond, fel y dywed Plummer, nid rhyfedd fod hereticiaid yr ail ganrif, ag oeddynt eto heb ysgwyd ymaith hunllef paganiaeth, yn cymeryd mantais ar ramadeg y geiriau i ŵyrdroi yr adnod i gefnogi eu dychymygion gwylltion eu hunain; ond y mae yn rhyfedd fod beirniaid diweddar yn gallu credu fod "athrawiaethau cythreuliaid" o'r fath hyn yn cyd-sefyll a duwinyddiaeth efengyl Ioan. (2) Darlleniad arall ydyw: "Canys y mae dyn yn gelwyddog, ac felly y mae ei dad," sef y diafol. Ond nid dyn yw y *subject* yn y brawddegau, a mympwy ydyw ei ddwyn i fewn. Y mae y *predicates* i gyd yn perthyn i'r un *subject*, sef y diafol. (3) Cyfieithiad arall yw: "*Pan y mae un yn llefaru celwydd, o'r eiddo ei hun y mae yn llefaru; canys ei dad ef hefyd sydd gelwyddwr.*" Dyma y cyfieithiad a fabwysiedir gan y Prifathraw Edwards, D.D., Coleg y Bedyddwyr, Caerdydd, yn ei Gyfieithiad o'r Testament Newydd, a hwn hefyd, yn ol barn Westcott, yw y cywiraf. Ond, os felly, pa fodd y mae y frawddeg olaf yn rheswm dros y gosodiad yn y frawddeg o'i blaen? (4) Am hyny, gorfodir ni i syrthio yn ôl ar y cyfieithiad arferol, fel yn gystal o ran gramadeg, ac yn tra ragori o ran synwyr. "Pan y mae yn dywedyd celwydd," sef y diafol, "o'r eiddo ei hun y mae yn dywedyd." Tŷn allan o'i drysorau ei hun. Ni fedr un creadur greu gwirionedd, Duw yw unig ffynhonell gwirionedd; ond medr creadur gynyrchu celwydd. Ond tybiwn fod mwy na hynyna yn y geiriau, sef mai y diafol yw ffynhonell gyntaf celwydd, efe oedd y cyntaf i ddwyn anian ddrygionus i fod, a'i derbyn oddiwrtho ef a wnaeth pawb eraill. Gan hyny, nid yw y geiriau yn eu heangder yn wir am neb ond y pech-

wedyd y gwirionedd, nid ydych yn credu i mi. Pwy o 46
honoch a'm hargyhoedda i o bechod? Ac od wyf fi yn

---

adur mawr cyntaf; ac felly y mae cyfieithiad y Prifathraw Edwards, er yn eddefol ar dir gramadeg, yn waharddedig ar dir duwinyddiaeth. Pan y mae yn dywedyd celwydd, yn enllibio Duw a dynion, megis yr enllibiai yr Iuddewon hyn yr Iesu, nid oes dim croes-dynu yn ei natur, y mae perffaith gydnawsedd rhwng ei gelwydd a'i galon. Ond nis gellir dywedyd hynyna am ddyn, y dyn gwaethaf; teimla efe, pan yn dywedyd celwydd, ei fod yn dêlio mewn *foreign goods*, ac nid â'i eiddo ei hun. Y mae rhywbeth o'i fewn yn gwrthdystio. "*Canys y mae efe,*" sef y diafol, "yn gelwyddwr, ac yn dad iddo." Tad i bwy neu i beth? (1) Tad i'r celwyddwr, yw ateb Bengel, Hengstenberg, Meyer, Godet, a mwyafrif yr esbonwyr diweddar. Gwna hynyna synwyr da, gan mai y diafol fel tad i ddynion annuwiol yw mater yr adnodau blaenorol. (2) Ond ymddengys i ni ei fod yma yn symud yn mlaen o'r celwyddwr at y celwydd; a bod llawn cymaint o briodoldeb yn y golygiad mai tad y celwydd a feddylir. "Ei eiddo ei hun" yw celwydd—paham? Am ei fod yn dad y celwydd. Felly y mae cydnawsedd hollol rhwng y diafol a chelwydd; y mae celwydd yn rhan o'i natur, yn eiddo hollol iddo ei hun.

**ADN. 45. Ond myfi, am fy mod yn dywedyd y gwirionedd, nid ydych yn credu i mi.** Y "myfi" yn bwysleisiol, i ddwyn allan y cyferbyniad rhyngddo ef â'r diafol. Myfi un ochr—y diafol yr ochr arall. Credwch ei gelwydd ef, ni chredwch fy ngwirionedd i. Paham? Oblegid eich bod chwi ac ef yn gydnaws â'ch gilydd, yn caru celwydd. Pe dywedaswn inau gelwydd, pe pregethaswn gyfeiliornadau ffafriol i'ch syniadau daearol a'ch balchder cenedlaethol chwi, credech finau. "Os arall a ddaw yn ei enw ei hun, hwnw a dderbyniwch" (v. 43).

**ADN. 46. Pwy o honoch a'm hargyhoedda i o bechod?** Beth yw "argyhoeddi"? Golyga y gwreiddiol (*elengchō*) profi yn euog. Nid cyhuddo, ond gwirio y cyhuddiad trwy brofion digonol. Erlidiai yr Iuddewon yr Iesu a cheisient ei ladd. Paham? Tafla hèr i'w canol iddynt brofi ei fod yn euog o unrhyw drosedd. Ond beth a feddylir wrth "bechod"? (1) Origen a Cyril a atebant mai camsyniad neu gyfeiliornad o ran barn. (2) Calfin a Tholuck mai bai neu ddiffyg yn nghyflawniad ei swydd Gyfryngol. (3) Ond cytuna yr holl brif esbonwyr mai gŵyriad moesol a feddylir: dyna ystyr y gair pechod bob amser yn y Test. Newydd. Dywed Alford: "Pechod yw *amartia* bob amser; nid camsyniad mewn barn neu gelwydd: ceir y ddau ystyr ddiweddaf mewn Groeg clasurol, ond dim byth yn y Test. Newydd a'r LXX. . . . A phan y cofiwn na wnai yr hwn sydd yma yn hèrio dynion i'w brofi yn euog o bechod, gefnogi moesoldeb allanol yn unig (Matt. xxiii. 26–28), y mae y geiriau yn cynwys honiad o ddibechadurusrwydd hollol mewn meddwl, gair, a gweithred." Tafl y cwestiwn i ganol ei elynion; edrycha o amgylch, gan ddisgwyl am ateb. Ni ddaw neb yn mlaen i dystiolaethu yn ei erbyn. Mor bell ag oedd a fyno ei berffeithrwydd dilychwin â dynion, nid oedd neb o honynt a fedrent brofi un bai. Gwir nad yw hyny yn brawf anffaeledig o'i ddibechadurusrwydd, canys gallasai fod ysmot-

iau ar ei natur nas gwyddent hwy am danynt. Ond y mae y ffaith iddo Ef daflu allan yr her yn brawf digonol na wyddai yntau am un bai na diffyg ynddo ei hun. O ganlyniad, nid ydym yn ei gael yn ei weddïau yn cyffesu pechod nac yn erfyn am faddeuant. Yn y Presenoldeb Sanctaidd y teimla y saint ddwysaf bechadurusrwydd eu natur, yn y goleuni tanbaid y gwelant egluraf yr ysmotiau a'r brychau. Ond daliai Ef ei hun wyneb yn wyneb a Duw, ac yn y goleuni claer ni chanfyddai ynddo ei hun na "brycheuyn na chrychni na dim o'r cyfryw." "Yr hwn ni wnaeth bechod, ac ni chaed twyll yn ei enau." "Y didoledig oddiwrth bechaduriaid." Pa fodd i gyfrif am ei ddibechadurusrwydd mewn byd o bechod? Nid oes ond un ffordd—yr oedd yn Dduw-ddyn. Ond yn y fan hon, cyfyd gofyniad arall, A oedd ei lendid moesol yn gydmariaethol, ynte yn hollol? (1) Dadleua Meyer mai cydmariaethol ydoedd. Gan ei fod yn ddyn gwirioneddol, nid oedd ei berffeithrwydd moesol ond y fath ag oedd yn gyfaddas i wahanol *stages* ei fywyd. Nid oedd ynddo un adeg y duedd leiaf at bechod; ond meidrol, mesurol, ac felly cydmariaethol, oedd yr elfen *positive* o sancteiddrwydd yn ei natur, ac felly tebyg oedd i Adda yn ystâd ei ddiniweidrwydd. O ganlyniad, dylid priodoli iddo "*impeccabilitas minor, posse non peccare*," y dibechadurusrwydd lleiaf, sef gallu i beidio pechu. Ond y mae y gallu i beidio pechu yn cynwys gallu i bechu; felly yr oedd Crist fel dyn yn agored i syrthio, a'r ffaith hon sydd yn rhoddi gwirioneddolrwydd a nerth yn y temtasiynau a gyfarfyddodd. (2) Ar y llaw arall, dadleua Luthardt, os oedd y bywyd tragwyddol, y bywyd *absolute*, wedi ymddangos ynddo yn y cnawd, pa beth oedd yn rhwystro y sancteiddrwydd anfesurol, y moesoldeb *absolute*, i ymddangos ynddo hefyd? Ac y mae nerth anorchfygol yn yr ymresymiad. Os ydoedd yn wir Dduw yn gystal â gwir ddyn, rhaid i ni briodoli iddo yr "*impeccabilitas major—non posse peccare*," sef anallu, ac felly anmhosiblrwydd, i bechu. Nis gall Duw bechu; nid yn unig nis gall bechu yn ei sefyllfa ddwyfol, wreiddiol, ond nis gall bechu mewn unrhyw sefyllfa. Ac os oedd yr Iesu yn Dduw, yr oedd mor annichonadwy i'r Mab bechu â'i Dad. (3) Dilys genym fod y ddau olygiad yn wir. Nid *contradictories* mohonynt, ond *contraries*. Rhaid i ni ddàl yn ngwirioneddolrwydd profiad dynôl yr Arglwydd Iesu, nid ffug oedd temtasiynau yr anialwch; ond cynwysa hyny fod ei sancteiddrwydd yn ddynol, ac y mae pob peth dynol yn fesurol, meidrol, *relative*. Ar y llaw arall, rhaid i ni ddàl, er nad oedd uwchlaw temtasiwn, ei fod uwchlaw syrthio yn ei gwyneb,—hyny ydyw, uwchlaw pechu, canys yr ydoedd mewn undeb hanfodol â'r Gair Tragwyddol; ac felly yr oedd ei sancteiddrwydd yn anfesurol, anfeidrol, *absolute*. Pa fodd eu cysonir? Nis gallwn ni eu cysoni mewn amgyffrediad, ond y mae Duw wedi eu cysoni mewn ffaith; a'n dyledswydd ni ydyw derbyn y gwirionedd yn ei gyfanrwydd, er na fedrwn ei ddeall, heb lurgynio y naill ran na'r llall. Boed i ni ddigon o ddewrder i wneyd ymgais i ddadrys y dirgelwch; a boed i ni hefyd y dewrder mwy, os na allwn eu cysoni heb anafu neu *suppressio* y naill neu'r llall o honynt, i gyfaddef meidroldeb ein gallu yn ngwydd anfeidroldeb y gwirionedd. Nid yw yr anhawsder i gysoni sancteiddrwydd mesurol a sancteiddrwydd anfesurol yn mywyd yr Iesu ond ffurf arall ar ddirgelwch yr Ymgnawdoliad—cysoni y Meidrol a'r Anfeidrol, nid mewn un peth, ond yn mhob peth, yn mherson bendigedig y Duw-ddyn.

dywedyd y gwir, paham nad ydych yn credu i mi? Y mae 47
yr hwn sydd o Dduw, yn gwrandaw geiriau Duw: am
hynny nid ydych chwi yn *eu* gwrandaw, am nad ydych o
Dduw. Yna yr attebodd yr Iuddewon, ac y dywedasant 48
wrtho ef, Onid da yr ydym ni yn dywedyd, mai Samaritan

---

**Od wyf fi yn dywedyd y gwirionedd, paham nad ydych yn credu i mi?** Diau iddo aros am ychydig eiliadau rhwng y gofyniad cyntaf a hwn. Ond beth yw y cysylltiad rhyngddynt? Os oedd yn ddibechod, yr oedd yn ddigelwydd; ac os nad oedd celwydd neu dwyll ynddo, rhaid fod ei eiriau yn ddatganiad o wirionedd. Y mae perffeithrwydd moesoldeb yn gwarantu perffeithrwydd gwirionedd. Yr oedd gwrthod y Pur yn bechod mwy echryslawn na gwrthod y Gwir.

**ADN. 47. Y mae yr hwn sydd o Dduw yn gwrandaw geiriau Duw.** "O Dduw" yr yr ystyr ag oeddynt hwy "o ddiafol,"—yr un arddodiad (*ek*) sydd yn y ddau le, ac yn dynodi yr hwn y mae anian Duw ynddo; neu, feallai, ei fod yn dyfod yn nes atom na hynyna,—yr hwn sydd mewn cydymdeimlad â'r da a'r pur a'r gwir. Beth am dano? "Y mae yn gwrandaw geiriau Duw"; a thrwy hyn, dysga yr Iesu fod ei eiriau Ef yn eiriau Duw. **O achos hyn nid ydych chwi yn eu gwrandaw**—eu gwrandaw mewn cydymdeimlad â'r gwirionedd a gynwysant, **oblegid nad ydych o Dduw.** Nid oedd dim dwyfol yn eu hysbryd hwy, onite buasai y dwyfol yn ei ddysgeidiaeth a'i berson Ef yn eu hatdynu.

TRAGWYDDOLDEB YR IESU. ADN. 48—59.

O adn. 33 hyd yma ateb gwrthddadleuon yr Iuddewon Phariseaidd yw ei waith, a chywiro eu camsyniadau. Tair gwaith yr amddiffynant eu hunain, sef yn adn. 33, 39, a 42; a thair gwaith y dengys yr Iesu fod eu hamddiffyniad yn gorphwys ar seiliau pwdr. Oddi yma i ddiwedd y benod, yn lle amddiffyn eu hunain, gwnant ymosodiadau brwnt a sarhaus arno Ef, a'r oll yn cyrhaedd yr uchafbwynt yn eu hymdrech i'w labyddio. Pan y dihysbyddasant eu rhesymau, cymerasant at gerryg. Felly gellir edrych ar haner olaf y bened hon, o adn. 33, hyd y diwedd, fel meddyliau difyfyr yr Arglwydd Iesu, yn cael eu galw i fod yn ddisymwth gan wrthddadleuon a sylwadau sarhaus ei elynion anghymodlawn. Mor gyfoethog ei feddwl i allu llefaru gwirioneddau mor aruchel dan y fath amgylchiadau!

**ADN. 48. Yna yr atebodd yr Iuddewon, ac a ddywedasant wrtho ef, onid da yr ydym ni yn dywedyd, mai Samariad wyt ti?** Yma dechreuant ei sarhau, a pharhânt hyd ddiwedd y benod. "Onid da"? Y mae y gair "da" (*kalōs*) yn golygu hardd, gwych, yn gystal a da. Y mae yn amlwg mai yr ystyr yma yw, onid ydym ni yn gywir, *right?* "Mai Samariad wyt ti." Nid yn awr, am y tro cyntaf, y dywedant hyn; dengys ffurf yr ymadrodd ei fod yn sylw cyffredin yn eu plith. Beth yw y meddwl? (1) Gan fod gelyniaeth ddofn ac oesol rhwng yr Iuddewon a'r Samariaid, digon tebyg fod yr enw "Samariad," fel yr enw "Gwyddel" yn Nghymru flynyddoedd yn ol, yn derm sarhäol a gymhwysent at unrhyw un nad oedd yn hoff ganddynt am dano. Gwyddent

49 wyt ti, a bod gennyt gythraul? Yr Iesu a attebodd,
Nid oes gennyf gythraul; ond yr wyf fi yn anrhydeddu fy
Nhad, ac yr ydych chwithau yn fy nïanrhydeddu innau.
50 Ac nid wyf fi yn ceisio fy ngogoniant fy hun: y mae a'i
51 cais, ac a farn. Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, Os ceidw

---

fod yr Iesu wedi dangos parch i'r Samariaid a chyfeillachu â hwynt; drwg-dybient Ef o fod mewn cydymdeimlad â'r bobl esgymunol hyny; ac i ddangos eu sarhâd, cymhwysent ato eu henw. (2) Edrychai yr Iuddewon ar y Samariaid fel hereticiaid crefyddol; a digon tebyg yr edrychent ar yr Iesu yn yr un goleuni. Yr oedd ei ddysgeidiaeth mor wrthwynebol i Iuddewiaeth ei oes, fel, yn lle chwilio i mewn i Iuddewiaeth a'i chydmaru a datguddiad yr H. D., y cyhuddent Ef o gyhoeddi athrawiaethau newyddion a chwildroadol,—fel heretic yr edrychent arno. Dyledswydd pawb, yn ngwyneb dysgeidiaeth newydd, yw—nid ei llysenwi, ond chwilio i mewn iddi, a gofyn, A ydyw yn wir? Heretic oedd Crist, a heretic oedd Luther, yn marn y swyddogion eglwysig. **A bod genyt gythraul?** Y gair yw *daimon*, yr un a'r gair Saesonaeg *demon*. Yn wreiddiol nid oedd iddo ystyr anmharchus: i'r *daimon* y tu fewn iddo y priodolai Socrates y llais a'i gwaharddai i fyned dros ben terfynau y da a'r gwir. Ond yn raddol daeth i ddynodi rhyw ysbryd neu ddylanwad drwg; ac yn yr ystyr yna y defnyddir ef yn y Test. Newydd (Gwêl ar vii. 20). Barna rhai mai yr oll a feddylir yma yw—yr wyt dan ddylanwad afiachus, yr wyt yn ynfydu; ond nis gallwn ni ddileu yr argraph y golyga fwy na hynyna yn y Test. Newydd, sef dylanwad, nid yn unig egwyddor afiach, ond ysbryd drwg. Yn y Groeg y mae i'r gair "*diabolos*" (diafol) ystyr cryfach a chasach na *daimon* (cythraul), ond yn anffortunus yn y Gymraeg bresenol, y mae fel arall; ac, o ganlyniad, nid yw yr argraph briodol yn cael ei gwneuthur. Gallwn dybied mai ystyr y sarhâd yw—Yr wyt yn heretic Samaritanaidd, ac yn ynfydu dan ddylanwad rhyw ysbryd drwg. Mor wahanol eu sarhâd hwy yn yr adnod hon, a'i *challenge* Ef yn adn. 46!

**ADN. 49. Nid oes genyf gythraul.** Nid yw yn gwneuthur dim sylw o'r cyhuddiad ei fod yn Samariad, ymgoda Ef uwchlaw pob eiddigedd a ffiniau cenedlaethol. Ond gwâda ei fod yn gwallgofi a than ddylanwad ysbrydion drwg. Ond mor hunan-feddiannol yw, mor dawel ac urddasol ei ateb. "Pan ei difenwyd, ni ddifenwodd drachefn; eithr rhoddodd ar y neb sydd yn barnu yn gyfiawn." (2 Petr ii. 23). Onid oedd yr adnod hon yn meddwl Petr pan yn ysgrifenu yr uchod?

**ADN. 50. Ac nid wyf fi yn ceisio fy ngogoniant fy hun.** Pwysleisia y gwirionedd hwn trwy ei holl weinidogaeth—yr absenoldeb ynddo o bob hunan-ewyllys a hunan-gais. Hanfod pechod yw hunan-ewyllys a hunan-gais; o ganlyniad, hanfod sancteiddrwydd yw llwyr absenoldeb "hunan" yn mhob ffurf arno. **Y mae a'i cais ac a farn.** Yr wyf fi yn gadael fy nghymeriad yn llaw Duw—y mae a'i cais ac a farn. "Rhoddodd **ar y neb sydd yn barnu yn gyfiawn.**"

**ADN. 51. Yn wir, yn wir, meddaf i chwi.** Geiriau sydd yn dangos y bwriad a roddi cyfeiriad arall i'r ymddiddan; ac eto nid yw y cysylltiad

neb fy ymadrodd i, ni wêl efe farwolaeth yn dragywydd.
Yna y dywedodd yr Iuddewon wrtho, Yr awrhon y 52
gwyddom fod gennyt gythraul, Bu Abraham farw, a'r
prophwydi; ac meddi di, Os ceidw neb fy ymadrodd i, nid
archwaetha efe farwolaeth yn dragywydd. Ai mwy wyt ti 53
nag Abraham ein tad ni, yr hwn a fu farw? a'r prophwydi

---

yn cael ei dori. Beth yw y cysylltiad? (1) Etyb rhai mai cyferbynu ei hun y mae â'r diafol yn adn. 44. Amddifadu dyn o'i fywyd y mae hwnw; ond cyfranu bywyd y mae Ef. (2) Ond dilys genym fod y ddolen gysylltiol i'w chael yn niwedd yr adnod flaenorol: "Y mae a gais ac a farn." Y mae barnu yn bod, a damnio mewn canlyniad i farnu: ond nid dyna fy swyddogaeth i, nid dinystrio bywyd, ond ei roddi. **Os ceidw neb fy ngair i.** Y pwyslais ar yr "i." Y gair sydd yn eiddof fi, ac nid eiddo neb arall. Nid "ymadrodd," fel yn y cyfieithiad Cymraeg, ond "gair"—y ddysgeidiaeth yn ei chyfanswm a'i hunoliaeth. Beth y mae "cadw" y gair yn ei olygu? Etyb Bengel, credu ynddo, ymorphwys arno, ac ufuddhau iddo. **Ni wêl efe farwolaeth yn dragywydd.** Nid, Bydd farw, ond nid yn dragywydd; ond ni fydd marw o gwbl, ni wêl farwolaeth yn oesoesoedd. Y mae yn amlwg fod yr Iesu yn defnyddio geiriau yma yn eu hystyron dyfnaf a mwyaf ysbrydol. (Cyd. â Gen. ii. 17). "Y mae rhywbeth yn y credadyn," meddai Westcott, "nad yw byth yn marw, er yr ymddengys fel pe byddai yn marw; ac, ar y llaw arall, bu Adda farw y foment yr anufuddhäodd, er yr ymddangosai fel pe yn fyw o hyd."

ADN. 52. **Yr awrhon yr ydym wedi dyfod i wybod fod genyt gythraul.** Dywedasom hyny o'r blaen, ac yn awr dyma brawf digonol. **Bu Abraham farw, a'r prophwydi; ac meddi di, os ceidw neb fy ngair i, ni phrofa efe farwolaeth yn dragywydd.** Tybient eu bod wedi taraw yr hoel ar ei phen—yr Iesu yn hawlio uwchraddoldeb i Abraham a'r Prophwydi! Ond sylwer, er cryfhau eu hymresymiad, eu bod yn newid dau air yn y frawddeg a lefarodd Crist. (1) Newidiant y "gair sydd eiddof fi" (*tòn lógon tòn emòn*), y gair sydd eiddof fi trwy dderbyniad oddiwrth arall, i "fy ngair" (*tòn lógon mou*), y gair sydd yn gwreiddio ac yn dechreu ynof fi. (2) Newidiant y gair "gweled" marwolaeth i "archwaethu" marwolaeth. Hyd yn nod pe caniateid nad yw y gwahaniaeth ddim yn fawr rhwng "gweled" ac "archwaethu," eto hawdd canfod i ba gyfeiriad yr oedd eu rhagfarn hwy yn gweithio. Ond y mae gwahaniaeth gweddol bwysig rhyngddynt. Yn marwolaeth naturiol y corph, "profodd," "archwaethodd" Crist farwolaeth (Heb. ii. 9); a gellir dywedyd yr un peth am y credadyn—y mae yntau yn cael gwybod "blas" yr angeu. Ond ni "welodd" yr Iesu farwolaeth, ac ni wêl y Cristion farwolaeth, yn yr ystyr o farwolaeth ysbrydol, yn ei hyd, ei lled, a'i dyfnder. O safle yr Ysgrythyr y mae rhyw ofnadwyaeth annesgrifiadwy mewn marwolaeth, na wel y credadyn byth mohono. Gwêl y bedd, ond ni wêl farwolaeth.

ADN. 53. **Ai mwy wyt ti nag Abraham, ein tad ni, yr hwn a fu farw? a'r prophwydi a fuant feirw; pwy wyt ti yn dy wneuthur dy**

a fuant feirw: pwy yr wyt ti yn dy wneuthur dy hun?
54 Yr Iesu a attebodd, Os wyf fi yn fy ngogoneddu fy hun,
fy ngogoniant i nid yw ddim: fy Nhad yw yr hwn sydd
yn fy ngogoneddu i, yr hwn yr ydych chwi yn dywedyd,
55 mai eich Duw chwi yw. Ond nid adnabuoch chwi ef:
eithr myfi a'i hadwaen ef. Ac os dywedaf nad adwaen ef,
myfi a fyddaf debyg i chwi, yn gelwyddog: ond mi a'i
56 hadwaen ef, ac yr wyf yn cadw ei ymadrodd ef. Gorfoledd

---

**hun?** Y pwyslais ar y "ti." Abraham, y prophwydi: *ti*, pwy wyt ti yn yn dy wneuthur dy hun? ac edrychiad ffroenfalch yn dilyn y gofyniad.

ADN. 54. **Pe byddwn i yn fy ngogoneddu fy hun.** Nid, os wyf, ond pe byddwn: y mae yn gwadu ei fod yn ei ogoneddu ei hun, fel pe bai yn "gwneuthur ei hun" yn amgenach nag ydoedd. **Fy ngogoniant i nid yw ddim.** Nid yw hunan-glod, sydd a'i ffynhonell yn y person ei hunan, yn ddim; gadawer iddo fyned heibio yn ddisylw. **Fy nhad yw yr hwn sydd yn fy ngogoneddu i.** Y geiriau aruchel yr wyf fi wedi rhoddi datganiad iddynt, nid ynof fi y mae eu tarddle, ond yn fy Nhad; llifant drwyddwyf fi, ond o hono Ef. **Yr hwn yr ydych chwi yn dywedyd mai eich Duw chwi ydyw.** Eich Duw chwi trwy gyfamod.

ADN. 55. **Eto nid ydych wedi ei adnabod ef; eithr myfi a'i hadwaen ef.** Y gair am adnabod yw *ginōskein*—nid oeddynt hwy, o'i hochr hwy, er hawlio fod Duw yn Dduw iddynt, wedi ei adnabod trwy sylwadaeth fanwl, trwy fyfyrdod dyfal, a thrwy brofiad yn hanes eu cenedl. Y gair am adwaen yw *oida*—yr oedd yr Iesu yn meddu adnabyddiaeth lwyr, gyflawn, uniongyrchol o hono, yn annibynol ar lyfrau ac efrydiaeth. **Ac os dywedaf nad adwaen ef, myfi a fyddaf debyg i chwi, yn gelwyddog.** Dyma dryloewder gonestrwydd. Y mae llawer o ffug falchder yn y byd; y mae llawer o ffug ostyngeiddrwydd hefyd, ac nid ydym yn sicr nad yw y diweddaf yn atgasach na'r cyntaf. Diffuantrwydd trwyadl yw i bob dyn ymddangos yr hyn ydyw. Braidd na welwn dryloewder a gonestrwydd plentyn yn yr ymadrodd hwn o eiddo yr Iesu. Ond beth bynag a feddyliwch chwi, **mi a'i hadwaen ef, ac yr wyf yn cadw ei air ef.** Yr wyf fi yn cadw gair Duw,—dyna paham yr wyf yn mwynhau ei ffafr a'i wedd; credwch chwi fy ngair i, megis yr wyf fi yn cadw ei air Ef, ac, yn lle marwolaeth dragywyddol, bywyd tragywyddol fydd eich rhan.

ADN. 56. Yn y ddwy adnod flaenorol, etyb yr Iesu eu cyhuddiad yn adn. 53, ei fod yn tra derchafu ei hun. Yn yr adnod hon cymer i fynu gaingc arall y cyhuddiad, sef ei fod yn gwneuthur ei hun yn rhagorach nag Abraham. "Ai mwy wyt ti nag Abraham?" gofynent hwy. Nid ateba Ydwyf, ond mynega wirionedd iddynt sydd yn profi ei fod, sef mai trwyddo Ef y derbyniodd Abraham iachawdwriaeth. Ffydd ynddo Ef oedd amod iachawdwriaeth cyn yn gystal ag wedi yr Ymgnawdoliad. Y pwngc cyntaf i'w benderfynu yma yw, Beth a feddyliai yr Iesu wrth yr ymadrodd, "fy nydd i?" Ni ddywed, "Gorfoleddodd Abraham i fy ngweled i, ac efe a'm gwelodd i ac a lawenychodd," ond "fy nydd i." Sonir yn yr H. D., drachefn a thrachefn am "ddydd yr Arglwydd"

oedd gan eich tad Abraham weled fy nydd i: ac efe a'*i*
gwelodd *hefyd*, ac a lawenychodd. Yna y dywedodd yr 57

---

(Seph. i. 7; Joel ii. 1; Zech. xiv. 1; Mal. iv. 1), ac y mae yn amlwg fod y cyfeiriad at ddydd ymddangosiad yr Arglwydd—y dydd mawr yn y dyfodol pan y buasai yr Arglwydd yn dangos ei hun, yn hawlio ei bobl, ac yn cospi ei elynion. Nid oedd ysgrifenwyr yr H. D. yn gwahaniaethu rhwng dydd y Dyfodiad Cyntaf i achub a dydd yr Ail Ddyfodiad i farnu; i lygad eu ffydd hwy ymddangosai y ddau ddydd yn un megis dwy seren yn toddi i'w gilydd ac yn ymddangos yn un i'r llygad noeth. Ond y mae ysgrifenwyr y Test. Newydd yn gweled fod yr un yn ddau—dydd y Dyfodiad Cyntaf yn y cnawd i achub, dydd yr Ail ddyfodiad ar y cymylau i farnu. Pan y sonir yn Luc xvii. 22, 30, am "un o ddyddiau Mab y Dyn," a'r "dydd y datguddir Mab y Dyn"; a phan y sonia Paul am "ddydd Crist" (Phil. i. 6), a Phetr am "ddydd yr Arglwydd yn dyfod megis lleidr yn y nos" (2 Eph. iii. 10) y mae yn amlwg mai at ddydd yr Ail Ddyfodiad y cyfeirir, canys ysgrifenent hwy o safle yr Oruchwyliaeth Newydd. Ond dydd y Dyfodiad Cyntaf oedd y prif ddydd o safle yr Hen Oruwchwyliaeth, ac y mae yn amlwg, oddiwrth rediad yr holl ymddiddan yma, mai dyna y dydd a ddynoda Crist fel ei "ddydd Ef"—dydd yr Ymgnawdoliad, gan gynwys wrth reswm ei holl yrfa ddaearol. "Gorfoleddodd Abraham i weled fy nydd i"—dydd fy ymddangosiad ar y ddaear. Mýn Meyer, Godet, ac eraill gyfieithu: "Gorfoleddodd Abraham fel y gwelai (*hina idē*, *that he might see*) fy nydd i." Pe dywedasid fod Abraham yn "credu fel y gwelai," gallasem ddeall; ond perthyn i ni gyfaddef nad yw "gorfoleddu fel y gwelai" yn tro-glwyddo i ni yr un drychfeddwl. Am hyny, gwell genym gyfieithiad Luthardt, Winer (*Grammar of New Testament*), a'r Cyf. Diw. (ymyl y ddalen), "Gorfoleddodd y cawsai weled" (*that he should see*). Y meddwl felly ydyw, fod Abraham, yn y rhagwelediad o ddydd Crist, sylfaenedig ar addewid fawr Duw iddo am hâd, wedi ei lanw a gorfoledd ysbrydol. Y mae y gair am orfoleddu (*agalliáō*) yn air eithriadol gryf, ac yn cynwys dwy elfen: (1) *llawenhau*, (2) a *llamu*—llamu yn mlaen tua'r dyfodol mewn disgwyliad aiddgar. Diau fod yr Arglwydd Iesu yn cyfeirio at ffaith yn hanes y patriarch—ei arfer Ef bob amser yw sylfaenu pob cyfeiriad at saint yr Hen Oruchwyliaeth ar eiriau pendant yr Ysgrythyr. Pa le ynte y cawn ni y ffaith sydd yn cyfateb i'r gosodiad a rydd yr Iesu i lawr yma? Yn Gen. xvii. 15—17, "Ac Abraham a syrthiodd ar y ddaear, ac a chwarddodd." Mor gynhyrfus yr aeth ei deimladau ar dderbyniad addewid bendant gan Dduw y cawsai etifedd o Sarah fel y torasant allan mewn chwerthiniadau uchel—llamai ei enaid i fynu ac yn mlaen yn nghyfeiriad ei chyflawniad. Hyd yma y mae yr esbonwyr yn weddol unfarn.

**Ac efe a'i gwelodd ac a lawenychodd.** Y mae yn amlwg fod y frawddeg hon yn cyfeirfo at ryw weled a rhyw lawenydd gwahanol i'r hyn a osodir allan yn y frawddeg gyntaf. Yn un peth, defnyddir gair gwahanol (*chairō*), gair sydd yn golygu llawenydd heb y llamu, llawenydd tawel, goleu. Peth arall, yn y frawddeg gyntaf y mae y llawenydd o flaen y gweled; yma y mae y gweled o flaen y llawenydd. Gan hyny, casglwn fod yr ail weled yn gyflawniad hanesyddol o'r rhagweled.

"Gorfoleddodd Abraham y cawsai weled," medd y frawddeg gyntaf; ac "efe a gafodd weled," medd yr ail. Ond pryd y cafodd weled, ac y llawenychodd? Yma ymrana yr esbonwyr yn luaws o fân ddosbarthiadau; ar yr un pryd gellir eu dosranu i gyd o amgylch dwy egwyddor. Y Dosbarth Cyntaf yw y rhai sydd yn gwneyd i'r frawddeg gyntaf gyfeirio at ffaith hanesyddol yn y byd hwn—Abraham yn ei gorph ar y ddaear yn gorfoleddu mewn canlyniad i'r addewid am Hâd, yn ol yr hanes yn Gen. xvii. 15—17; ac yn gwneyd i'r frawddeg olaf—"efe a welodd ac a lawenychodd"—i gyfeirio at dragwyddoldeb, Abraham yn y nefoedd heb ei gorph yn gweled dydd yr Ymgnawdoliad, ac yn llawenychu yn ymddangosiad ei Hâd i fendithio holl dylwythau y ddaear. Sylfaenir yr esboniad hwn ar y prawf Ysgrythyrol fod ffaith fawr yr Ymgnawdoliad, Mab Duw yn dyfod yn Fab Abraham, Y Gair tragwyddol yn ymostwng i wisgo cnawd, wedi peri cynhwrf trwy'r nefoedd a'r llawr. Cânodd angelion y nef uwchben Bethlehem (Luc ii. 8—14); a'i tybed fod saint y nef yn anwybodus a difater? Os oedd llawenydd yn mhlith angelion, llawer mwy yn mhlith y cadwedigion. Daeth Moses ac Elias i lawr i fynydd y Gweddnewidiad i ymddiddan a Christ "am yr ymadawiad a gyflawnai Efe yn Jerusalem" (Luc ix. 31); a oedd Abraham, tybed, yn ddifraw? Na; nid oedd neb yn y nefoedd yn llawnach o lawenydd na "Thad y Ffyddloniaid." Enwa Reynolds y rhestr faith ganlynol o esbonwyr ag sydd yn mabwysiadu yr esboniad hwn: Origen, Lampe, Lücke, De Wette, Godet, Meyer, Stier, Alford, Lange, Watkins, a Thoma. Gellir ychwanegu atynt Reynolds ei hun, a Dodds. Ond parhawn ni yn hollol anghrediniol yn y golygiad barddonol hwn, ag sydd wedi hud-ddenu cynifer o ddysgedigion i'w goledd, oblegid (1) nid arfer Crist yw datguddio cyfrinach y byd anweledig mewn cyfeiriadau personol at "ysbrydoedd y cyfiawn y rhai a berffeithiwyd." Pryd brynag y crybwylla saint yr H. D. nid yw byth yn tynu ar wybodaeth gyfrin o'r byd ysbrydol nac ychwaith ar draddodiadau dychmygol y Rabbiniaid. Pe dechreuai ar hyn troai ddatguddiad yn *magic*. Gwir y mynega wirioneddau cudd am Dduw, ond gwirioneddau moesol ydynt, ac y mae yn natur dyn a'u prawf. Ond pe dywedasai ryw hanesyn am Abraham yn y nefoedd, swyngyfaredd fuasai hyny, oblegid na fuasai dim yn natur foesol dyn i'w gadarnhau na'i wrthbrofi. Fel y gwelsom ar vii. 15, cyfynga yr Iesu ei hun yn ei holl gyfeiriadau hanesyddol at yr H. D.; ac os cyfeiria yma at Abraham, tyna ei wybodaeth o lyfr Genesis—unig ffynhonell hanes Abraham iddo Ef megis ag i ninau. (2) Os at Abraham yn y nefoedd y cyfeirir, ni ddywedir dim am dano ef nag sydd wir am Abel ac Enoch, Moses a Josua, Dafydd ac Esaiah, a phob sant yn y gogoniant. (3) Ymddengys hefyd fod gramadeg yn wrthwynebol, gan fod y ferf yn yr *aorist tense* yn lle yn yr amser presenol, fel y gofyna yr eglurhad hwn—"Abraham sydd yn gweled ac yn llawenychu." Ond "Abraham a welodd," ddywedodd yr Iesu. "Ac nis gall y cyfeiriad fod," yn ol Westcott, "at unrhyw weled yn Mharadwys. Y mae amser (*tense*) y gwreiddiol yn benderfynol yn ei erbyn." Yr Ail Ddosbarth a gynwysa yr esbonwyr hyny sydd yn cytuno mai cyfeiriadau hanesyddol sydd yn nechreu a diwedd yr adnod—hanes Abraham yn llyfr Genesis, ac felly Abraham ar y ddaear. Ond ymwahanant yn fân finteioedd yn y cymhwysiad a wnânt o'r geiriau at y patriarch. (1) Un dosbarth a faentumiant mai sylw cyffredinol sydd yma, seiliedig ar holl

hanes Abraham. "Arglwydd y Gogoniant a ymddangosodd i Abraham." "Angel yr Arglwydd a ymddangosodd i Abraham." "A Gair yr Arglwydd a ddaeth at Abraham." Gwrthrych i'w lygaid edrych arno, a datguddiedigaethau i'w galon wledda arnynt. Y mae hwn yn eglurhâd dyogel ddigon; ond o braidd y mae yn ddigon penodol i foddhau y reddf esboniadol. (2) Barna mwyafrif y Tadau mai cyfeiriad sydd yma at Abraham, yn offrymiad a gwaredigaeth ei fab Isaac, yn sylweddoli aberth iawnol yr Hâd arall a mwy ar ben Calfaria, a'r waredigaeth a ddilynai i fyd euog a damniol. Dilys genym fod ei ffydd yn gweithio yn gryf iawn yn y cyfeiriad hwn, ac iddo gyrhaedd syniadau cliriach am Drefn y Cadw nag y tybiwn ni yn ami. Ac eto nid yw Genesis yn croniclo ei lawenydd. (3) Duwinyddion y Diwygiad Protestanaidd a gredant mai cyfeiriad sydd yma at y gweledigaethau a gafodd Abraham, ac yn enwedig ryw weledigaeth a gafodd ar ol offrymu "ei fab, ei unig fab, Isaac," yn yr hon y gwelodd y dyfodol megis mewn *panorama*, nes llanw ei enaid a llawenydd cryf, sefydlog. Gwyddis fod traddodiad Rabbinaidd i'r perwyl yna. Yn y fintai hon, ni debygwn, y rhaid i ni osod Westcott, canys ar ol datgan ei wrthwynebiad pendant i'r dosbarth cyntaf, fel y gwelsom, ychwanega, "Y mae pob dyfaliad yn ansicr, ond nid oes dim yn annaturiol yn y dybiaeth i'r ffydd a ddangoswyd yn offrymiad Isaac gael ei dilyn gan ganfyddiad dyfnach, os byr, i lawn ystyr yr addewidion a adnewyddwyd iddo y pryd hwnw. Yr oedd y cyfryw ffydd ynddi ei hun, mewn un ystyr, yn weledigaeth o ddydd y Messiah. Yn ol y traddodiad Iuddewig gwelodd Abraham yn y weledigaeth ryfedd a gofnodir yn Gen. xv. holl hanes ei ddisgynyddion." Ond gwelir fod dyfaliad a thraddodiad yn gorfod ategu yr eglurhâd hwn, ac nid yw y rhai hyn yn ategion i bwyso arnynt. Nid yw Crist byth yn myned y tu allan i'r hyn a ysgrifenwyd; tynu o'r hanes yr hyn sydd ynddo yw ei arfer Ef, nid dodi i mewn yr hyn nag sydd ynddo. (4) Crêda Hengstenberg mai at ymddangosiad y Jehofah i Abraham yn Gen. xviii. y mae y cyfeiriad. Gwelodd y Jehofah yn rhith dyn. A oedd yno lawenydd? Ni chrybwyllir y gair, ond profa yr holl hanes fod. Rhedodd Abraham i gyfarfod y "triwyr," ymgrymodd tua'r ddaear, a chyfarchodd y mwyaf urddasol, gan ddywedyd, "Fy Arglwydd, na ddos heibio, atolwg, oddiwrth dy was." "Ac Abraham a frysiodd i'r babell at Sarah." "Ac Abraham a redodd at y gwartheg." "Ac efe a safodd gyda hwynt tan y pren, a hwy a fwytasant." Y mae un yn addaw mab iddo, a chwardd Sarah. "Pwy yw yr "Un"? Etyb yr hanes—yr ARGLWYDD mewn llythyrenau mawr, i ddynodi mai y Jehofah sydd yn bwyta yn ei babell ac yn ymddiddan yn gyfrinachol ag ef (adn. 13), y Jehofah mewn dull dyn. Dull pwy ddyn? Dull pwy ond ei ddull ei hun? Nid tebyg iddo gymeryd arno ei hun ffurf dyn dyeithr, ond yn hytrach ei ffurf briod ei hun, y ffurf a gymerai yn yr Ymgnawdoliad. Gwelodd Abraham rith, ffurf, yr Arglwydd Iesu—"un tebyg i Fab y Dyn." Ni ryfeddem na ddaw yr esboniad hwn i fri eto. (5) Ar y cyfan credwn mai yr eglurhad sydd yn cysylltu rhan olaf yr adnod a genedigaeth Isaac ydyw y cywiraf. Yn pen. xvii. 15—17, derbyniodd y patriarch addewid bendant am fab, ac efe a chwarddodd: at hynyna y cyfeiria brawddeg gyntaf yr adnod. Yn pen. xxi. 1—3, darllenwn am gyflawniad o'r addewid: "Sarah a ymddug i Abraham fab yn ei henaint, ar yr amser nodedig y dywedasai Duw wrtho ef. Ac Abraham a alwodd

Iuddewon wrtho, Nid wyt ti ddengmlwydd a deugain etto,
58 ac a welaist ti Abraham? Yr Iesu a attebodd wrthynt,
Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, Cyn bod Abraham, yr wyf

---

enw ei fab a anesid iddo, Isaac"; yr hwn o'i ddehongl yw, Chwerthin. Paham y galwodd enw ei fab yn "Chwerthin"? Nid i gadw mewn cof chwerthin anghrediniol y fam, ond i fod yn ddangoseg allanol o lawenydd ei galon ei hun. Gorfoleddodd yn y rhagolwg yn yr addewid; llawenychodd yn y cyflawniad yn ngenedigaeth Isaac. I'w ffydd ef nid oedd genedigaeth Isaac ond *pledge* o enedigaeth Crist, yr Hâd ag oedd i fendithio holl genedloedd y byd.

**ADN. 57. Nid wyt ti ddeng mlwydd a deugain oed, ac a welaist ti Abraham?** Nid rhyfedd iddo ofyn, Paham nad ydych yn deall fy ymadrodd? Camddehonglant pob dywediad o'i eiddo. Nid ei haeriad Ef oedd ei fod Ef wedi gweled Abraham, nac hyd yn nod fod Abraham wedi ei weled Ef, ond wedi gweled ei ddydd Ef. Ond nid chwilio am y gwirionedd oedd eu hamcan hwy, ond ei faglu Ef yn ei ymadrodd. Paham y nodant 50 mlwydd fel ei oed? (1) Etyb rhai fod ei lafur caled, ei ddwysder meddyliol, y gofid a lethai ei galon, wedi ei heneiddio cyn ei amser. Diamheu genym fod cryn lawer o wirionedd yn hyn. (2) Dalia eraill, ar ol Irenæus a'r henuriaid yn Ephesus, fod yr Iesu yn tynu at yr haner cant oed pan y bu farw; ac ymdrechant amddiffyn y farn hon trwy y cyfeiriadau mewn hanesiaeth gyffredinol at farwolaeth Herod a marwolaeth Pontius Pilat. (3) Ond y farn fwyaf rhesymol yw eu bod yn crybwyll haner cant am mai dyna yr oed a nodir yn y gyfraith fel terfyn dadblygiad dyn (Lef. iv. 3, 39; viii. 24, 25).

**ADN. 58. Yn wir, yn wir, meddaf i chwi.** I ddangos fod yr hysbysrwydd sydd yn canlyn o'r pwys mwyaf. **Cyn dyfod Abraham i fod, Myfi ydwyf.** Dadleuent yn awr yn nghylch ei oed. A wyt ti wedi gweled Abraham? A wyt ti yn henach nag Abraham? "Cyn geni Abraham, Myfi ydwyf." (1) Barna De Wette mai yr ystyr yw fod yr Iesu yn bod yn y Dwyfol Feddwl neu Gynllun o dragywyddoldeb. Ond yn yr ystyr yna yr oedd Abraham yn bod hefyd, a De Wette gydag ef. (2) Bodolaeth bersonol. Nid, "Yr oeddwn i." Gallasai Gabriel ddyweyd, Cyn geni Abraham, yr oeddwn i. Gallasai Crist Ariaeth ddyweyd, Cyn geni Abraham, yr oeddwn i. Ond yr Arglwydd Iesu yn unig a fedrai ddyweyd, Cyn geni Abraham, cyn i'r patriarch ddyfod i fod, yr wyf fi. Yn yr un frawddeg hon, dyrchafa ei hun uwchlaw Abraham, uwchlaw Gabriel, uwchlaw pob creadur, gan hunaniaethu ei hunan â'r Bod Tragwyddol. **Myfi Ydwyf.** Hona fodolaeth uwchlaw amser a lle. Y mae pob creadur, am ei fod yn feidrol, yn ddarostyngedig i ddeddfau amser a lle,—dim ond yr Anfeidrol sydd uwchlaw deddfau y naill a'r llall. Yn yr Ymgnawdoliad daeth Person yr Iesu yn ddarostyngedig i ddeddfau amser a lle yn gystal ag i ddeddfau moesoldeb. Ond yn nghanol ei ymwybyddiaeth ddynol, lawr rywle yn nyfnderoedd ei fôd, yr oedd ynddo ymwybyddiaeth sicr loew o'r Tragwyddol—nid ei fod Ef yn nhragwyddoldeb, ond fod tragwyddoldeb ynddo Ef. Eto unwaith, nid ydym yn medru cysoni ei ymwybyddiaeth ddynol, feidrol â'i ymwybyddiaeth ddwyfol, anfeidrol: eithr nid ydynt ond

fi. Yna hwy a godasant gerrig i'w taflu atto ef. A'r Iesu 59
a ymguddiodd, ac a aeth allan o'r deml, gan fyned trwy eu
canol hwynt: ac felly yr aeth *efe* heibio.

---

ffurfiau penodol ar undeb y meidrol a'r anfeidrol, yr amserol a'r tragwyddol, dyn a Duw, yn ei Berson rhyfedd Ef. **Myfi Ydwyf.** Dwywaith o'r blaen y dywedodd yr ymadrodd rhyfedd hwn (adn. 24, 28), ond gan fod yr Iuddewon wedi gosod Elohim (Duw), yn lle Jehofah (Ydwyf), yn eu darlleniadau cyhoeddus o'r Beibl, a bod y gair mewn canlyniad ychydig yn anghynefin iddynt, ni thynodd ei sylw neillduol. Ond yn awr, yn rhinwedd y cyferbyniad a nodai rhyngddo ei hun a'r patriarch, fflachiodd ystyr yr ymadrodd ar eu meddyliau daearol. **Ydwyf yr Hwn Ydwyf—Myfi Ydwyf.** Hawlia mai Efe yw Jehofah yr H. D. Ai yr un yw y ddau? Cabledd, ysgyrnygai yr Iuddewon.

**ADN. 59. Gan hyny hwy a gymerasant geryg i'w taflu ato ef.** Sef y ceryg ag oedd yn nghymydogaeth y deml, er gorphen ei hadeiladu. Gan Rhufain, wrth bob tebyg, yr oedd yr awdurdod ar fywyd ac angeu; ond mor ffyrnig oedd cynddaredd y bobl hyn fel y mynent ladd yr Iesu yn y Deml yn groes i ddeddf yr Ymherodraeth. Eu hateb i'w resymau Ef oedd—ceryg, ie, ceryg y Cysegr! Ffordd offeiriadaeth pob oes yw lladd rhyddid meddwl â cheryg a ffagodau. **Ond yr Iesu a ymguddiodd ac a aeth allan o'r deml.** O ganol yr ŵyl hyd ei diwedd, ymddangosai yn feunyddiol yn y deml; traddodai bregethau ag sydd yn "oleuni y byd"; cyhoeddai wirioneddau na "welodd llygad, ac na chlywodd clust, ac na ddaeth i galon" beirdd nac athronwyr erioed, gwirioneddau mawr am iachawdwriaeth y byd, ac yn niwedd y gyfres yn gorfod ymguddio, a diflanu o'r deml, rhag i'w fywyd fyned yn fforffet! O fyd anniolchgar a drwg! O Geidwad, yn llawn gras a gwirionedd!

---

CONWY:
ARGRAPHWYD GAN R. E. JONES A'I FRODYR.

